


LLAWLYFRAU
UNDEB YSGOLION SABBOTHOL
Y
METHODISTIAID CALFINAIDD.

# EFENGYL IOAN
PEN. IX-XXI.

*GAN Y*

*PARCH. J. CYNDDYLAN JONES, D.D.*



2/6

*Cyhoeddedig gan*

Y GYMANFA GYFFREDINOL.

# LLAWLYFRAU

## UNDEB YSGOLION SABBOTHOL

Y

## METHODISTIAID CALFINAIDD,

DAN AROLYGIAETH

PWYLLGOR Y GYMANFA GYFFREDINOL.

---

# YR EFENGYL YN OL ST. IOAN.




[ENTERED AT STATIONERS' HALL.]

CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL
YN SWYDDFA Y CYFUNDEB,
CAERNARFON.

1901.

# YR EFENGYL YN OL IOAN.

---

## ESBONIAD: PEN. IX.–XXI.

---

CYFROL II.

---

GAN Y PARCH.

J. CYNDDYLAN JONES D.D

---

CYHOEDDEDIG GAN Y GYMANFA GYFFREDINOL.

1901.



# Rhagymadrodd. . . .

OHERWYDD amgylchiadau neillduol cyfansoddwyd yr Esboniad hwn, yn nghanol gorchwylion a thrafferthion lawer, gyda mwy o frys nag oedd weddus. Chwe mlynedd, nid chwe mis, a ddylaswn fod wedi eu cysegru i'w barotoi. Ond gan nad oedd yr athrawiaethau yn ddyeithr, hyderaf nad oes dim yn anmrwd neu anaddfed yn yr hyn a draethir. Ysgrifenais yr oll a'm llaw fy hun hyd ddiwedd y ddwyfed benod ar bymtheg, fel ag i sicrhau cysondeb athrawiaethol. Gan nad oedd yr amser terfynedig yn caniatau i mi ysgrifenu ar y pedair penod olaf, sef hanes y Croeshoeliad a'r Adgyfodiad, ceisiais gynorthwy y Parch. T. E. Roberts, M.A., Aberystwyth, yr hwn, yn rhinwedd ei ymweliad diweddar â Jerusalem, a feddai bob cymhwysder i gyflawni y gwaith. Dymunaf gydnabod gyda diolchgarwch ei wasanaeth gwerthfawr.

J. CYNDDYLAN JONES.

*Ionawr 1af, 1901.*



# ESBONIAD AR EFENGYL IOAN

GAN

## Y PARCH. J. CYNDDYLAN JONES, D.D.

CYFROL I. PEN. I.—VIII.

## Barn y Wasg. . . .

*Y Traethodydd:* "Y mae yr awdwr yn feistr ar arddull yn Gymraeg a Saesonaeg. Darllena ei gyfansoddiad yn ardderchog. Nid oes yma ddim tywyllwch, na phetrusder, na llesgedd. Nid yw yn codi i fynu ysbrydion hen ddadleuon i ddyrysu a dychrynu y darllenydd; ond traetha ei feddwl yn syml, goleu, grymus, ac effeithiol. Eheda fel eryr cryf yn uchel yn yr awyr las, heb adael i na mynyddoedd na moroedd, uchder na dyfnder, aflonyddu yn y radd leiaf arno. Y mae ei uniongrededd mor amlwg a'i newydd-deb; ac y mae y naill a'r llall yn addaw gwledd fras yn y flwyddyn ddyfodol i ddeiliaid ein Hysgolion Sabbothol."

*Y Drysorfa:* "Yr ydym yn llon-gyfarch Ysgolion Sabbothol Cymru oblegid fod esboniad uwchraddol fel hwn yn cael ei gyflwyno iddynt. Y mae yn glir, yn fanwl, ac yn athrawaidd; y math o eglurhadaeth sydd yn eisieu ar yr athrawon a'r dosbarthiadau goreu. . . . Y mae y gyfrol hon yn llanw ein syniad am esboniad ar gyfer yr Ysgol Sul. Ar y naill law ceir ynddi feirniadiaeth deg, yn dangos cydnabyddiaeth a gweithiau prif esbonwyr y byd. Ar y llaw arall, dangosir y modd y mae y prif athrawiaethau yn cael eu dysgu yn yr Efengyl. Nid oes dim yn fwy amlwg trwy y llyfr na theyrngarwch yr awdwr i'r gwirionedd, a hyny fel yr arferir ei bregethu yn mhwlpudau y Methodistiaid. A chawn fynych brofion o ddylanwad Dr. Lewis Edwards ar ei syniadau duwinyddol."

## Barn y Wasg.

*Y Llusern:* "Yn yr Esboniad sydd o'n blaen ar Efengyl Ioan yr ydym yn cael cyfuniad o'r gwr o synwyr cryf, y llenor, a'r ysgolhaig. Yr ydym wedi darllen y rhan fwyaf o'r llyfr, ac yn ein barn ni y mae yn gynllun o'r hyn a ddylai Esboniad i athrawon a deiliaid yr Ysgol Sabbothol fod. Gwnaeth Dr. Jones ei hun yn gyfarwydd a'r esboniadau goreu a mwyaf diweddar ar yr Efengyl. Darllenodd y rhai hyny, y mae yn eglur, gyda meddwl annibynol. Fel ffrwyth y darllen a'r meddwl, cynyrchodd Esboniad sydd i bob pwrpas ymarferol yn cynwys pob peth sydd yn eisieu at ddeall meddwl y rhan bwysig yma o'r Ysgrythyr."

*Y Lladmerydd:* "Fel esboniad wedi ei ddarparu i ddeiliaid ein Hysgolion Sabothol, y mae yn anhawdd meddwl am un gwell a mwy cyfaddas i'r amcan. Y mae yn fanwl, yn feddylgar, ac yn glir. Amlwg yw i'r awdwr ddarllen llawer cyn, ac wrth, ei barotoi; ac y mae yn trin y gwahanol olygiadau ar yr adnodau anhawddaf gyda meistrolaeth dawel, sydd yn rhoddi boddhâd neillduol i'r darllenydd, ac yn ei gario heb yn wybod iddo ei hun i gydolygu â'r awdwr yn y syniad a dderbynir ganddo. Y mae rhyw swyn i'w deimlo yn yr hyn oll a ysgrifena Dr. Cynddylan Jones, ac y mae y swyn hwnw i'w deimlo yn yr esboniad hwn. . . . Y mae yn llyfr i beri deall i'r rhai cryfaf eu galluoedd a helaethaf eu manteision a feddwn; ond ar yr un pryd y mae yn ddifyrus a hyfryd i'w ddarllen i'r dosbarth nad oes ganddynt lawer o fanteision yn eu cyrhaedd. Nis gall neb, ar ol darllen yr esboniad hwn, dybied fod aneglurder yn anwahanol gysylltiedig a dyfnder."



# Yr Efengyl yn ol Ioan.

## PENOD IX.

C wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'*i* 1
enedigaeth. A'i ddisgyblion a ofynasant 2
iddo, gan ddywedyd, Rabbi, pwy a bechodd,
ai hwn, ai ei rïeni, fel y genid ef yn ddall?
Yr Iesu a attebodd, Nid hwn a bechodd, 3

### AGORIAD LLYGAID Y DALL. ADN. 1—7.

**ADN. 1. Ac wrth fyned heibio.** Pa bryd? (1) Etyb Olshausen, Stier, Trench, Lange, a Meyer mai yr un diwrnod ag y cymerodd le ddygwyddiadau y benod flaenorol, sef dydd mawr, dydd diweddaf, "Gŵyl y Pebyll," ac felly mai parhâd yw y benod hon o hanes y diwrnod hwnw. Dros y golygiad hwn dygir yn mlaen amryw resymau cryfion. (*a*) Gwelir cysylltiad agos rhwng yr adnod hon â'r adnod ddiweddaf yn y benod flaenorol. "Felly yr aeth yr Iesu heibio," meddai yr adnod hono; "ac wrth fyned heibio," ebe yr adnod hon. Ac er caniatau annilysrwydd y frawddeg olaf yn yr adnod flaenorol, yn ol y Cyf. Diw., eto y mae y cysylltiad hanesyddol yr un mor amlwg. (*b*) Yn y benod flaenorol portreadir yr Iesu fel Goleuni y byd (viii. 12); yn y paragraph hwn hefyd darlunia yr Iesu ei hun fel goleuni y byd (adn. 5); yna ä yn mlaen i brofi hyny trwy agor llygaid y dyn a anesid yn ddall. Gan hyny yr un mater sylfaenol sydd yn y ddwy benod, ac y mae eu cysylltiad tufewnol ac athrawiaethol yn awgrymu yn gryf gysylltiad allanol a hanesyddol. (*c*) Syrthiai "dydd mawr yr ŵyl, y dydd diweddaf" ar y Sabbath (gwel vii. 37), a'r "Sabbath hefyd oedd hi pan wnaeth yr Iesu y clai" ac yr agorodd lygaid y dall (adn. 14). O osod y tri rheswm hyn at eu gilydd, rhaid addef fod nerth cryf, os nad argyhoeddiadol, yn y golygiad fod dygwyddiadau y ddwy benod wedi cymeryd lle o fewn corph yr un diwrnod. (2). Fodd bynag, maentumia De Wette, Alford, a Westcott, mai yn ystod y Gysegr-Wyl y cyflawnwyd y wyrth a groniclir yma (x. 22 Cyf. Diw.), ac felly fod rhai misoedd o gyfwng rhwng y ddwy benod, yn ystod y rhai y gweinidogaethodd yr Iesu yn Perea, "y tu hwnt i'r Iorddonen." Yn mhlaid y farn hon dygir yn mlaen y rhesymau canlynol. (*a*) Eglur fod y ddegfed benod—damheg y Bugail da—yn dàl cysylltiad bywydol â'r nawfed, gan y sylfaenir hi ar ymddygiadau trahaus y penaethiaid Iuddewig tuag at y dyn dall, a chrybwylla Ioan yn bendant mai y Gysegr-Wyl ydoedd pan

y traddodwyd y ddamheg hono (x. 42 Cyf. Diw.). (*b*) Profa hunan-feddiant hollol yr Iesu a'i ddysgyblion mai nid yn uniongyrchol ar ol y ddadl gynhyrfus yn y Deml, wrth ddiangc rhag "ceryg" ei elynion, y cymerodd yr ymddiddan a'r wyrth le. Arwyddoca yr hanes yma ysbryd hamddenol ac ymchwilgar. A chaniatau fod yr Iesu fel arferol wedi cadw ei hunan-feddiant, anhawdd credu nad oedd y dysgyblion yn rhy gythryblus eu teimladau i *speculatio* am gysylltiadau dirgeledig pechod a chosp. (*c*). Y mae annhebygolrwydd mawr fod yr holl drafodaeth a groniclir yn y penodau hyn wedi dygwydd yr un dydd,—cynwys yr 8fed yn y boreu, a chynwys y 9fed yn yr hwyr. Gan nad yw rheolau gramadeg a chyfansoddiad yn ein galluogi i benderfynu y mater, y mae deddfau y meddwl (*psychological laws*) yn ein cymhell yn gryf i gefnogi y golygiad diweddaf. **Efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth.** Nid canfod yn ddamweiniol, ond edrych yn graff arno, fel yr arwydda y gair (*eiden*). Yr oedd yr achos o'r sylw manylgraff, nid mewn un erfyniad o eiddo y dyn, ond yn ysbryd yr Iesu ei hun,—yr oedd y wyrth yn hunan-gynhyrfiol. Nid dall yn unig oedd y dyn, ond dall o'i enedigaeth; yr oedd ei sefyllfa yn anfeddyginiaethol. Adferodd yr Iesu eu golwg i saith o ddeillion; ond hwn yw yr unig un y coffheir fod ei ddallineb yn enedigol. Gall meddygon weithiau adfer golwg i ddynion a syrthiasant i ddallineb trwy ddolur neu afiechyd, ond "ni chlywyd erioed agoryd o neb lygaid un a anesid yn ddall." Y mae y ffaith o'i ddallineb gwreiddiol yn elfen bwysig yn y wyrth a'r ddadl a'i dilynodd. Ond gofyna yr esbonwyr anghrediniol, Pa fodd y gwyddai y dysgyblion ei fod yn ddall o'i enedigaeth fel ag i'w galluogi i sylfaenu y gofyniad cynwysedig yn yr adnod ddilynol ar y ffaith hono? I'r cwestiwn hwn gellir rhoddi dau ateb. (1) Talfyriad sydd yma o'r hanes. Diamheu i'r Iesu gyfarch y dyn, ac nad oedd yntau yn hwyrfrydig, gan mai cardotyn ydoedd, i gyhoeddi ei ddallineb naturiol. (2). Gallasai fod arwyddion diymwad yn llygaid y dyn ei fod yn ddiffygiol yn y synwyr hwn o'r groth. Dysgai Irenæus, a dilynid ef gan fwyafrif y Tadau Cristionogol, nad oedd ganddo lygaid yn ngwir ystyr y gair; a chan fod Irenæus yn byw yn yr ail ganrif, ac yn ddysgybl i Polycarp, cydnabod Ioan, nid annhebyg fod yr esboniad traddodiadol yn sylfaenedig ar dystiolaeth yr Efengylwr ei hun.

**ADN. 2. A'i ddysgyblion a ofynasant iddo, gan ddywedyd.** Nid hwynthwy a syllodd ar y cardotyn dall, yr hwn a eisteddai o bosibl yn ymyl porth y deml, yn ol arfer cardotwyr (Act. iii. 2), ond yr Iesu. Ei edrychiad craff meddylgar Ef a ddeffrôdd eu cywreinrwydd hwy. **Pwy a bechodd, ai hwn ai ei rieni fel y genid ef yn ddall?** Parhâi eu meddyliau, er y dygwyd hwy i gysylltiad â'r Iesu, i gylchdroi o amgylch pyngciau moesol ac ysbrydol, ac yma ymgodymant â'r cwestiwn sydd wedi sugn-dynu y meddwl dynol o'r dechreu, sef ffynhonell drwg (*the origin of evil*). Y mae argraph ddofn ac arhosol ar feddwl dyn yn mhob ystad o ddadblygiad fod cysylltiad anhydor rhwng drwg moesol a drwg anianyddol, rhwng pechod a phoen. Ac y mae yr argraph yn gywir—nid yw afiechyd anianyddol ond canlyniad afiechyd moesol. Gall poen fod fel effaith heb bechod fel achos iddo yn y byd anifeilaidd, megis y prawf daeareg; ond yn y diriogaeth resymol pechod yw achos pob poen. Gan hyny, ymhola y dysgyblion, "Pa le y mae yr achos yn yr amgylchiad hwn? Ai hwn a bechodd, ynte ei rieni, fel y genid ef yn

ddall?" Pa beth a feddyliai y dysgyblion wrth ofyn y fath gwestiwn? Ateba Alford na feddylient ddim yn neillduol, ac nid annhebyg yw ateb Westcott a Trench, ond mai gofyniad cyffredinol yw heb i'r dysgyblion gysylltu un drychfeddwl arbenig â'r naill gymal na'r llall: ond ffordd ddyogel i ni yw cymeryd yn ganiataol, pan y mae pobl feddylgar, difrifol, fel y dysgyblion, yn gofyn cwestiwn, fod llygaid eu meddwl ar anhawsder gwirioneddol. Yr oedd cwestiwn y dysgyblion, mewn rhyw ffurf neu gilydd arno, yn hen *broblem*, ac efe yw y sylfaen ar ba un yr adeiladwyd pryddest fawr llyfr Job. Rhoddid dau ateb iddo gan yr hen fyd. 1. Y cyntaf yw ateb athroniaeth baganaidd, ac ar dir yr athroniaeth hon, y mae yn sŷn adrodd, y mŷn lluaws o esbonwyr o fri gyfrif am ofyniad y dysgyblion. (*a*) Beza, Grotius, ac hyd yn nod Calfin, a ddysgant fod cyfeiriad yn y cwestiwn at athrawiaeth trawsymfudiad eneidiau, athrawiaeth a ddysgid yn athroniaeth y Dwyrain. Yn ol y ddamcaniaeth hon gwnai y dysgyblion dybiaeth y gallasai enaid y dyn dall fod wedi bod yn cyfaneddu rhyw gorph blaenorol, ac nad oedd ei ddallineb presenol ond cosp am ei bechod yn y corph blaenorol hwnw. Ond rhaid i ni wrthod yr eglurhad hwn am y rheswm syml ond digonol nad oes genym un rhith o brawf fod athrawiaeth trawsymfudiad eneidiau, er yn dderbyniol gan ychydig o Gabalistiaid y canol oesoedd, yn wybyddus i Iuddewon y cyfnod hwn, llawer llai ei bod wedi lefeinio y bywyd cenedlaethol nes dylanwadu ar opiniynau dynion mor ddisyml â'r dysgyblion. (*b*) Cyril a De Wette a gredant, ar y llaw arall, fod y gofyniad yn sylfaenedig ar athrawiaeth cyn-hanfodiad eneidiau, athrawiaeth a ddysgid gan athroniaeth y Gorllewin. Dysgai Plato fod eneidiau yn hanfodi yn y byd ysbrydol cyn ymgnawdoli o honynt yn eu genedigaeth i'r ddaear, ac ymddengys fod yr athrawiaeth hon wedi gadael rhyw gymaint o'i hol ar dduwinyddiaeth Philo a'i ysgol yn Alexandria. Ond unwaith eto gorfodir ni i ddywedyd nad oes genym un sail i gredu fod Platoniaeth yn lefeinio dim ar dduwinyddiaeth Rabbinaidd na duwinyddiaeth boblogaidd Palestina y pryd hwn. Yr oedd yr Iesu a'i ddysgyblion yn hollol rydd oddiwrth ddylanwadau crefydd ac athroniaeth baganaidd (gwel vii. 15), ac felly rhaid i ni ymwrthod yn llwyr a phob esboniad sydd yn cyrchu ei oleuni o lenyddiaeth baganaidd er egluro yr adnod hon. 2. Yr ail ateb yw eiddo Iuddewiaeth, olrheiniedig i raddau mawr, os nad yn gyfangwbl, i ddysgeidiaeth yr H. D. Yr oedd i'r ateb hwn ddwy ganghen, yn cyfateb yn hollol i ddau gymal y gofyniad yn yr adnod hon, sef fod anffodion dynion, yn eu personau neu eu hamgylchiadau, yn ganlyniad eu camweddau eu hunain neu bechodau eu rhieni. Sylfaenid y dduwinyddiaeth hon ar yr ail orchymyn (Ex. xx. 5): "Yn ymweled ag anwiredd y tadau ar y plant hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth." Ond er fod y geiriau yn cynwys egwyddor gyffredinol, anhawdd iawn ei chymhwyso gyda chywirdeb at droion dyrys rhagluniaeth, canys i ddeall hanesyddiaeth rhaid nid wrth un, ond wrth luaws o egwyddorion gwrthgyferbyniol; a phwy a fedr ddadrys yr edafedd a wauodd Rhagluniaeth yn un cwrlid amryliw? Camgymhwysai yr Iuddewon hi yn y caethiwed Babilonaidd pan yr ymresyment mai nid am eu pechodau eu hunain, ond am lithriadau eu tadau, y dyoddefent anfanteision y caethgludiad. Unioni eu cam-ddehongliad hwy oedd amcan Ezeciel yn xviii. 1—5: "Paham genych arferu y ddihareb hon yn Israel, Y tadau a fwytasant rawnwin

surion, ac ar ddanedd y plant y mae y dingcod. Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Yr oedd yr egwyddor o euogrwydd etifeddiaethol yn bod ac mewn llawn weithrediad, a chydnabyddir hi yn llawn yn yr H. D., filoedd o flynyddoedd cyn i athrawiaeth *Heredity* gael ei darganfod gan athroniaeth ; ond nid oedd yn dylanwadu gyda y fath nerth ag i ddirymu yr egwyddor o euogrwydd personol. Ac megis mewn achosion cenhedlaethol, felly hefyd mewn achosion unigol,—yr oedd perygl o gamgymhwyso yr egwyddor gyffredinol. Wele yma ddyn dall o'i enedigaeth. Y mae ei ddallineb yn gosp am bechod, ymresymai y dysgyblion, megis yr ymresymai pob aelod o'r genedl Iuddewig ; ond pechod pwy, ei bechod ei hun, ynte pechod ei rieni ? Dyna ddau *alternative* y dduwinyddiaeth Iuddewig i gyfrif am anffodion o'r desgrifiad hwn. "Cyfeirir yma," ebe y Parch. Evan Roberts, yn ei Esboniad rhagorol, "at y ddau syniad mawr oedd yn y byd ar y mater—y Groegaidd a'r Iuddewig." Eithr nid felly ddim : nid oes yma gyfeiriad o gwbl at y syniad Groegaidd, fel y gwelsom eisoes ; ond cyfeiriad sydd yma at y ddau esboniad Iuddewig ar yr un ffaith, sef fod anffawd, fel dallineb y cardotyn hwn, yn ganlyniad pechod rhieni neu yn effaith ei bechod ei hunan. Nid *speculation* bersonol o'u heiddo eu hunain sydd gan y dysgyblion ; ond gofyn y maent am farn yr Iesu am y ddau esboniad traddodiadol. Ac y mae y *problem* yma yn ei ffurf anhawddaf. Pe buasai y dallineb wedi goddiweddyd y dyn yn ugain neu ddeg ar hugain oed, gellid cyfrif am dano ar y dybiaeth ei fod wedi pechu ei hun ; ond gan ei fod wedi ei eni yn ddall, pa fodd y gallasai fod yn euog o bechod ? Barna Tholuck a Stier fod y dysgyblion yn edrych ar y dallineb fel cosp flaenllaw ar bechod a gyflawnai y dyn yn ol llaw—yr effaith o flaen yr achos ; eraill a dybiant yr ystyriai y dysgyblion ei fod wedi pechu yn y bru, ac mai dyna a feddyliai yr Iuddewon pan y taflent i'w wyneb ei fod wedi "ei eni mewn pechod." Ond y gwir yw, nid oedd y dysgyblion yn gallu meddwl o gwbl ar y pwngc. Gallent ddeall fod ei ddallineb yn gosp am bechod ei rieni ; gallent ddeall fod ei ddallineb yn gosp am ei bechod ei hun, pe dallineb wedi dyfod arno mewn oedran ydoedd ; ond pa fodd y gallasai dallineb genedigol fod yn ganlyniad pechod y dyn ei hun—nis gallent ddeall ; a'u hanallu i feddwl yw y rheswm y cyfeirient eu gofyniad at yr Iesu.

**ADN. 3. Yr Iesu a atebodd, Nid hwn a bechodd na'i rieni chwaith.** Gwrthyd yr Iesu y ddau esboniad Iuddewig ar ddallineb y dyn. Wrth gwrs, nid yw yn gwadu fod y dyn a'i rieni yn bechaduriaid ; nid yw ychwaith yn gwadu perthynas ddidor rhwng pechod a phoen, rhwng drwg anianyddol a drwg moesol. Ond gwada ein cymhwysder ni i olrhain anffodion unigol i bechodau unigol y mae deddfau moesol ac anianyddol wedi eu cyfrodeddu yn rhy gywrain i ni fedru eu dadrys, ac olrhain manylion eu cysylltiadau (Cyd. Luc xiii. 1—5). **Eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef.** Nid hawdd bob amser yw penderfynu yn fanwl wir ystyr y gair a gyfieithir yma yn "fel" (*hina*) : weithiau y syniad o amcan (*purpose*) sydd amlycaf ynddo, ac weithiau y syniad o ganlyniad (*result*). Yma y prif ystyr yw amcan neu fwriad, y *final cause* ac nid yr *efficient cause*. Amlygiad o weithredoedd Duw, hyny yw, gogoniant Duw yn iachad y dall oedd yr amcan neu yr achos terfynol, ond pechod dynoliaeth oedd yr achos gweithredol. Gan hyny,

na'i rïeni chwaith: eithr fel yr amlygid gweithredoedd
Duw ynddo ef. Rhaid i ni weithio gwaith yr hwn a'm 4

---

dwg yr Iesu i mewn yma egwyddor newydd i esbonio cwrs hanesyddiaeth gyda golwg ar ddynion yn unigol ac yn wladwriaethol. Yr hen ffordd i gyfrif am drychinebau oedd fod y byd yn bechadurus ac y rhaid ei osod dan gospedigaeth; ffordd Crist yma, a ffordd Cristionogaeth byth ar ol hyny, yw fod y byd yn bechadurus, ac am hyny y rhaid ei osod dan ddysgyblaeth. Cyfiawnder yn mynu cospi dynion oedd yr hen egwyddor; cariad yn mynu dysgyblu dynion, a thrwy hyny eu gwella—dyna yr egwyddor newydd. Ac y mae yr egwyddor yn gweddnewid holl gwrs hanesyddiaeth: rhaid dehongl hanes y dyn unigol a hanes cenhedloedd yn awr, nid yn ngoleuni cospedigaeth (*punishment*), ond yn ngoleuni dysgyblaeth (*discipline*), ac amcan dysgyblaeth yw diwygio, nid dinystrio. "Fel yr amlyger gweithredoedd Duw ynddo ef." Pa weithredoedd? Ai gweithredoedd Duw yn ei gospi a dallineb? Nage; yn Efengyl Ioan y mae yr ymadrodd "gweithredoedd Duw" bob amser yn golygu, nid gweithredoedd damniol, ond gweithredoedd achubol (vi. 16, 17). I bob afiechyd ac aflwydd tymhorol, gan hyny, y mae amcan daionus, sef i fod yn gyfleustra i Dduw i amlygu ei weithredoedd, a thrwy ei weithredoedd ei ddaioni. Paham y goddefodd Duw i bechod a phoen ddyfod i mewn i'w lywodraeth? Nis gellir rhoddi ateb mwy boddhaol nag a rydd yr Iesu yma, sef fel yr amlygid gweithredoedd Duw trwyddynt; y maent yn gyfleusderau i'r daioni a'r gras anfeidrol sydd yn Nuw i ddangos eu hunain—bydd yr enill yn y pendraw yn gorbwyso y golled. Gwyddom fod hyn yn wir am bersonau unigol (Rhuf. vi. 17); ac os am bersonau unigol, gwir hefyd am y ddynoliaeth yn gyffredinol. Nid ydym yn honi fod yr eglurhad hwn yn symud pob dirgelwch ynglyn â'r mater dyrys hwn; ond credwn ei fod yn ddigon i'r galon allu gorphwys ynddo a'r ewyllys blygu iddo.

**ADN. 4. Rhaid i ni weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd i.** Y mae y llawysgrifau yn gwahaniaethu yn fawr yn eu darlleniad o'r adran hon. Y mae y lawysgrif Alexandriaidd, yr hon sydd yn nghadw yn yr Amgueddfa Brydeinig, yn darllen yr holl frawddeg yn y rhif unigol, fel yn y cyfieithiad arferol: "Rhaid i *mi* weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd *i*"—darlleniad a ddilynir gan y ddau gyfieithiad henaf o'r Test. Newydd, sef y Peshitto a'r Itala. Dadleua Godet yn gryf mai dyma y darlleniad cywir, gan mai annaturiol yw y rhif lluosog yn nechreu y frawddeg a'r rhif unigol yn ei diwedd. Y mae llawysgrifau eraill ar gael ag sydd yn darllen y rhif lluosog yn nau ben y frawddeg "*Rhaid i* ni *weithio* gwaith yr hwn a'n hanfonodd *ni*"; ond nid yw y llawysgrifau hyn, er yn barchus, yn perthyn i'r dosbarth teilyngaf. Y mae y llawysgrifau Vaticanaidd a Sinaitaidd yn darllen y rhif lluosog yn y dechreu a'r unigol yn y diwedd, "Rhaid i *ni* weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd *i*"; a dyma y darlleniad a gymeradwyir gan Westcott a Hort, ac a fabwysiedir yn y Cyf. Diw. Dyma hefyd yr anhawddaf i'w esbonio; a dwg Westcott hyn yn mlaen yn rheswm dros ei ddilysrwydd, gan ei bod yn debycach y troai yr adysgrifwyr yr anhawdd i'r syml na'r syml i'r anhawdd. Teimlwn anfoddlonrwydd i'w dderbyn, ac eto nid oes genym ond ildio nes y cawn oleuni pellach. Beth ynte ydyw grym y rhif lluosog "ni" yn y frawddeg? Fod yr Iesu

hanfonodd, tra yr ydyw hi yn ddydd: y mae y nos yn
5 dyfod, pan na ddichon neb weithio. Tra yr ydwyf yn y byd,

---

yn cyplysu y dysgyblion ag ef ei hun yn y gorchwyl o liniaru dyoddefaint dynion. Ymholent hwy pa fodd y daeth pechod a phoen i mewn i'r byd; anoga yr Iesu hwy i ymdrechu eu hegni i'w gyru allan. Nid pan y mae y ty ar dân yw yr amser cyfaddas i chwilio i mewn i'w achos dechreuol, ond yn hytrach i ymholi am y ffordd effeithiolaf i'w ddiffodd. Ond tra yn eu cysylltu ag Ef ei hun yn y gwaith, ceidw hwy ar wahân yn y commissiwn—"gwaith yr hwn a'm hanfonodd i," nid yr hwn a'n hanfonodd ni. Tra mai ein braint ni yw bod yn gydweithwyr â Christ, eto nid ydym yn cyfranogi yn ei gyfrifoldeb Ef i'w Dad am gyflawniad y gwaith. Felly cawn ni gyfle yn nyoddefiadau ac anffodion y byd i ddangos gweithredoedd Duw. Pe na byddai afiechyd, pa fodd y gallem ni amlygu tynerwch cydymdeimlad? Pe na bai tylodi, pa fodd y gallem ni arddangos y gras o haelioni ac elusengarwch? Pe na bai pechod, pa fodd y gallem ni egluro cariad hunan-aberthol dros y byd? Y mae ffyniant drwg yn rhoddi mantais i ddangos y daioni cyferbyniol; ac onid yw hyn yn cyfiawnhau y llywodraeth Ddwyfol yn caniatau dyfodiad pechod i'r byd? **Tra yr ydyw hi yn ddydd.** Beth a feddylir wrth y "dydd"? (1) Etyb Paulus mai dydd naturiol, gan fod yn rhaid i'r Iesu wrth oleuni haul i *operatio* gyda lledneisrwydd ar lygaid y dall! Pwy a all blymio ffolineb anghredinia eth? (2) Eteb Olshausen mai dydd grâs, yr hwn yn achos yr Iuddewon oedd yn prysur dynu i'w derfyn. (3) Ond diamheuol genym mai dydd bywyd a olygir; yr oedd yr Iesu yn awr yn prysur ddisgyn i lawr i orwel ei einioes. Tri mis eto, a buasai haul ei fywyd naturiol wedi machlud! **Y mae y nos yn dyfod pan na ddichon neb weithio.** Nos angeu, yr hon sydd yn rhoddi terfyn ar ein defnyddioldeb cymdeithasol ar y ddaear. Ni olyga y geiriau nad yw yr Iesu yn parhau i weithio mewn ffurf arall ac mewn byd arall; ond yr oedd nos ei farwolaeth naturiol yn gosod terfyn ar y gwaith yr anfonwyd Ef yn ystâd ei ddarostyngiad i'w gyflawni. Ond y mae Efe yn cyffredinoli yr egwyddor, ac yn lle dywedyd, "y mae y nos yn dyfod pan na ddichon i mi weithio," dywed, "pan na ddichon neb weithio,"—y "neb" yn niwedd yr adnod yn cyfateb i'r rhif lluosog "ni" yn ei dechreu, ac felly yn gogwyddo i gadarnhau y darlleniad diwygiedig.

**ADN. 5. Pan yr ydwyf yn y byd.** Nid tra (*heôs*), megis yn yr adnod flaenorol, ond pan (*hotan*). Y mae y gair "tra" yn cyfeirio at barhâd ei weithrediad, yr hyn yw pwngc yr adnod flaenorol, ond y gair "pan" at egwyddor neu natur y gweithrediad, yr hyn yw pwngc yr adnod hon. **Goleuni y byd ydwyf.** Y mae absenoldeb y rhagenw yn y frawddeg hon, ac absenoldeb y fanod o flaen "goleuni," yn profi cyffredinolrwydd y gosodiad—mai Efe yw goleuni pob goruchwyliaeth. Yn viii. 12, ceir y rhagenw a'r fanod, ac felly cyfeirir at ei berson fel unig ffynhonell goleuni; ond yma y mae y rhagenw a'r fanod yn absenol, ac felly yn cyfeirio nid at fawredd y person, ond at natur ei weithrediad neu ei ddylanwad—goleuo yw ei swyddogaeth. Mýn Westcott gyffredinoli y gwirionedd—pan yr wyf yn y byd, pa un ai yn yr oruchwyliaeth Batriarchaidd neu yr oruchwyliaeth Fosenaidd neu yr oruchwyliaeth Gristionogol, natur fy ngweithrediad yw goleuo y byd tywyll: ond tra

goleuni y byd ydwyf. Wedi iddo ef ddywedyd hyn, efe 6
a boerodd ar lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a irodd
y clai ar lygaid y dall; Ac a ddywedodd wrtho, Dos, ac 7

---

yn caniatau fod hynyna yn wirionedd, ni a dybiwn nad dyna wirionedd penodol yr adnod hon, ond "pan yr wyf yn y byd," mewn cyfeiriad at a chyferbyniad i'r amser pan na fyddai, "goleuni y byd ydwyf."

**ADN. 6. Ac wedi iddo ddywedyd hyn.** Wedi rhoddi eglurhâd ar egwyddor ei weithrediad. **"Efe a boerodd ar lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a irodd y clai ar lygaid y dall."** Yn ol Dr. John Lightfoot a Wetstein, yr awdurdodau penaf ar y ddysgeidiaeth Rabbinaidd, yr oedd y ddwy weithred a gofftheir yma, sef gwneuthur clai drwy gymysgu ei boer â'r llwch, ac yna taenu y clai ar lygaid y dall, yn waharddedig ar y dydd Sabbath; a dyma yr elfen yn y wyrth a arweiniodd i osod yr achos o flaen y Cynghor cyfreithiol -cyhuddiad ychwanegol fod yr Iesu yn halogi y Sabbath (adn. 16). Ond paham y defnyddiodd yr Iesu y moddion hyn yn nghyflawniad y wyrth hon? Rhoddir llu mawr o atebion gan yr esbonwyr, ond gellir o bosibl eu dwyn i dri dosbarth. (1) Y dosbarth cyntaf a gredant iddo daenu y clai ar ei lygaid i ychwanegu y dallineb, a thrwy hyny i brofi y tu hwnt i bob amheuaeth annigonolrwydd hollol pob moddion naturiol i gyfranu golwg i ddyn a anesid yn ddall. "Yn yr enghraipht hon," meddai Godet, "gwnaeth yr Iesu fwy nag iro llygaid y dyn dall a'i boer; gosododd arnynt delpyn o glai, ac felly ychwanegu dallineb celfyddydol at y dallineb naturiol, ac yna anfonodd ef i ymolchi yn llyn Siloam." (2) Yr ail ddosbarth a ddalient fod y poer a'r clai yn gyfryngau (*conductors*) priodol i drosglwyddo y rhinwedd iachaol o'r Iesu i'r dall. Dyna olygiad Tholuck ac Olshausen, ac ä Meyer gam yn mhellach trwy ddysgu eu bod yn gyfryngau angenrheidiol. Credai yr henafiaid, fel y prawf yr hanes a rydd Tacitus am Vespasian yn gwella dyn o ddallineb genedigol trwy gymhwyso ei boer at ei lygaid, fod rhinwedd iachaol mewn poer, a choleddir y grêd ar seiliau cadarn gan lawer yn ein dyddiau ni. Credent hefyd fod clai yn feddyginiaeth effeithiol i ddoluriau o wahanol fathau, ac yn enwedig i lygaid cochion. Yn ei bryddest a elwir *Carmen de Medicinâ* (c. 13; v. 225) dywed y meddyg Serenus Sammoneus, "Os cyfyd chŵydd anarferol mewn balchder gwâg, ira dy lygaid chwyddedig ag atgas glai."* Trwy ddefnyddio moddion a gredid eu bod yn gymhwys i wella clwyf y llygaid, tybir yr amcanai yr Iesu ddeffro a chryfhau ffydd y dall. (3) Ond nis gallwn ni lai na chredu fod y ddau eglurhad yn fwy cywrain na chywir. Pedair gwaith yn unig y darllenwn am yr Iesu yn defnyddio moddion yn nghyflawniad gwyrth (Matt. xx. 34; Marc vii. 33, ac viii. 23; ac yma); a phob tro yr oedd un neu ddau o'r synwyrau corphorol yn eisieu. Onid yw hynyna yn rhoddi allwedd i ni i ddatgloi yr anhawsder? Defnyddiai foddion lle yr oedd synwyr neu synwyrau corphorol yn eisieu, er gwneyd i fyny y diffyg a gosod ei hun mewn cymundeb llawn â'r enaid oedd y tu cefn i'r synwyrau cloedig. Trwy wneuthur clai â'i boer a'i iro ar lygaid y dall, yr oedd yn dwyn y

---

* **"Si tumor insolitus typho se tollat inani,**
**Turgentes oculos vili circumline cœno"**

ymolch yn llyn Siloam, (yr hwn a gyfieithir, Anfonedig). Am hynny efe a aeth ymaith, ac a ymolchodd, ac a ddaeth yn gweled.

---

claf *en rapport* ag Ef ei hun, ac felly yn hwyluso agoriad llygaid y corph, ac yn arbenig agoriad llygaid y meddwl. **Dos, ac ymolch yn llyn Siloam.** Adwaenir y llyn yn bresenol yn Jerusalem dan yr enw Arabaidd Birket Silwân, i'r dehau-ddwyrain o fynyddd Seion, ac efe oedd y llyn o ba un y tynai yr offeiriaid y dwfr yn Ngŵyl y Pebyll pan yn portreadu o flaen llygaid y dorf y Dwfr o'r Graig yn yr anialwch—"dyfroedd Siloah, y rhai sydd yn cerdded yn araf" (Es. viii. 6). Tra y crybwyllir yma am Lyn Siloam, coffheir yn Luc xiii. 4 am Dwr Siloam. Paham yr anfonwyd ef i Lyn Siloam yn hytrach nag i ryw lyn arall? Nis gallwn ond dyfalu yr ateb, sef yr edrychid ar y llyn hwn, oblegid ei wasanaeth yn y gwyliau, o gysegredigrwydd arbenig. Yr oedd yr Arglwydd Iesu am gadw y dyn mor agos at y byd ysbrydol ag oedd bosibl. **Yr hwn a gyfieithir, Anfonedig.** A ydyw Ioan yn rhoddi i ni yr iawn ystyr? Mŷn amryw feirniaid ei fod yn cyfeiliorni yn ei air-darddiad. "Y mae un yn hwyrfrydig i gredu nad oedd Ioan yn deall ei iaith frodorol yn well na hyn," ysgrifena Lücke. Ond mae y dysgedigion yn weddol unfryd erbyn heddyw nad yw Ioan neppell oddiwrth yr iawn feddwl. Awgryma Gesenius mai ystyr gweithredol (*active*) sydd i'r gair—Anfon; ond dadleua Hitzig y gellir hefyd ei ddeall yn oddefol (*passive*)—Anfonedig. "Llifai ffynhon Siloam," meddai Dr. John Lightfoot (II. 571), "mewn ffrwd ddyblyg i ddau lyn (2 Bren. xviii. 17; Es. vii. 3; Neh. iii. 15). Y llyn uchaf a elwid yn Siloah, a'r llyn isaf yn Shella. Yn awr golyga y blaenaf yn eglur a phriodol *apestalmenos* (anfonedig), eithr nid y diweddaf. Hwyrach y chwanega yr Efengylwr y sylw cromfachol hwn o bwrpas i ddynodi i ba un o'r ddau lyn yr anfonwyd y dyn dall,—nid i lyn Shella yr hwn sydd yn golygu cnu gwlan, ond i lyn Siloah, yr hwn sydd yn arwyddo *apestalmenos*, anfonedig." Sonia Ioan yn mhenod v. am lyn Bethesda, ond ni farnodd yn angenrheidiol i olrhain tarddiad yr enw; paham ynte y rhydd gyfieithiad o Siloam? Mŷn rhai nad ysgrifenodd Ioan y frawddeg gromfachol, oblegid ei habsenoldeb o'r *Peshitto*—y cyfieithiad i'r Syriaeg neu yr Aramaeg, un o'r cyfieithiadau boreuaf. Ond y mae barn mwyafrif y beirniaid yn mhlaid ei dilysrwydd. Diau y gwelai ryw gyfatebiaeth darawiadol rhwng rhywbeth yn y wyrth a gronicla ac enw y llyn. Beth yw y rhywbeth hwnw? (1) Barna Bengel, a dilynir ef gan Meyer, mai rhwng y dall, yr anfonedig gan yr Iesu, a'r ffynhon yr anfonedig o'r mynydd, y mae y cyffelybrwydd. (2) Barna Stier a Lange mai arwyddlun, nid o Grist, ond o'r Ysbryd Glân, oedd dwfr Siloam anfonwyd y dall gan Anfonedig y Tad (adn. 4) i ffynhon yr Anfonedig. (3) Ond y mae Godet, Westcott, a mwyafrif yr esbonwyr, yn dysgu mai rhwng yr Iesu a Siloam y gwêl Ioan y tebygolrwydd—y ddau yn anfonedig i wasgar bendithion. (4) O bosibl y dylem gyfuno y ddau ddiweddaf, oblegid y modd y mae yr Iesu yn trosglwyddo ei ddylanwadau iachaol a derchafol, mewn cydgordiad a'i anfoniad, yw trwy dywallt yr Ysbryd Glân (gwel vii. 37—39). **Am hyny efe a aeth ymaith ac a ymolchodd, ac a ddaeth yn gweled.** Hyny yw, daeth yn ol i'r unfan yn gweled. Nid cyn ymolchi y derbyniodd ei olwg, fel y dywed

Y cymmydogion gan hynny, a'r rhai a'i gwelsent ef o'r 8
blaen, mai dall oedd efe, a ddywedasant, Onid hwn yw yr
un oedd yn eistedd ac yn cardotta? Rhai a ddywedasant, 9
Hwn yw efe: ac eraill, Y mae efe yn debyg iddo. Yntau
a ddywedodd, Myfi yw *efe*. Am hynny y dywedasant, Pa 10

---

Meyer, ond ar ol ymolchi. Sut y teimlai y dyn pan welodd greadigaeth Duw am y tro cyntaf? Dyna gwestiwn a digon o *scope* ynddo i fardd o wir athrylith.

SYNDOD Y CYMYDOGION. ADN. 8—12.

ADN. 8. **Y cymydogion, gan hyny, a'r rhai a'i gwelsent ef o'r blaen.** Dau ddosbarth o bobl. **Mai cardotyn oedd efe.** Dyna ddarlleniad y prif lawysgrifau, ac felly mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw., ond y mae amrywiaeth barn am ystyr benodol y cysylltair *oti*. Cyfieithir ef weithiau yn *mai,* ac weithiau yn *oblegid*—"oblegid mai cardotyn oedd efe." Y mae cardotwyr pob gwlad ychydig yn hyf, ac oherwydd hyny yn wrthrychau sylw y cyhoedd. **A ddywedasant, Onid hwn oedd yr un oedd yn eistedd ac yn cardota?** Eistedd mewn man cyhoeddus,—ar bwys un o byrth y deml feallai, yn ol arfer ei ddosbarth (Act. iii. 2).

ADN. 9. **Rhai a ddywedasant, Hwn yw efe.** Yn y Cyf. Diw. y darlleniad yw, "Eraill a ddywedasant," gan ranu y bobl a enwir yn y ddwy adnod hyn yn dri dosbarth. Ond braidd na feddyliem mai y darlleniad arferol yw y mwyaf naturiol, ac felly mai dau ddosbarth sydd yma mewn golwg, sef y dosbarth oedd yn dyweyd "Ie," a'r dosbarth oedd yn dyweyd "Nage." **Ac eraill, Nage, ond y mae efe yn debyg iddo.** Gwrthwyneba Godet y darlleniad hwn, gan ddadleu yn mhlaid y darlleniad arferol; ond mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw. Rhaid addef y dwg y darlleniad hwn nod naturioldeb, ac y cyfrana fywiogrwydd i'r ymddiddan. Paham yr amheuaeth o du y bobl hyn? Oblegid yn ddiamheu y cyfnewidiad mawr yn ymddangosiad y cardotyn. Fel y gwelsom eisoes, dywed Irenæus, Theodore o Mopsuestia, ac eraill o'r Tadau, fod y dyn, nid yn unig yn ddall, ond yn amddifad o lygaid, a bod yr Iesu wedi ffurfio iddo lygaid o'r clai fel y creodd Duw lygaid o glai i'r dyn cyntaf. Barna lluaws o esbonwyr diweddar fod ei amrantau yn gauad, ac o ganlyniad fod ystyr lythyrenol i'r ymadrodd fod yr Iesu wedi "agor ei lygaid." Ar y naill dybiaeth neu y llall pârai llygaid newyddion, yn serenu gan ddisglaerdeb, gyfnewidiad mawr yn mynegiant ei wynebpryd. **Yntau a ddywedodd, Myfi yw efe.** Dyna ben ar y ddadl.

Ond yma cyfyd gofyniad o grŷn bwys, Gan nad oedd Ioan yn bresenol i glywed yr ymddiddanion a gofnodir yn y benod hon, pa fodd y medrai eu hailadrodd? Ateb yr esbonwyr anghrediniol yw mai dyfais yr Efengylwr yw yr oll, ond ateb yr esbonwyr crediniol yw y rhaid fod Ioan wedi clywed yr hanes o enau y dyn ei hunan ar ol ei ymrestriad yn ddysgybl i'r Iesu. Y mae anhawsder moesol yn y grediniaeth fod Ioan yn dyfeisio; ond nid oes dim yn fwy naturiol nag i'r dysgyblion dderbyn yr hanes oddiar wefusau y dyn ar ol ei esgymundod o'r Eglwys Iuddewig a'i groesawiad i'r Eglwys Gristionogol.

11 fodd yr agorwyd dy lygaid di? Yntau a attebodd ac a
ddywedodd, Dyn a elwir Iesu, a wnaeth glai, ac a irodd
fy llygaid i; ac a ddywedodd wrthyf, Dos i lyn Siloam, ac
ymolch. Ac wedi i mi fyned ac ymolchi, mi a gefais fy
12 ngolwg. Yna y dywedasant wrtho, Pa le y mae efe?
Yntau a ddywedodd, Ni wn i.
13 Hwythau a'i dygasant ef at y Phariseaid, yr hwn gynt *a*

---

**ADN. 10. Am hyny y dywedasant wrtho, Pa fodd yr agorwyd dy lygaid di?** Cwestiwn sydd yn codi yn naturiol o chwilfrydedd cyfreithlon.

**ADN. 11. Yntau a atebodd ac a ddywedodd, Y dyn a elwir Iesu a wnaeth glai, &c.** Yn ol y darlleniad arferol, dyn heb y fanod, yn dangos, fel y sylwa Bengel, fod y cardotyn mewn anwybodaeth ddygn am yr Iesu. Ond anhygoel ddigon yw hyny, pan oedd holl Jerusalem yn ferw yn ei gylch: pwy sydd yn gwybod helyntion tref yn well na chardotwyr? Ond yn ol y Cyf. Diw. "y dyn a elwir Iesu"—y dyn â'r fanod o'i flaen, yn profi ei fod yn gynefin â'r son am dano, er nad ydoedd, oherwydd ei ddallineb, yn ei adnabod. **Ac wedi i mi fyned ac ymolchi, mi a gefais fy ngolwg.** Felly ar ol, ac nid cyn, ymolchi, fel y dysga Meyer, y derbyniodd ei olwg. Y mae y ferf *aneblepsa* yma yn cael ei chyfieithu yn Marc vi. 41; vii. 34, &c., yn "edrych i fynu," ond amlwg yw nad dyna yr ystyr sydd fwyaf cyfaddas yma. Cyfieithir yr un gair yn Matt. xi. 5, a Marc x. 51, 52, yn "weled eilwaith" neu yn "adfer golwg," a diau mai dyna yr ystyr sydd iddo yma. Gwir nad oedd wedi gweled erioed o'r blaen, ond arfer deillion yw defnyddio ymadroddion pobl sydd yn gweled; ac, megis y sylwa Grotius, nid oes dim anmhriodoldeb mewn son am "adfer golwg" i ddyn a anesid yn ddall yn gymaint a bod golwg yn synwyr sydd yn perthyn yn naturiol i'r natur ddynol. Dyfyna Meyer frawddeg o Pausanias, lle y defnyddir yr un gair am iachâd dyn a anesid yn ddall.

**ADN 12. Dywedasant gan hyny wrtho, Pa le y mae Efe?** Y rhagenw pwysleisiol *(ekeinos)*—Efe, sef y dyn. Pa le y mae *y* dyn? **Yntau a ddywed,** yn yr amser presenol, **Ni wn i.** Pan aeth y dall ymaith i ymolchi yn llyn Siloam, ymgiliodd yr Iesu o'r fan hono.

EI ARHOLIAD CYNTAF GAN Y PHARISEAID. ADN. 13–17.

**ADN. 13. Hwythau a'i dygasant ef at y Phariseaid.** Pwy sydd yn gynwysedig yn yr "hwythau"? Apollinaris a etyb mai yr adran elyniaethol o'r bobl a feddylir—y rhai a ddywedent Nage; Chrysostom a farna mai yr adran gyfeillgar—y rhai a ddywedent Ie; ond diau genym fod Meyer yn gywir pan yn dysgu nad yw gwahaniaethau adn. 9fed yn cael eu dwyn yn mlaen i'r adnod hon—hwythau, sef y bobl, heb wneuthur dosraniad o honynt. Ond paham y dygasant ef at y Phariseaid? Nid oes genym le i gredu mai amcanion dyngarol a'u cymhellent; ar y llaw arall aiff Lange yn rhy bell pan y priodola iddynt ddybenion maleisddrwg. Dilys fod eu cymhellion yn dra chymysglyd. Parchent y Phariseaid yn fawr am eu crefyddoldeb; gwyddent yn dda

*fuasai* yn ddall. A'r Sabbath oedd hi pan wnaeth yr Iesu 14
y clai, a phan agorodd efe ei lygaid ef. Am hynny y Phari- 15

---

am y gwrthdarawiad rhyngddynt hwy a'r Iesu. Dyma wyrth wedi ei chyflawni ar y dyn dall—gwyrth oedd uwchlaw amheuaeth,—teimlent ddwyfoldeb y wyrth; ond ar y llaw arall cyflawnwyd hi ar y dydd Sabbath (adn. 14)—arswydent rhag pechadurusrwydd y weithred. Dwyfoldeb y wyrth yn ei natur, pechadurusrwydd y wyrth yn ei chyflawniad ar y Sabbath: ymddyrysent mewn penbleth ddeallol a moesol. Beth i wneyd? Barnent mai doethineb oedd *submittio* yr achos i farn swyddogion crefyddol y genedl. Ond pwy yr ydym i'w ddeall wrth y Phariseaid yn y fan hon? (1) Etyb Godet mai pwyllgor neillduol ond sefydlog perthynol i'r sect hono a ddynodir, yr hwn a eilw efe yn Bwyllgor y Trefniadau *(Committee of Management)*. Ond pa le y ca Godet hanes am y Pwyllgor hwnw? (2) Maentumia Tholuck mai y Sanhedrin Fawr a feddylir, yr hon a arferai gyfarfod yn un o neuaddau y deml. Rhaid cyfaddef fod rhyw gyfaddasder gweddus yn y syniad fod achos yr Iesu yn cael ei drafod, nid mewn is-lysoedd, ond yn mhrif lys y genedl. (3) Ond barna Westcott a mwyafrif mawr yr esbonwyr, gan fod dau is-lys yn Jerusalem i drafod achosion ailraddol a chydmarol ddibwys, mai o flaen un o'r is-gynghorau hyn y dygwyd y dyn. Y mae yn dra thebygol, er nad yn sicr, mai y golygiad olaf sydd gywir. Pa bryd ynte y gorfodwyd iddo ymddangos o flaen yr Is-Gynghor hwn? Etyb rhai i'r oll gymeryd lle o fewn corph yr un diwrnod, sef y Sabbath; ond y farn fwyaf rhesymol yw mai ar un o'r dyddiau canlynol.

**ADN. 14. A'r Sabbath oedd hi ar y diwrnod y gwnaeth yr Iesu y clai ac yr agorodd efe ei lygaid ef.** Oherwydd troell arbenig yr ymadrodd cyntaf, casgla rhai mai Sabbath—*holiday*—canol yr wythnos a feddylir; ond priod-ddull y Groeg, feallai, yw y rheswm dros y casgliad yna—i glust Cymro nid yw yn swnio mor ddyethriol ag i glust Almaenwr neu Sais. Cyflawnodd yr Iesu saith o wyrthiau ar y Sabbath; (1) iachau y llaw wedi gwywo (Matt. xii. 10—13); (2) bwrw yr ysbryd aflan o'r dyn yn y synagog yn Capernaum (Marc i. 21—26); (3) gwellhau chwegr Simon Petr o'r cryd (Marc i. 29—31); (4) iachau y wraig ag oedd ynddi ysbryd gwendid ddeunaw mlynedd (Luc xiii. 11—17); (5) iachau y dyn a'r dropsi arno (Luc xiv. 1—6); (6) iachau y dyn ar parlys arno ar lan llyn Bethesda (Ioan v. 1—15); (7) ac adfer ei olwg i'r dyn dall yn y paragraph hwn. Ac yr oedd pob gwyrth a gyflawnid ar y Sabbath yn achlysur dadl o barth i gysegredigrwydd y Sabbath. Yr adnod hon sydd yn egluro paham y dygwyd yr achos o flaen y Phariseaid—dwg i amlygrwydd yr elfen foesol amheus yn y wyrth, yr hyn oedd yn peri dyryswch a dadl yn mysg y cymydogion. Nid i'r wyrth ynddi ei hun y teimlent wrthwynebiad, ond i ddull ac amser ei chyflawniad—cymysgu y clai a'i iro ar y llygaid ar y Sabbath, dwy weithred a warafunid yn bendant gan y dduwinyddiaeth Rabbinaidd. Dyfyna Edersheim o Gemara Jerusalem, dan y pen Sabbath, "y gellid cymhwyso gwin fel meddyginiaeth at yr amrant, gan y gellid ystyried hyn yn ymolchi, ond yr ydoedd yn bechadurus ei gymhwyso at y tufewn i'r llygad," h.y. y tu fewn i'r amrant. Ac yn yr un Gemara gwaherddir yn bendant cymhwyso poer at y tuallan i'r amrant yn gystal a'r tufewn, oblegid gwaith fuasai

seaid hefyd a ofynasant iddo drachefn, pa fodd y cawsai efe
ei olwg. Yntau a ddywedodd wrthynt, Clai a osododd
efe ar fy llygaid i, a mi a ymolchais, ac yr ydwyf yn gweled.
16 Yna rhai o'r Phariseaid a ddywedasant, Nid yw y dyn hwn
o Dduw, gan nad yw efe yn cadw y Sabbath. Eraill a
ddywedasant, Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y
cyfryw arwyddion? Ac yr oedd ymrafael yn eu plith.

---

hyny, sef cymhwyso meddyginiaeth at y dolur. Gan hyny, onid oedd y dydd ar yr hwn y cyflawnwyd y wyrth yn dwyn i mewn elfen o anfoesoldeb iddi, gan y troseddai ddeddfau y Sabbath fel eu heglurid gan yr awdurdodau crefyddol? Felly gosodir yr Iesu a'r Sabbath yn wrthwynebol i'w gilydd.

ADN. 15. **Oblegid hyny y Phariseaid hefyd.** Nid y bobl yn unig, ond y Phariseaid "hefyd"—y Phariseaid ymgynulledig yn y llys. **Oeddynt yn gofyn iddo drachefn,** sef ail ofyn cwestiwn adn. 10, **pa fodd y cawsai efe ei olwg.** Nid y ffaith ond y dull, nid y wyrth ond ei hamgylchoedd, yw pwngc cyntaf eu hymchwiliad. **Yntau a ddywedodd wrthynt, Clai a osododd Efe ar fy llygaid i, a mi a ymolchais ac yr ydwyf yn gweled.** Dechreua y dyn ddrwgdybio perygl, os nid iddo ei hun, i'w Gymwynaswr; o ganlyniad y mae ei ateb yn yr adnod hon yn llawer byrach nag yn adn. 11; gochela y manylion, a ffurfia ei frawddegau yn y fath fodd ag i beidio dwyn yr Iesu dan gerydd y gyfraith.

ADN. 16. **Yna rhai o'r Phariseaid a ddywedasant, Nid o Dduw y mae y dyn hwn.** Gosodant y "dyn hwn" yn nghynffon y frawddeg, er taflu cymaint o ddirmyg a allant ar gyflawnydd y wyrth. **Gan nad yw efe yn cadw y Sabbath.** H.y. yn ol eu mân reolau hwy o barth i gadwraeth y Sabbath. Cymer Renan afael yn nghŵyn y Phariseaid, ac y mae yn ddigon digywilydd i gyhuddo yr Iesu o halogiad cyhoeddus o'r Sabbath. A yw y cyhuddiad yn wir? Nac ydyw: torai fân reolau y Rabbiniaid, ond pa reol ysgrifenedig yn llyfrau Moses a droseddodd? Mor anhawdd i ni sylweddoli sefyllfa feddyliol y Phariseaid, y rhai a wnaent esgeulusdod o'u mân reolau afresymol hwy yn brawf cadarnach o bechadurusrwydd eithafol yr Iesu nag oedd cyflawniad y wyrth ddigyffelyb hon o ddwyfoldeb Ei anfoniad! **Eraill a ddywedasant** —pobl o gyffelyb feddwl i Nicodemus a Joseph a Gamaliel—**Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw arwyddion?** Ymbalfalent yn nghyfeiriad y goleuni, dyfalent yn aneglur y gorweddai y pechod nid yn y wyrth, ond yn y traddodiadau a waharddent y wyrth ar y Sabbath. Nid ydym i ddeall mai amddiffyn dibechadurusrwydd yr Iesu oedd yr adran hon o'r llys; ond nad oedd yn bechadur eithafol ddrwg, yn halogwr y Sabbath. Ystyr y terfyniad *olos* yn y gair *hamartolos* (pechadurus) yw —llawer, llawn, pechadurus o arferiad; nid cymeriad felly oedd eiddo yr Iesu, meddent. **Ac yr oedd ymrafael yn eu plith.** Ymrafael, rhwyg (*schisma*). Nid gwahaniaeth barn yn unig megis mewn dadl, ond gwrthnawsedd teimlad megis mewn ymryson. Pa le bynag y mae Crist, y mae yn rhanu cymdeithas—y dyrfa yn vii. 43; y Phariseaid yma; yr Iuddewon yn x. 19.

Hwy a ddywedasant drachefn wrth y dall, Beth yr wyt ti 17
yn ei ddywedyd am dano ef, am agoryd o hono dy lygaid
di? Yntau a ddywedodd, *Mai* prophwyd yw *efe*. Am 18
hynny ni chredai yr Iuddewon am dano ef, mai dall fuasai,
a chael o hono ef ei olwg, nes galw o honynt ei rïeni ef,
yr hwn a gawsai ei olwg. A hwy a ofynasant iddynt, gan 19
ddywedyd, Ai hwn yw eich mab chwi, yr hwn yr ydych
chwi yn dywedyd ei eni yn ddall? pa fodd gan hynny y

---

ADN. 17. **Hwy a ddywedasant drachefn wrth y dall.** Nid yr adran ffafriol na'r adran anffafriol, ond aelodau y llys heb ddim gwahaniaeth. **Beth yr wyt ti yn ei ddywedyd am dano ef?** Y pwyslais ar y "ti." Yr ydym ni, y swyddogion, yn amrywio yn ein barn, beth yw dy farn *di*? pa argraph a wnaeth ar dy feddwl *di*? **Am agoryd ohono dy lygaid di?** Cyfaddefant y ffaith; nid am y ffaith y mae y ddadl, ond am y casgliad oddiwrth y ffaith. **Yntau a ddywedodd, Prophwyd yw efe.** Y casgliad a dynodd y Phariseaid rhagfarnllyd oedd mai dyn drwg ydoedd; y casgliad a dynodd y Phariseaid tecach eu hysbryd oedd nas gallasai fod yn ddrwg iawn—y gallasai fod yn ddyn da; ond y mae y casgliad a dynodd y dyn a iachesid yn myned amryw raddau yn mhellach,—"Prophwyd yw efe," dyn da o ysbrydoliaeth ddwyfol. Yr oedd ei ganfyddiad moesol mor glir a'i weledigaeth naturiol. "Prophwyd yw efe"—nid oes yn ei gyffes os nac onibai.

ARHOLIAD Y RHIENI. ADN. 18—23.

ADN. 18. **Ni chredai yr Iuddewon gan hyny am dano ef mai dall fuasai, a chael o hono ef ei olwg.** Nid y Phariseaid yma ond yr Iuddewon, ac eto yr un pobl a ddynodir, yr hyn a ddengys y defnyddia Ioan y geiriau i raddau yn anmhenodol. Yr oedd yr holl Phariseaid yn Iuddewon, eithr nid oedd yr holl Iuddewon yn Phariseaid. "Ni chredai yr Iuddewon oblegid hyny"—oblegid hyny, gan hyny *(oun)*, cysylltair arbenig Ioan. Oblegid peth? Oblegid tystiolaeth gref y dyn. Gallesid tybied mai yr ymresymiad fuasai, "oblegid hyny yr Iuddewon a gredent." Na, meddai Ioan, oblegid hyny yr Iuddewon ni chredent; troai eu rhagfarn ddeddfau rhesymeg yn eu gwrthol. Oblegid hyny ni chredai yr Iuddewon—ni chredent am na fynent, caledent eu calonau mewn anghrediniaeth. Hyd yma holi am ddull ac amgylchiadau y wyrth a wnaent, ond yn awr awyddant i fyned gam yn mhellach, sef i wadu y wyrth. Nid yn unig amheuant gyfreithlondeb ei chyflawniad ar y Sabbath, ond drwg-dybiant ddilysrwydd y ffaith.

ADN. 19. **A hwy a ofynasant iddynt, gan ddywedyd, &c.** Ni ddylasai atalnod llawn fod ar ddiwedd yr adnod flaenorol. Yma dilyn tri chwestiwn. (1) Ai hwn yw eich mab chwi? (2) A ydych chwi yn dywedyd ei eni ef yn ddall? Y pwyslais ar "chwi." Haera ef hyny; a ydych *chwi* yn dywedyd hyny? (3) Pa fodd gan hyny y mae efe yn awr yn gweled? Y mae yn bosibl, ac yn debygol, iddynt ofyn y tri chwestiwn ar wahân, a derbyn atebion i'r tri ar wahân, ond i Ioan wrth adrodd yr hanes gyfuno y gofyniadau a'r atebion.

20 mae efe yn gweled yn awr? Ei rïeni ef a attebasant
iddynt hwy, ac a ddywedasant, Nyni a wyddom mai hwn
21 yw ein mab ni, ac mai yn ddall y ganwyd ef: Ond pa fodd
y mae efe yn gweled yr awrhon, nis gwyddom ni; neu pwy
a agorodd ei lygaid ef, nis gwyddom ni: y mae efe mewn
oedran; gofynwch iddo ef: efe a ddywed am dano ei hun.
22 Hyn a ddywedodd ei rïeni ef, am eu bod yn ofni yr
Iuddewon: oblegid yr Iuddewon a gyd-ordeiniasent
eisoes, os cyfaddefai neb ef yn Grist, y bwrid ef allan o'r

---

**ADN. 20. Nyni a wyddom mai ein mab ni yw hwn, ac mai yn ddall y ganwyd ef.** "Nyni a wyddom" (*oidamen*)—gair sydd yn golygu gwybod yn ddibetrus ac anffaeledig. Yn yr adnod hon atebant y ddau holiad cyntaf gyda llawn sicrwydd gwybodaeth.

**ADN. 21. Ond pa fodd y mae efe yn gweled yr awrhon, nis gwyddom ni** (*ouk oidamen*). Y "ni" yn bwysleisiol, megis y mae holl ragenwau yr adnod hon. Osgoant ateb y trydydd gofyniad, canys dysgid hwy gan eu synwyr cyffredin mai yn hwnw yr oedd y colyn, ac mai yn yr ateb i hwnw y llechai y perygl. Ac yr oedd eu hateb yn gywir: nis gwyddent yn ystyr *oidamen*, gwybod hyd sicrwydd, gan nad oeddynt yn llygaid-dystion o'r wyrth, er y gwyddent yn ystyr *ginoskein*—gwybod yn ail law, ar dystiolaeth eu mhab. "Nis gwyddom ni"—y ni, o'n gwybodaeth ein hunain. **"Neu pwy a agorodd ei lygaid ef nis gwyddom ni."** Y "ni" eto yn bwysleisiol. Nis gallant hwy ddwyn tystiolaeth uniongyrchol, fel y dylesid mewn llys cyfreithiol, ac nid oeddynt yn dymuno am i'w henwau hwy gael eu dwyn i mewn i'r ddadl. **Gofynwch iddo ef ei hun; y mae efe ei hun mewn oedran; efe ei hun a ddywed am dano ei hun.** Y mae mynychiad deirgwaith o'r rhagenw "efe ei hun" (*autos*) yn taflu pwyslais eithriadol gryf arno. Beia y beirniaid y rhieni am eu gochelgarwch eithafol yn ateb y cwestiynau, gan daflu yr holl gyfrifoldeb ar eu mhab, ac awgryma Ioan yn yr adnod nesaf y dylasent fod wedi dangos gwroldeb mwy. Ond dilys y gwyddent hefyd am nerth meddwl a llithrigrwydd ymadrodd eu mhab, yr hwn oedd yn llefarwr parod ac yn ymresymwr cadarn: mwy dewisol ganddynt oedd gadael y mater yn ei ddwylaw medrus ef, a thrwy hyny sicrhau eu dyogelwch eu hunain.

**ADN. 22. Hyn a ddywedodd ei rieni ef am eu bod yn ofni yr Iuddewon.** Yr oedd dychryn y swyddogion eglwysig ar y lleygwyr, gwreng a bonheddig. **"Oblegid yr Iuddewon a gydordeiniasent eisoes, os cyfaddefai neb ef yn Grist, y bwrid ef allan o'r synagog."** "Cydordeiniasent" (*sunetetheinto*)—yr un gair ag a ddefnyddir yn Luc xxii. 5, am y cytundeb arianol rhwng Judas a'r archoffeiriaid i fradychu yr Iesu, ac yn Act. xxiii. 20 am "gyd-fwriad" yr Iuddewon i roddi Paul i farwolaeth. Beth ynte feddylir wrth y "cydordeiniad" hwn? (1) Barna Meyer mai yr oll a feddylir yw cyd-ddealltwriaeth anffurfiol rhwng aelodau y Sanhedrin i ddysgyblu pwy bynag a ymrestrent dan faner yr Iesu. Ond ymddengys i ni fod y gair yn rhy gryf, os nad oes iddo feddwl mwy penodol na hynyna. (2) Tybia Westcott mai y meddwl yw

synagog. Am hynny y dywedodd ei rïeni ef, Y mae efe 23
mewn oedran; gofynwch iddo ef. Am hynny hwy a 24
alwasant eilwaith y dyn a fuasai yn ddall, ac a ddywed-

---

eu bod wedi dyfod i benderfyniad gyda golwg ar yr amcan y dylasent ymgyrhaedd ato, ond nad oeddynt wedi penderfynu dim ar ffurf y gosp. Ond pa fodd y cydsaif hyn a gosodiad pendant Ioan eu bod wedi penderfynu "dadsynagogi"—bwrwallan o'r synagog—pwybynaga arddelent Iesu o Nazareth fel Messiah y genedl. (3) Rhagorach, gan hyny, yn ein bryd ni olygiad Godet fod y Sanhedrin eisoes wedi pasio penderfyniad (cyd. vii, 47—52) i ddysgyblu pwy bynag a arddelent yr Iesu yn Grist, ac mai ffurf y ddysgyblaeth oedd esgymundod o wasanaeth y synagog, a'r holl anfanteision cymdeithasol a masnachol oedd yn gysylltiedig a hyny. Os amgen, pa ystyr sydd i'r "eisoes" yn yr adnod? Anhawdd genym feddwl nad amcan Ioan oedd gwneuthur yn hysbys fod y Sanhedrin fawr wedi pasio penderfyniad ar y mater, ac wedi gwneuthur proclamasiwn yn y ffordd arferol o'r penderfyniad, er atal gwrthgiliad o'u rhengau hwy i rengau yr Iesu. Os nad oedd yn benderfyniad rheolaidd a chyhoeddus, pa fodd y gwyddai y bobl dlodion hyn am dano? Dengys yr holl hanes fod y Sanhedrin yn cymeryd camrau breision i osod atalfa ar y symudiad Messianaidd yn y genedl. Ond beth ydym i ddeall wrth ei "ddadsynagogi"—"ei fwrw allan o'r synagog?" Nid yr un peth ag a feddylia Anghydffurfwyr wrth ddysgyblaeth eglwysig, ond yr un peth ag a olyga Pabyddion wrth esgymundod. Dywedir yn y Talmud y nodweddid yr esgymundod Iuddewig gan dair gradd. (1) Esgymundod am fis. Nid yn unig gwaherddid i'r dyn ymddangos yn nghynulleidfa y synagog, ond hefyd i ddyfod o fewn pedwar cufydd i unrhyw berson byw. Gwrthodid iddo gysuron cartref, cymdeithas, ac eglwys. Yr enw cyfreithiol ar yr esgymundod hwn oedd *nesepha*. (2) Esgymundod hollol am dymhor anmhenodol. Dyma yr esgymundod o dan yr hwn y dyoddefai y Samariaid, yn ol iv. 9, "oblegid nid yw yr Iuddewon yn ymgyfeillachu â'r Samariaid"—yr oedd y rhai olaf dan esgymundod eglwysig. Yr enw cyfreithiol ar yr esgymundod hwn oedd *nidduі*. (3) Esgymundod bythol—cau allan o deyrnas nefoedd yn y byd hwn a'r byd a ddaw. Yr enw cyfreithiol ar yr esgymundod hwn oedd *cherem*. At y tair gradd hyn o esgymundod neu ddysgyblaeth eglwysig y cyfeiria yr Iesu yn Matt. v. 22: "Pob un a ddigio wrth ei frawd heb ystyr, a fydd euog o Farn; a phwy bynag a ddywedo wrth ei frawd, Raca, a fydd euog o Gynghor; a phwy bynag a ddywedo, O ynfyd, a fydd euog o Dân Uffern." Wrth adolygu y tair gradd hyn tueddir ni i gredu mai at weinyddiad yr esgymundod cyntaf y cyfeiriai penderfyniad y Sandhedrin.

AIL ARHOLIAD Y DYN. ADN. 24—34.

**ADN. 24. Am hyny hwy a alwasant eilwaith y dyn a fuasai yn ddall.** "Am hyny"—am beth? (1) Am i'w rieni ofyn i'r Cynghor eu rhyddhau hwy, a gofyn y cwestyniau i'r mab yn eu lle. (2) Ond diamheu genym, tra y mae rheswm cyflawn yn cynwys hynyna, ei fod yn cynwys hefyd yr holl drafodaeth rhwng y Phariseaid fel barnwyr a'r rhieni fel tystion—eu gwybodaeth sicr o ddallineb cynhenid eu mhab, a'u hanwybodaeth

asant wrtho, Dyro y gogoniant i Dduw: nyni a wyddom
25 mai pechadur yw y dyn hwn. *Yna* yntau a attebodd ac a
ddywedodd, Ai pechadur yw, nis gwn i: un peth a wn i,
lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf fi yn awr yn gweled.

---

wirioneddol neu ffugiol o'r wyrth a adferodd ei olygon iddo. Galwasant y dyn "eilwaith" o flaen y llys. Beth yw ystyr yr "eilwaith" yn y fan hon? (1) Barna rhai yr awgryma fod y dyn wedi gorfod gadael y llys pan oedd ei rieni yn cael eu croesholi, megis y mae yr arfer yn y wlad hon mewn treialon cyfreithiol pwysig. Gwysiwyd ef yn awr yn ol i'r llys. (2) Ond galwyd ef "eilwaith" hefyd er ei groesholi yn chwyrnach a chaletach yn y gobaith y gwrthddywedai ei dystiolaeth flaenorol, neu y gwnai rhyw gyfaddefiad anfwriadol a adlewyrchai yn anffafriol ar wirioneddolrwydd y wyrth neu gymeriad y gwr a'i cyflawnodd. **Ac a ddywedasant wrtho, Dyro y gogoniant i Dduw.** Nid yn ol y Cyf. Saesonaeg *Give God the praise*, ond yn ol y Cyf. Cymraeg a'r Cyf. Diw., "Dyro y gogoniant i Dduw." Beth yw y meddwl. (1) Cred Godet, Luthardt, ac eraill mai cynghor duwiol ydyw, fel pe dywedent: Nis gallwn yn mhellach amheu na gwadu y wyrth; yr ydwyt wedi derbyn dy olwg mewn ffordd ryfedd—cydnebydd law Duw yn dy wellhâd, rho'r clod iddo Ef, ac nid i'r dyn Iesu. Dyna, y mae yn amlwg, fel y deallai cyfieithwyr y Beibl Saesonaeg yr ymadrodd. (2) Ond dadleua Bengel, De Wette, a llu o esbonwyr eraill o fri mai ffurf Iuddewig o weinyddu llw yw y geiriau. Sylfaenir y ddadl hon ar Jos. vii. 19, lle y mae Josua yn tynghedu Achan i gyfaddef y gwir, i lefaru megis yn mhresenoldeb Duw, a thrwy hyny roddi gogoniant iddo (cyd. 1 Sam. vi. 5 ac Ezra x. 11). Felly yr ystyr yw, Tynghedwn di i ddyweyd y gwir; yr ydym yn dy osod ar dy lw—dyro y gogoniant i Dduw trwy ddadlenu y cynllwynion mewn cysylltiad â'th iachâd tybiedig. Gogwyddwn i roddi y flaenoriaeth i'r golygiad diweddaf. **"Nyni a wyddom mai pechadur ydyw y dyn hwn."** "Nyni" yn bwysleisiol. "Nyni" yr awdurdodau ar byngciau crefyddol, "nyni a wyddom" (*hēmeis oidamen*)—yn gwybod hyd sicrwydd, fel yr arwyddoca y gair, gwybod uwchlaw dadl, "mai dyn pechadurus yw hwn." Nid pechadur cyffredin, diargyhoedd, ond pechadur anghyffredin (*hamartōlos*). Sut yr hònent y fath anffaeledigrwydd yn eu barn gondemniol ar garictor yr Iesu? Oblegid iddo, yn eu bryd hwy, dori y Sabbath. Rhyfedd na ddaeth i feddwl rhai o honynt i ofyn, A ydoedd wedi tori y Sabboth? Ai Efe, ynte hwynthwy, oedd yn rhoddi y dehongliad priodol o'r pedwerydd gorchymyn?

**ADN. 25. Yntau gan hyny a atebodd.** "Yntau" *(ekeinos)* yn bwysleisiol, gan mai efe yn awr yw canolbwynt yr holl helynt a llygaid pawb yn hoeliedig wrtho. **Ai pechadur yw, nis gwn i.** Yr oedd ganddo ei syniad hefyd; eithr gyda challineb mawr ni hòna wybodaeth dduwinyddol ddofn, ac ni phroffesa ei fod yn abl i ddadleu y pwngc o safle cyfraith neu dduwinyddiaeth addef eu huwchafiaeth arno fel dynion o ddysg. **Un peth a wn i, a mi yn ddall**—mewn cyflwr o ddallineb *(tuphlos ōn)*—**yr wyf yn awr yn gweled.** Nid dallineb damweiniol ydoedd, am dymhor, ond sefyllfa o ddallineb. "Un peth a wn i" *(hen oida)*. Yr ydym ni yn gwybod hyd sicrwydd, meddent hwy;

Hwythau a ddywedasant wrtho drachefn, Beth a wnaeth 26
efe i ti? pa fodd yr agorodd efe dy lygaid di? Yntau a 27
attebodd iddynt, Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac ni
wrandawsoch: paham yr ydych yn ewyllysio clywed
drachefn? a ydych chwithau yn ewyllysio bod yn ddisgybl-
ion iddo ef? Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddywed- 28
asant, Tydi sydd ddisgybl iddo ef; eithr disgyblion Moses

---

gwn inau un peth hyd sicrwydd, meddai yntau, gan ddefnyddio yr un gair—yr wyf yn sicr o hyn, fy mod i gynt yn ddall, ond yr wyf yn awr yn gweled. Ni wna eich gwybodaeth chwi byth ddiddymu y ffaith yna. Honent hwy sicrwydd gwybodaeth seiliedig ar ymresymiad *a priori;* honai yntau sicrwydd gwybodaeth seiliedig ar brofiad. Ni saif damĉaniaeth o flaen profion *(experiments)*.

ADN. 26. **Hwythau gan hyny a ddywedasant wrtho, Beth a wnaeth Efe i ti? Pa fodd yr agorodd Efe dy lygaid di?** Paham yr ail-ofynasant y cwestiynau? (1) Etyb Westcott yr awgrymant trwy eu holiadau "eu bod yn ewyllysgar i gredu, os nad oedd y ffeithiau yn benderfynol yn erbyn hyny." Ond pa le y caiff Westcott sail i'r haeriad hwn? Onid yw yr holl hanes yn profi mai eu penderfyniad ydyw anghredu yn ngwyneb y ffeithiau cryfaf o blaid yr Iesu? (2) Oherwydd paham, gorfodir ni i gredu eu bod yn myned dros yr un tir yr ail waith o ddiffyg un gwrthddadl ychwanegol, neu yn hytrach yn y gobaith o glywed rhywbeth a ddirymai y tystiolaethau blaenorol.

ADN. 27. **Yntau a atebodd, Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac ni chlywsoch.** Nid gwrando, ond clywed—yr un gair sydd yn y frawddeg hon a'r ddilynol, ac nid dau fel yn y Gymraeg. Ni ddarfu y clywed adael yr un argraph; cystal fuasai iddynt fod heb glywed: dodir yr effaith am y moddion. Y mae yn eglur fod tymher y dyn yn dechreu gwreichioni, ni allasai oddef yn hwy eu cecraeth ddirmygedig. Gwell gan rai ddarllen yr holl adnod mewn ffordd ofyniadol: "Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac oni chlywsoch chwi? Paham yr ydych yn ewyllysio clywed drachefn? A ydych chwithau hefyd yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo?" Mae gwawd yn ffurf y cwestiynau, a diau fod gwawd yn llais y dyn pan yn eu gofyn. Pobl weddol dafodrydd yw cardotwyr, yn enwedig pan y cyffroir eu teimladau. **A ydych chwithau hefyd yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo Ef?** "Y chwithau hefyd"—beth yw y meddwl? (1) Luthardt ac eraill a atebant mai y "chwithau hefyd" yn ychwanegol at y lluaws yn Jerusalem oeddynt yn ddysgyblion i'r Iesu. (2) Ond rhagorach, yn ein bryd ni, yw ateb Bengel, Lange, a Westcott—y chwithau hefyd yn gystal a finau. Dilys genym mai fel hyn y deallodd aelodau y llys ef, sef ei fod ar gyhoedd y llys yn arddel ei hunan fel pleidiwr i'r Iesu, ac felly ei fod yn syrthio dan gondemniad y Sanhedrin yn ol adn. 22.

ADN. 28. **Hwythau a'i difenwasant ef.** Golygfa gywilyddus—y barnwyr ar y faingc mewn llidiogrwydd yn pentyru athrod ar ben cardotyn tlawd! **Tydi sydd yn ddysgybl iddo Ef,** sef yn ol ei gyfaddefiad yn yr adnod flaenorol, **eithr dysgyblion Moses ydym ni.**

29 ydym ni. Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses:
30 *eithr* hwn, nis gwyddom ni o ba le y mae efe. Y dyn a
attebodd ac a ddywedodd wrthynt, Yn hyn yn ddïau y mae
yn rhyfedd, na wyddoch chwi o ba le y mae efe, ac efe a

---

Y rhagenwau "tydi" a "nyni" yn bwysleisiol, er mwyn dwyn i amlygrwydd y cyferbyniad rhyngddynt. Ac nid boddlon mohonynt ar ddifenwi y dyn heb hefyd fychanu yr Iesu, canys nid yr un rhagenw *(autos)* a ddefnyddiant hwy i'w ddynodi â'r dyn, ond rhagenw arall *(ekeinos)*; a thrwy gyfnewid y rhagenw rhoddant bwyslais ychwanegol ar eu sarhâd arno; oherwydd paham cyfieithia yr esbonwyr Saesnaeg y frawddeg, *Thou art that man's disciple*—y "dyn yna"; ac felly "trwy y gair hwn," meddai Bengel, "gwthiant yr Iesu ymaith oddiwrthynt eu hunain." Hònent hwy eu bod yn ddysgyblion Moses—dysgyblion Moses yma yn benaf ar bwngc y Sabbath, a'u bod hwy am ddàl i fynu gysegredigrwydd y dydd. Gwir fod gwrthdarawiad rhwng yr Iesu a Rabbiniaeth; eu camsyniad andwyol hwy oedd esbonio hyny yn wrthdarawiad rhwng yr Iesu a Moses (v. 45—47).

**ADN. 29. Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses.** "Llefaru" yn yr amser perffaith, i ddangos fod yr hyn a lefarodd yn parhau mewn grym. Dadleuant hwy mai sefyll i fynu yr oeddynt hwy dros rwymedigaeth y Sabbath megis ei gorchymynwyd gan Dduw trwy Moses. Y mae y gair llefaru *(lalein)* yn golygu llefaru yn rhydd a chyfeillgar, wyneb yn wyneb, megis gwr wrth ei gyfaill; gofalant gofnodi hyn er derchafu Moses ar draul yr Iesu. **Eithr Hwn nis gwyddom ni o ba le y mae.** Gwasgant i'w hiaith a'u llais gymaint o wermod ag a allant. Yn vii. 27, dywed y Phariseaid, "Nyni a wyddom o ba le y mae Hwn," gan gyfeirio at ei gartref yn Nazareth; yma, "nis gwyddom ni o ba le y mae Hwn," o ran ffynhonell ei awdurdod. Teimlent yn sicr nad ydoedd o Dduw—awgrym ei fod o ddiafol, "ei fod yn bwrw allan gythreuliaid trwy benaeth y cythreuliaid."

**ADN. 30. Y dyn a atebodd ac a ddywedodd wrthynt.** Y mae y ddwy ochr fel eu gilydd wedi eu cythruddo, ac arddengys y dyn ysbryd dewr ac herfeiddiol. **Yn hyn yn ddiau y mae y rhyfeddod.** Rhyfeddod ar fanod o'i flaen yn y llawysgrifau goreu, ac o ganlyniad dyma y darlleniad yn y Cyf. Diw. "Y rhyfeddod"—y rhyfeddod mwyaf oll yn marn a theimlad y dyn oedd anghrediniaeth arweinwyr crefydd. Megis y dywedem ni mai y rhyfeddod mwyaf yw, nid fod Duw yn bod, ond fod dynion yn medru gwadu ei fodolaeth, felly yn ngolwg y dyn yr oedd anghrediniaeth y Phariseaid yn nwyfol anfoniad yr Iesu yn fwy o ryfeddod na'i iachâd ef ei hun—gellid esbonio yr iachâd, ond yr oedd anghrediniaeth gyndyn y Phariseaid iddo ef yn anesboniadwy. Y mae athroniaeth i ffydd, eithr nid oes athroniaeth i anghrediniaeth. **Na wyddoch chwi o ba le y mae Efe, ac eto Efe a agorodd fy llygaid i.** Y "chwi" yn bwysleisiol,—y chwi, dehonglwyr y gyfraith; y chwi, arweinwyr crefydd; y chwi, duwinyddion proffesedig—dyna y rhyfeddod mwyaf y clywais son am dano na wyddoch *chwi* o ba le y mae yr Iesu, ac eto Efe a agorodd fy llygaid i! Dadleuir ychydig am *force* arbenig y cysylltair "ac" yn yr adnod; ond cyflwynir y meddwl yn gywir yn y

agorodd fy llygaid i. Ac ni a wyddom nad yw Duw yn 31
gwrandaw pechaduriaid: ond os yw neb yn addolwr Duw,
ac yn gwneuthur ei ewyllys ef, hwnnw y mae yn ei
wrandaw. Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a 32
anesid yn ddall. Oni bai fod hwn o Dduw, ni allai efe 33
wneuthur dim. Hwy a attebasant ac a ddywedasant 34
wrtho, Mewn pechodau y ganwyd ti oll; ac a wyt ti yn

---

Cyf. Diw. trwy ychwanegu "eto" mewn llythyrenau Italaidd,—"ac *eto* Efe a agorodd fy llygaid i."

**ADN. 31. Ac ni a wyddom nad yw Duw yn gwrandaw pechaduriaid,** —rhai pechadurus. Pechaduriaid sydd yn enwocach mewn pechod na'u cyd-bechaduriaid a feddylir, fel y prawf yr ansoddair (*hamartōlōn*),—rhai yn gyflawn o bechod. Gwrandawa bechaduriaid sydd yn yr iawn yn mhrif rediad eu bywyd; ond nid yw yn gwrandaw dynion diegwyddor sydd yn sathru Ei ddeddfau dan eu traed ac yn anmharchu yn gyhoeddus sefydliadau crefydd. "Nyni a wyddom" hynyna, ebe y dyn, y chwi, y fi, a phawb; gwyddom (*oidamen*) hynyna hyd anffaeledigrwydd—y mae yn wireb (*axiom*) sydd yn gorwedd wrth wraidd crefydd, ac na faidd neb wrthddadleu yn ei herbyn. **Ond os yw neb yn addolwr Duw**—yr unig engraipht o ddefnyddiad yr ansoddair *theosebēs* yn y Test. Newydd, ac yn meddwl *God-fearing*—**ac yn gwneuthur ei ewyllys ef, hwnw y mae efe yn ei wrandaw.** Hwnw, ac nid y sawl a'i dirmygant ac a sathrant ei gyfraith dan draed, megis yr haerwch chwi fod yr Iesu yn gwneuthur. Sylwer ei fod ef yma yn dechreu ymresymiad mewn ffordd o *syllogism*, nid am y gwyddai ef am reolau *logic*, ond am fod *logic* yn gorwedd yn gudd yn natur ddeallol pob dyn; a'r adnod hon yw y prif osodiad (*major premiss*).

**ADN. 32. Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a anesid yn ddall.** Ffaith hanesyddol. Yn yr H. D. ni cheir hanes neb yn agor llygaid y dall, llawer llai dall o enedigaeth. Dyma yr is-osodiad (*minor premiss*).

**ADN. 33. Onibai fod hwn o Dduw**—yn anfonedig oddiwrth Dduw—**ni allai efe wneuthur dim.** Dim yn wahanol i bobl eraill, dim gwyrthiol. Dyma y casgliad oddiwrth y ddau osodiad; ac felly y mae y *syllogism* yn gyflawn.

**ADN. 34. Hwy a atebasant ac a ddywedasant wrtho, Mewn pechodau y ganwyd ti oll.** Gan na allant droi yn ol ymresymiad y cardotyn, cymhenant ef, taflant anaf ei enedigaeth i'w wyneb. Y dyhirod dideimlad a maleisus! "Mewn pechodau y ganwyd ti oll"—pob aelod o'th gorph a phob cynheddf o'th enaid; cefaist dy eni dan felldith Duw a rhoddodd nod ei anghymeradwyaeth arnat o'r bru. Tafl yr ymadrodd hwn oleuni yn ol ar ofyniad y dysgyblion yn yr ail adnod; ymddengys ei bod yn gred y gallasai dyn bechu yn andwyol yn y bru, nid feallai trwy weithredoedd penodol yn gymaint a thrwy dueddfryd gor-lygredig. Ond os yw eu cynddaredd yn gryf, y mae eu rhesymeg yn wân. Ar un llaw gwadant fod yr Iesu wedi agor ei lygaid; ar y

35 ein dysgu ni? A hwy a'i bwriasant ef allan. Clybu yr
Iesu ddarfod iddynt ei fwrw ef allan: a phan ei cafodd,
efe a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn credu ym Mab Duw?

---

llaw arall haerant fod ei ddallineb genedigol yn farnol: dau osodiad sydd yn dinystrio eu gilydd. Beth sydd yn llawnach o anghysonderau nag anffyddiaeth? **Ac a wyt ti yn ein dysgu ni?** Balchder deall—*the pride of intellect*. **A hwy a'i bwriasant ef allan.** Yr oedd y weithred hon yn dra phwysig, canys dysga yr adnod nesaf ei bod yn destyn siarad y ddinas. Beth ynte yw y meddwl? (1) Mŷn Luthardt, Meyer, Godet, a Westcott mai ei droi allan trwy drais o neuadd y llys—gorchymyn i'r swyddogion ymaflyd yn ei wàr a'i daflu dros y drws, ac felly mai yr un ystyr sydd i'r gair (*ekbalein*) yma ag yn x. 4. Ond cred y dosbarth yma o esbonwyr i'r "bwrw allan" trwy *physical force* gael ei ddilyn gan "y bwrw allan" trwy ddysgyblaeth eglwysig, sef esgymundod. (2) Ond cred Olshausen, Ewald, a Tholuck mai yr un ystyr sydd i'r "bwrw allan" yma a'r "bwrw allan o'r synagog" yn adn. 22, er mai nid yr un gair a ddefnyddir yn y ddau le. Dadsynagogwyd y dyn—gwaherddid iddo ymddangos yn nghynulleidfa y synagog, er y tybia rhai fod rhyddid iddo ymddangos yn y deml, ond nid trwy y porth cyhoeddus—tyb a ystyriwn ni yn dra amheus. Os gwrthddadleuir nad oedd hamdden i ffurfio y ddedfryd, gellir ateb fod y penderfyniad wedi ei basio eisoes (adn. 22), a bod y dyn wedi cyfaddef yr Iesu yn Grist neu Fessiah (adn. 27, 28); yr oll oedd yn anghenrheidiol yn awr oedd rhoddi y penderfyniad mewn gweithrediad.

YR IESU YN CAEL GAFAEL AR Y DYN. ADN. 35—41.

**ADN. 35. Clybu yr Iesu ddarfod iddynt ei fwrw ef allan**—ei esgymuno o'r Eglwys Iuddewig, ac felly cymer fesurau yn ddiattreg i'w gorphori yn yr Eglwys Gristionogol. Taenodd y sôn trwy y ddinas am esgymundod y dyn oherwydd ei ymlyniad wrth yr Iesu,—yr engraipht gyntaf, feallai, o hyn, ac oblegid hyny yn creu mwy o gyffro. **A phan ei cafodd ef,** nid ei gael yn ddamweiniol, fel y tybia rhai, ond mewn canlyniad i chwilio, fel yr awgryma y gair (*eurisko*). Pa le y cafodd ef? Nid yn y deml, gan y gwaherddid iddo, yn ol yr awdurdodau pwysicaf, i ymddangos yno yn nghynulleidfa yr Israel. Rhaid, gan hyny, mai rhywle ar yr heolydd. Wedi clywed am yr erledigaeth a dorodd allan yn erbyn y dyn druan, aeth yr Iesu i chwilio am dano yn heolydd y dref! O galon lawn o gydymdeimlad! **Efe a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn credu yn Mab Duw?** Y rhagenw "ti" yn bwysleisiol i raddau bychan: y maent hwy, y Phariseaid, yn erlid, a wyt ti, mewn cyferbyniad iddynt hwy, yn credu? Yn y llawysgrifau Vaticanaidd a Sinaitaidd darllenir Mab y Dyn, a dyna y darlleniad a gymeradwyir, yn ol eu harfer, gan Westcott a Hort, a chan Godet ar ol newid ei feddwl. Ond er fod y prawfion allanol yn gryf o blaid y darlleniad yna, eto tueddir ni i gredu fod y profion cyferbyniol, o'u hategu â'r profion tufewnol, yn gorbwyso. (1) Yn x. 36 a xi. 4, y darlleniad cywir yn ddiddadl yw "Mab Duw," yr hyn a ffafria y grêd mai Mab Duw yw y darlleniad priodol yma. (2) Y mae Mab Duw yn ymddangos i ni yn fwy cyfaddas yma na Mab y Dyn. Nid oes sicrwydd, er fod

Yntau a attebodd ac a ddywedodd, Pwy yw *efe, O* 36
Arglwydd, fel y credwyf ynddo? A'r Iesu a ddywedodd 37
wrtho, Ti a'i gwelaist ef; a'r hwn sydd yn ymddiddan â
thi, hwnnw ydyw efe. Yntau a ddywedodd, Yr wyf fi yn 38
credu, *O* Arglwydd. Ac efe a'i haddolodd ef.

---

tebygrwydd, fod y term olaf mewn arferiad fel enw ar y Messiah yn yr oes hono; ac felly ni allasai drosglwyddo un gwirionedd penodol i'r dyn i fod yn wrthrych ei ffydd, tra, ar y llaw arall, nis gallasai y term Mab Duw lai na deffro syniadau o barch addoliadol ynddo. Nid yw ymadroddion Westcott fod yr enw Mab y Dyn yn "awgrymu iddo un, yr hwn, ac efe yn ddyn, oedd yn obaith dyn," yn cyflwyno, ni anturiwn ddywedyd, un drychfeddwl penodol i ni; llawer llai i'r dall. Gall duwinyddion Caergrawnt gysylltu syniadau fel yna â'r enw Mab y Dyn, ond nid y dyn a anesid yn ddall. (3) Heblaw y mabwysiedir y darlleniad arferol gan fwyafrif yr hen lawysgrifau sydd ar gael, cawn fod Tertullian yn ei waith *Yn Erbyn Praxeas* yn dyfynu yr adnod a Mab Duw ynddi. Oherwydd y rhesymau hyn, yn ddiau, y gwrthodwyd darlleniad Westcott a Hort yn y Cyf. Diw., ac y penderfynwyd glynu wrth y darlleniad awdurdodedig.

**ADN. 36. Ac yntau a ddywedodd, A phwy yw efe, Arglwydd, fel y credwyf ynddo.** Wrth ddodi i mewn y cysylltair "ac" yn nechreu y cwestiwn, yn groes i'r darlleniad arferol, sicrheir cysylltiad agosach yn y meddwl a'r teimlad. Y mae y dyn yn llawn aiddgarwch, ac yn cydio ei ymholiad ei hun yn dŷn a gofyniad yr Iesu. Rhydd y cysylltair i ni gipolwg ar ei deimlad brwdfrydig. Nid oedd y truan wedi gweled ei Gymwynaswr o'r blaen, ond dilys iddo adnabod ei lais, ac y mae yn debyg y torai goleuni egwan ar ei feddwl mewn perthynas iddo. "Fel y credwyf ynddo"—yr oedd yr ewyllys i gredu yn bresenol, y cyfleustra yn unig oedd ar ol.

**ADN. 37. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i gwelaist Ef.** Awgrym lednais o adferiad annisgwyliadwy ei olwg iddo. **"A'r hwn sydd yn ymddiddan a thi, hwnw yw Efe."** "Am y tro cyntaf," meddai Westcott, "cynygiai yr Arglwydd ei hun fel gwrthrych ffydd." Pa fodd hyny yn ngwyneb Ioan iv. 26? Dangosodd y dyn yn ei ddadl â'r Phariseaid ei fod yn feddiannol, nid yn unig ar onestrwydd, ond hefyd ar ddewrder moesol; ac y mae yr aiddgarwch gyda pha un y datgana ei ddymuniad i gredu yn profi fod ynddo ryw wangc anniwall am rywbeth na allasai roddi enw arno—A phwy yw efe, Syr, fel y credwyf iddo? Yn ngwyneb y tryloewder moesol hwn a'i hiraeth am wybodaeth bellach, datguddia yr Iesu ei hunan iddo yn nwyfoldeb Ei berson, yr hyn na wnaeth i neb arall yn uniongyrchol, ond i'r wraig o Samaria. Agorwyd llygaid ei feddwl gan ddisglaerdeb y goleuni, perffeithiwyd y wyrth anianyddol gan wyrth ysbrydol. Dyma drobwynt ei hanes, moment ei droedigaeth.

**ADN. 38. Yntau a ddywedodd, Arglwydd.** Galwodd ef "Arglwydd" yn adn. 36; ond moesau cymdeithasol oedd y cymhelliad i wneuthur hyny. Ond yn awr y mae yn canfod y mawredd, ac y mae dwysder cynyddol ei deimlad yn cyfranu dwysder cyfatebol i'r enw. **Yr wyf yn credu.** Nid, Yr wyf yn credu, Arglwydd, fel yn cyfieithiad

39 A'r Iesu a ddywedodd, I farn y daethum i'r byd hwn;
fel y gwelai y rhai nid ydynt yn gweled, ac yr elai y rhai
40 sydd yn gweled yn ddeillion. A *rhai* o'r Phariseaid a

---

arferol, gan roddi lle amlycach i'r credu nag i'r Arglwydd; ond, Arglwydd, yr wyf yn credu,—rhydd yr arbenigrwydd i wrthrych yn hytrach nag i weithrediad ei ffydd. Nid y medrai efe egluro ffurf ei ymadroddion mewn iaith dduwinyddol, ond fel yna y mynai ei reddf ysbrydol lefaru. Rhydd fynegiad allanol syml i'r bywyd newydd tufewnol ag oedd yn ymweithio ynddo. **Ac efe a'i haddolodd ef.** Defnyddir y gair am addoli (*prosekunēsen*) yn iv. 20—24, a xii. 20, a 23 o weithiau yn llyfr y Datguddiad, a phob tro golyga, nid parch dynol, ond addoliad dwyfol. Nid oes genym fodd i benderfynu beth oedd cynwys amgyffrediad y dyn am Fab Duw. Mŷn Meyer mai fel Mab Dwyfyddol (*theocratic*) y syniai am dano, ac nid fel Mab Dwyfol (*metaphysical*); hwyrach hyny, ond unwaith y gafaelir yn y gwirionedd fod yr Iesu yn Fab swyddogol, nid hir y byddir cyn canfod y gwirionedd arall,—ei fod yn Fab hanfodol. Yr oll, o bosibl, ag yr oedd y dyn yn ymwybyddol o hono oedd Mawredd diderfyn; nid oedd ynddo y duedd na'r medr i ddadansoddi y Mawredd: ac yn yr olwg arno, syrthiodd ar y ddaear ac fe'i haddolodd. Yn iv. 20—24, soniasom am yr Iesu yn rhoddi addoliad; yma gwelwn Ef yn derbyn addoliad. A oes yma anghysondeb? Na; dirgelwch anamgyffredadwy yr Ymgnawdoliad sydd yn ein gwynebu. Gwrthododd yr angel addoliad Ioan (Dat. xxii. 9); a phe ei derbyniai troai yr angel ar unwaith yn gythraul; ond derbynia yr Iesu addoliad y dyn, ac nid yw trwy hyny yn llychwino ei gymeriad. Sut y mae cyfrif am y gwahaniaeth? Rhaid ei fod y Goreu neu y Gwaethaf, yn Dduw neu yn Ddiafol.

EGWYDDOR SYLFAENOL Y WYRTH. ADN. 39—41.

**ADN. 39. A'r Iesu a ddywedodd, I farn y daethum i i'r byd hwn.** Pa bryd a pha le y dywedodd? Rhy anhawdd i neb ddyfod i benderfyniad terfynol. (1) Yn y Cyf. Diw. cyfansodda yr adnodau hyn un paragraph gyda yr adnodau blaenorol, ac felly dysgir i'r Iesu lefaru y geiriau yn y lle ac ar y pryd yr ymddiddanai â'r dyn a fuasai yn ddall. (2) Dadleua eraill y dylasai yr adnodau hyn gael eu cysylltu yn agosach â'r benod ddilynol, gan edrych arnynt fel rhagymadrodd i ddameg y Bugail Da. Ond er nas gallwn benderfynu yn bendant o barth y cysylltiad o ran lle ac amser, eto hawdd canfod y berthynas feddyliol, yr hon yw yr unig berthynas ag y mae yn werth trafferthu yn ei chylch,—y wyrth ar y dyn dall yw sylfaen yr ymddiddan hwn ac alegori y Bugail Da yn y benod sydd yn canlyn. "I farn" (*kreina*) "y daethum i'r byd hwn." Nid *krisis* yw y gair, yr hwn sydd yn golygu y *process* o farnu; ond *kreina*, yr hwn sydd yn golygu y canlyniad neu y weithred orphenedig. Ni ddaeth i'r byd i farnu y byd (iii. 17), i fyned trwy y *process* o farnu, ond yn hytrach i fyned trwy y *process* o achub; ond fel canlyniad i'w waith achubol yr oedd yn gweinyddu barn ar ddynion. Beth oedd y farn hon? Y mae y frawddeg nesaf yn dangos ei bod yn ddyblyg—yn achubol i'r rhai ufudd, yn ddinystriol i'r rhai cyndyn. **Fel y gwelai y rhai nid ydynt yn gweled, ac yr elai y rhai sydd yn gweled yn**

oedd gyd âg ef, a glywsant y pethau hyn, ac a ddywed-
asant wrtho, Ydym ninnau hefyd yn ddeillion? Yr Iesu a 41

---

**ddeillion.** Y mae esbonwyr, trwy eu cywreinrwydd, wedi dyrysu yn hytrach nag egluro yr ymadroddion hyn. Ond i ddynion syml eu meddyliau gwelir y portreadir yma ddau ddosbarth o bechaduriaid. Cynrychiolir un dosbarth gan y dyn a anesid yn ddall—yn amddifad o'r gallu i weled yn ysbrydol, ond yn meddu yr ewyllys: dyma y dosbarth y cyfeirir atynt yn y frawddeg gyntaf, "fel y gwelai y rhai nid ydynt yn gweled." Cynrychiolir y dosbarth arall gan y Phariseaid,—yn feddiannol ar y gallu i weled, ond yn amddifad o'r ewyllys. Ond yn y fan hon cyfyd y cwestiwn, A yw dallineb y dosbarth gyntaf yn annibynol ar eu hymwybyddiaeth? Ai dallineb *objective* ynte *subjective* ydyw? Diau ei fod i'w ystyried yn y ddwy wedd. Yr oedd y dyn yn ddall ysbrydol megis ag yr oedd yn ddall naturiol; ond yr oedd yn teimlo ei ddallineb, ac o herwydd ei fod yn ei deimlo dyheuai am weled; yr oedd ei ymwybodolrwydd o'i anallu yn symbylu ei ewyllys. Ar y llaw arall, A ydyw gwelediad y Phariseaid i'w ddeall yn *objective* ynte yn *subjective?* Yn ddiau yn yr ystyr ddiweddaf yn unig. Deillion ysbrydol oeddynt hwythau, er yn hyddysg yn yr Ysgrythyrau; ond nid oeddynt yn teimlo eu dallineb,—yn hytrach ymffrostient yn eu canfyddiad clir, yr oedd y *subjective* ynddynt yn dwyllodrus. Yn awr i'r dosbarth cyntaf, y bobl sydd yn ddall ac yn teimlo eu dallineb, y mae dyfodiad Crist i'r byd yn foddion i'w dwyn i weled,—gan eu bod yn feddiannol ar yr ewyllys, adfer Crist iddynt y gallu hefyd. Ond i'r rhai sydd yn meddu y gallu i weled heb feddu yr ewyllys, y mae ei ddyfodiad yn foddion i'w hamddifadu o'r gallu—y maent yn raddol yn myned yn ddeillion. Yr oedd y modd y cauai y swyddogion Phariseaidd eu llygaid yn erbyn y goleuni oedd yn tywynu arnynt yn nysgeidiaeth a gweithredoedd yr Arglwydd Iesu yn arwydd o'i waith yn dwyn dallineb ar ddynion ag oedd yn proffesu y meddent lygaid agored.

**ADN. 40. A rhai o'r Phariseaid ag oedd gydag ef a glywsant y pethau hyn.** Pwy a feddylir wrth y "Phariseaid ag oedd gydag Ef"? (1) Etyb Chrysostom mai y Phariseaid ag oeddynt, yn ol viii. 31—34, wedi bod yn ganlynwyr iddo, eithr yn awr wedi gwrthgilio. (2) Barna Tholuck a Meyer mai ysbiwyr oeddynt oddiwrth y Phariseaid i'w wylied er medru dwyn cyhuddiad yn ei erbyn. (3) Tybiai Calfin mai y Phariseaid ag oedd yn bleidiol iddo, "y Phariseaid ag oedd gydag Ef," sef o'i blaid. (4) Ond y mae yn dra thebyg mai Phariseaid o'r dref oeddynt, heb anghen un desgrifiad cywirach na manylach o honynt, wedi eu hatdynu gan yr olygfa ryfedd—dyn yn ymgrymu hyd y llawr i dalu addoliad i'r Gwr a'i hiachaodd. Yr oedd yr Iesu a'r dyn yn wrthrychau sylw yr holl ddinas. **Ac a ddywedasant wrtho, Ydym ninau hefyd yn ddeillion?** "Myned yn ddeillion" oedd ymadrodd Crist; "bod yn ddeillion" yw eu hymadrodd hwy; ac ar y gwahaniaeth rhwng y ddau ymadrodd y sylfaena yr Iesu ei ateb iddynt. "Ni a wyddom" yw eu harwyddair hwy, yr hwn a fynychant drachefn a thrachefn, drwy yr holl benod, yn cynwys y syniad eu bod hwy yn gweled; hwtient y drychfeddwl eu bod hwy, megis y werinos "felldigedig, y rhai ni wyddant y gyfraith," yn ddeillion.

ddywedodd wrthynt, Pe deillion fyddech, ni byddai arnoch bechod: eithr yn awr meddwch chwi, Yr ydym ni yn gweled ; am hynny y mae eich pechod yn aros.

---

ADN. 41. **Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Pe deillion fyddech, ni byddai arnoch bechod.** Nid yw dynion heb lygaid yn gyfrifol am beidio gweled ; y maent yn wrthrychau tosturi, eithr nid cerydd ; eu hanffawd ydyw, nid eu bai. **Eithr yn awr meddwch chwi, Yr ydym ni yn gweled ; y mae eich pechod yn aros.** Pa bechod ? (1) Etyb un dosbarth mai gosod i lawr y mae barhâd eu hanghrediniaeth. Pe buasent yn ymwybodol o'u tywyllwch, buasai gobaith eu dwyn i'r goleuni ; ond gan yr hònent eu bod eisoes yn y goleuni, yr oedd eu sefyllfa yn anobeithiol—nid oedd iddynt ond parhau yn y pechod o anghrediniaeth. (2) Ond mwy cydweddol yn ein bryd ni, yw eu bod yn parhau mewn euogrwydd pechod, ie, eu bod yn dyfnhau yr euogrwydd. Hawlient hwy fod ganddynt lygaid ; ac eto cauent allan y goleuni oedd yn llewyrchu arnynt o ddysgeidiaeth a gweithredoedd yr Arglwydd Iesu ; am hyny, yr oeddynt yn gyfrifol am eu dallineb. Dyna wnaeth y Phariseaid yn nhreial y cardotyn tlawd ; pa dystiolaethau cryfach a allesid eu rhoddi mewn llys fod gwyrth wedi ei chyflawni, ac felly fod ei chyflawnydd yn meddu ar gommissiwn dwyfol ? Ond yn lle derbyn y goleuni, cauasant eu llygaid yn dỳn yn ei erbyn—y maent yn gyfrifol am eu dallineb yn gymaint mai o'u hewyllys, ac nid o'u hanallu, y tardd. Nid oedd diffyg yn eu deall, na diffyg yn y goleuni ; ac eto yn lle ei groesawu, cauasant eu llygaid yn dỳn yn ei erbyn. Nid rhyfedd, gan hyny, fod eu pechod yn aros !

---

## PENOD X.

Cynwysa y benod hon alegori y Bugail Da, yr hon sydd wedi gadael argraph ddyfnach ar lenyddiaeth a phrofiad yr Eglwys nag unrhyw adran arall, o bosibl, o ddysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu. (1) Mŷn rhai ranu yr alegori yn ddwy ran, sef yr Iesu fel Drws y Gorlan o adn. 1 hyd 10 ; a'r Iesu fel Bugail y Defaid o adn. 11 hyd adn. 18. Diamheu genym mai y drychfeddwl o Ddrws sydd amlycaf yn y deg adnod cyntaf, ac yn ngoleuni y drychfeddwl llywodraethol yna y rhaid trefnu a dosbarthu y manylion ; ac mai y drychfeddwl o Fugail sydd amlycaf yn adn. 11—18, ac yn ngoleuni y drychfeddwl llywodraethol yna y rhaid esbonio y gwirioneddau cynwysedig ynddynt. (2) Gwell gan Godet, fodd-bynag, yw edrych ar yr alegori fel yn gynwysedig o gyfres o dri o ddarluniau yn dangos gwahanol agweddau yr un gwirionedd : y Gorlan yn adn. 1—6 ; y Drws yn adn. 7—11 ; a'r Bugail Da yn adn. 11—18. Ond i ni, ymddengys y dosraniad hwn yn fwy peiriannyddol na naturiol, ac felly fod yr undod yn fwy allanol na thufewnol. (3) Oherwydd paham barnwn mai doethach edrych ar adn. 1—6 fel yn cynwys yr holl alegori yn ei hanfod ; ac ar adn. 8—18 fel eglurhad cyflawn yr Arglwydd Iesu arni,

## PENOD X.

YN wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn nid yw yn myned 1
i mewn trwy y drws i gorlan y defaid, eithr sydd yn
dringo ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw. Ond yr hwn 2

---

yr adn. 7—9 yn eglurhad ar y Drws, a'r adn. 10—18 yn eglurhad ar y Bugail. Sicrha hyn undod llwyrach a mwy bywydol, gan y gesyd allan yr holl alegori fel un adeiladaeth yn sefyll ar yr un gwaelod. Geiriau mawr yr alegori ydynt (1) Corlan, (2) Drws, (3) Drysor, (4) Defaid, (5) Bugail; ac ar amgyffrediad priodol a chlir o ystyr y termau yna y dibyna iawn ddehongliad y benod.

NODAU GWIR FUGAIL. ADN. 1—6.

**ADN. 1. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Sylwa Lücke gyda phriodoldeb nad yw yr Iesu byth yn dechreu anerchiad hollol newydd gyda y geiriau difrifol hyn; o ganlyniad casgla llu o esbonwyr mai parhâd sydd yma o'r ymddiddan yn niwedd y benod flaenorol, ac felly daliant y dylasid dechreu y benod hon yn ix. 35; a thueddir ni yn gryf i fabwysiadu y golygiad hwn. Yn cyfansoddi y gynulleidfa, y tu allan o bosibl i gynteddau y deml, y mae y Phariseaid, y dysgyblion, y dyn a anesid yn ddall, heblaw gwrandawyr damweiniol eraill. Yr Iesu wedi clywed ddarfod i'r Phariseaid fwrw y dyn a iachesid allan o'r synagog, a aeth i chwilio am dano; a'i feddwl yn llawn o'r driniaeth annheilwng a dderbyniodd ar law yr awdurdodau eglwysig, Efe a draddododd yr anerchiad hwn i egluro y berthynas a ddylai fodoli rhwng dysgawdwyr crefyddol a phobl eu gofal. Greddf grefyddol iachus sydd wedi arwain yr Eglwys Anglicanaidd, yr Eglwys Babaidd, a'r Eglwys Roegaidd, i ddarllen y benod hon yn y gwasanaeth ar urddiad i'r swydd offeiriadol. Yr oedd y Phariseaid wedi gwneuthur eu hunain yn fugeiliaid yn Eglwys Dduw yn amser Crist; yr oeddynt wedi trawsfeddiannu yr hawl i ddysgu a dysgyblu. Dywedwn "trawsfeddiannu" yn fwriadol; canys nid oes yn yr H.D. un cyfeiriad atynt, nac un cyfarwyddyd i dderchafu dosbarth o'u bâth hwy i awdurdod eglwysig yn y genedl. "Lladron ac ysbeilwyr" oeddynt, wedi lladrata swyddau uchel yr Eglwys heb un warrant yn yr Ysgrythau dros eu trawsfeddiant; a dilys genym fod yr Iesu yn yr alegori yn gwadu hawl y Phariseaid i awdurdod a swyddogaeth grefyddol yn y genedl. Y werin-bobl oedd praidd eu gofal, a'u dyledswydd eglur hwy oedd eu hyfforddi a'u tywys—astudio lles y bobl gyda phob gofal a diwydrwydd. Ond yn lle hyny astudio eu lles eu hunain a wnaent hwy, chwenych iddynt eu hunain hunan-glod a hunan-elw. Arddangosir hyny yn eu hymddygiad at y dyn dall. Hwynt-hwy oedd y bugeiliaid, yntau oedd y ddafad; pa fodd yr ymddygasant tuag ato? Yn lle ei arwain, ei gysuro, a'i ymgeleddu, erlidiasant ef, gan ei fwrw allan o gorlan yr Eglwys Iuddewig, i fod yn ysglyfaeth i'r bleiddiaid; a hyny, nid oherwydd un trosedd a gyflawnodd, ond oblegid ei ffyddlondeb diwyro i egwyddorion cyntaf moesoldeb a chrefydd. Dengys hyn y cysylltiad hanfodol rhwng y nawfed a'r ddegfed benod, ac yn ngoleuni y naill y gallwn ddeall y llall.

sydd yn myned i mewn trwy y drws, bugail y defaid ydyw.

---

**Yr hwn nid yw yn myned i mewn trwy y drws i gorlan y defaid.** Tybia Neander, Godet, Watkins, ac eraill, os yn hwyr y dydd ar yr hwn yr agorwyd llygaid y dall y llefarwyd yr alegori, fod yr Iesu a'i wrandawyr yn gweled o lethrau mynydd Seion y bugeiliaid yn y pellder yn arwain eu deadelloedd i'r corlanau er eu dyogelwch yn oriau y nos. Mae hyny yn bosibl, er yr ymddengys i ni yn ddigon annhebyg; yr oedd yr olygfa a ddesgrifir yma yn un gyfarwydd ddigon i bob Israeliad, cenedl o fugeiliaid. Fel y gŵyr pob Cymro llecyn amgaeedig, didô, ydyw corlan; ond perthynai llawer mwy o bwysigrwydd iddi yn y Dwyrain nag yn ein gwlad ni, oherwydd lluosogrwydd lladron a bleiddiaid; gan hyny, adeiledid y muriau amgylchynol i uchder o ddwy lath ac uchod. Ffordd y bugail gonest i'r gorlan oedd trwy y drws. Beth a feddylir wrth y Gorlan? Y mae yr ateb yn eglur, Eglwys Dduw, pa un ai dan yr H. D. ai dan y Newydd. Corlan gul, gyfyng oedd corlan Iuddewiaeth; ond corlan fawr lydan, gyfled a'r byd, yw corlan Cristionogaeth. Ac nid yr Eglwys anweledig, cyfansoddedig o wir gredinwyr yn unig, ond yr Eglwys weledig fel corpholaeth yn meddu ar gyfansoddiad arbenig. Beth a feddylir wrth y Drws i'r gorlan? Yn adn. 7, y mae yr Iesu yn ateb mai Efe yw y Drws. Anhawdd genym gredu fod y Drws yn golygu un peth yn adn. 1, ac yn meddwl peth arall yn adn. 7. Felly rhaid i ni gymeryd ein safle gydag Awstin, Calfin, a Bengel mai yr Iesu a feddylir yn y ddwy adnod grybwylledig, yn erbyn Tholuck ac eraill ag sydd yn dàl mai ffordd gyfreithlawn, mynediad dwyfol (*divine avenue*) a feddylir. Nid oes ond un ffordd gyfreithlon, un mynediad o ddwyfol appwyntiad, i swyddogaeth eglwysig, sef trwy Grist. Y mae hyn yn wirionedd am y Ddwyflywiaeth Iuddewig yn gystal ag am yr Eglwys Gristionogol—Crist yw sylfaen y naill a'r llall, a ffydd ynddo Ef fel Crist i ddod neu Grist wedi dod yw amod anhebgorol pob swydd yn nheyrnas Dduw. **Eithr yn dringo ffordd arall, lleidr ac ysbeiliwr yw.** Ni ddefnyddir y gair a gyfieithir "ffordd arall" (*allachothen*) ond yma yn unig, a golyga o "gyfeiriad arall"—o gyfeiriad amgen na llwybr y bugail. Pwy bynag, gan hyny, sydd yn myned i mewn i'r gorlan trwy ddringo dros y mur, yn lle myned i mewn trwy y drws, "lleidr ac ysbeiliwr yw." Pa wahaniaeth sydd rhwng lleidr ac ysbeiliwr? Lleidr yw un sydd yn ymdrechu cyrhaedd ei amcanion iselwael trwy ddichell a chyfrwystra; ysbeiliwr yw un sydd yn barod i arfer trais os cyfyd rhwystrau ar y ffordd. *Thief and robber.* Yr oedd Judas yn lleidr, ond yr oedd Barrabas yn ysbeiliwr. Cyfieithir y ddau air gwreiddiol yma yn briodol, ond mewn Ysgrythyrau eraill ni chedwir i fyny y gwahaniaeth rhyngddynt. Dysg yr Iesu yma fod y ddau gymeriad, eiddo y lleidr a'r ysbeiliwr, yn cyfarfod yn y dyn hwnw sydd yn ymgymeryd a'r swydd fugeiliol yn yr Eglwys heb ffydd fywiol ac achubol ynddo Ef.

ADN. 2. **Ond yr hwn sydd yn myned i mewn trwy y drws, bugail y defaid ydyw.** Y swydd fugeiliol sydd ganddo o hyd mewn llaw; ac y mae yma yn gosod i lawr yr ochr gadarnhaol i'r gwirionedd mewn cyferbyniad i'r ochr nacaol yn yr adnod flaenorol. "Bugail y Defaid ydyw"—bugail heb y fanod o'i flaen, i ddangos mai am y cymeriad neu

I hwn y mae y drysawr yn agoryd, ac y mae y defaid yn 3
gwrandaw ar ei lais ef: ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei

---

y swydd fugeiliol y lleferir,—bugail yn gyffredinol, ac nid un bugail neillduol. Gan hyny, gwirionedd cyffredinol sydd yn cael ei osod i lawr yma, ac felly yn gymhwysiadol at bob swyddog yn Eglwys Dduw. Nod cyntaf y gwir fugail, gan hyny, yw ei fod ei hunan yn gadwedig—ei fod yn myned i mewn i'r gorlan trwy ffydd yn yr Arglwydd Iesu. Heb fod yn gadwedig ei hunan, pa fodd y gall fod yn foddion cadwedigaeth eraill?

**ADN. 3. I hwn y mae y drysor yn agoryd.** Drws—drysor—ceidwad y drws. Yn y Dwyrain ni adewid y defaid byth wrthynt eu hunain, oherwydd amlder y peryglon a'i goddiweddent; ddydd a nos yr oedd bugail yn eu gwarchod—un yn fugail y dydd, y llall yn gwylied y nos, gan eistedd y tu fewn i'r gorlan, rhag i'r lleidr neu y blaidd ddringo dros y mur. Bugail y nos yw y Drysor, yr hwn a folltia y drws o'r tu fewn, ond yr hwn a'i hegyr ar ol i'r wawr dori mewn atebiad i gais Bugail y dydd. Pwy a ddynodir wrth y Drysor? (1) Ateba Bengel, Brown, a Hengstenberg mai Duw Dad a olygir—gydag Ef y mae yr awdurdod a'r gallu i gau ac agor dorau Teyrnas Nefoedd. Gwrthddadleua Tholuck fod swydd y drysor yn rhy israddol i ddarlunio gwaith aruchel y Tad; ond rhagwelodd Bengel yr wrthddadl ac atebodd hi i foddlonrwydd trwy ddyweyd os nad oedd yn ddianrhydedd ar y Mab i fod yn Ddrws nad oedd yn ddarostyngiad gormodol ar y Tad i fod yn Ddrysor. (2) Dadleua Stier, Lange, ac Alford mai yr Ysbryd Glân a feddylir—yr Ysbryd Glân yn ei ddylanwadau y tu fewn i'r Eglwys yn sicrhau drws agored i'r gwir fugail i ymgymeryd a'i swydd weinidogaethol. (3) Dadleua Chrysostom mai Moses a feddylir fel cynrychiolydd yr H. D., ac nid annhebyg i'w farn ef ydyw golygiad Godet mai Ioan Fedyddiwr sydd mewn golwg, yn agor y drws trwy ei weinidogaeth a'i Fedydd i'r deyrnas Fessianaidd. (4) Ar y cyfan gwell genym ni olygiad Meyer, De Wette, a Plummer nad oes galw arnom i ysbrydoli y drysor, yn gymaint nad yw yr Iesu yn ei eglurhad ar yr alegori yn gwneuthur un cyfeiriad ato. Pe buasai y Drysor yn rhan hanfodol o'r portread, ni fuasai yr Arglwydd Iesu yn ei eglurhad yn myned heibio iddo yn ddisylw. Nid oes dim yn arwain ar gyfeiliorn yn fwy na'r duedd anghyfreithlawn i ysbrydoli pob darn o ddameg neu alegori. **Ac y mae y defaid yn gwrandaw ar ei lais ef.** Medda lais y bugail swyn i'r defaid, oblegid cysylltant âg ef y drychfeddwl o borfa i dori eu newyn ar ol ympryd y nos. **Ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw.** Wrth y defaid yma a thrwy yr alegori y golygir gwir ddefaid, credinwyr yn wir yn y rhai nid oes dwyll. Y bugail *ideal*, a'r defaid *ideal*, sydd gan yr Iesu mewn golwg. Dywed Alford, gan ddilyn Awstin a Meyer: "Nid y dyrfa gymysg o ddrwg a da yw y defaid trwy y ddameg hon; ond y defaid gwirioneddol, y ffyddloniaid, y rhai ydynt yr hyn a ddylasai yr oll yn y gorlan fod. Ni ymddengys y gau ddefaid (y geifr yn hytrach, Matt. xxv. 32), canys nid cymeriad y *praidd*, ond cymeriad y *bugail*, a'r berthynas rhyngddo ef a'r defaid, yw y mater mewn golwg." Ond pa beth a feddylir wrth ei "ddefaid ei hun"? Paham na ddywedai yn syml, "Y mae y defaid yn gwrandaw ar ei lais ef, ac y mae yn eu galw hwy erbyn eu henw"? (1) Ateb Lange yw mai defaid yr un bugail sydd

4 hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwy allan. Ac wedi

---

yn y gorlan i gyd, ac nad yw yn galw yr holl ddefaid erbyn eu henwau, dim ond ei "ddefaid ei hun," sef y rhai sydd yn wrthrychau neillduol ei anwyldeb a'i ofal, yr ychydig etholedigion yn mhlith y praidd y rhai sydd yn dilyn wrth ei sawdl ac yn derbyn y danteithion melusaf o'i law; a'r canlyniad yw fod yr ychydig hyn, y *bell-wethers*, yn tynu yr holl ddeadell ar eu hol. Diau fod yn yr Eglwys fawr gyffredinol ac yn mhob eglwys unigol bobl mewn cymundeb agosach â'r Arglwydd Iesu na gweddill yr aelodau, a bod eu barn hwy yn penderfynu i raddau mawr i ba gyfeiriad y dylai yr eglwys symud; ond anhawdd genym gredu fod yr Iesu yma yn tynu gwahaniaeth mor gywrain rhwng y credinwyr a'u gilydd. (2) Golyga Meyer mai cyfeiriad sydd yma at arferiad a ffynai yn gyffredin yn Mhalestina, sef fod perchenogion gwahanol ddeadelloedd yn cytuno i gael un gorlan—byddai hyny yn gynildeb arianol iddynt hwy ac yn ddyogelwch ychwanegol i'r defaid; ond yr oedd i bob deadell eu bugail ei hun. Pan gyrhaeddai un o'r bugeiliaid y gorlan, galwai ar y drysor, yr hwn a agorai y drws iddo; a chan fod deadelloedd eraill i mewn heblaw ei ddeadell ef, galwai ei "ddefaid ei hun erbyn eu henwau," er mwyn eu didoli oddiwrth y deadelloedd eraill. Y mae hwn yn esboniad rhesymol, naturiol, a sylfaenedig ar arfer y wlad. (3) Dadleua Godet, fodd bynag, mai nid didoliad a feddylir, ond anwyldeb. "Y mae y defaid yn gwrandaw ar ei lais ef," ac y mae eu gwrandawiad hwy, eu parodrwydd i roddi ufudd-dod iddo, yn enyn anwyldeb yn ei fynwes tuag atynt—anwyldeb sylfaenedig ar berchenogaeth. Efe a'u pia; a mwy, y maent yn wrthrychau arbenig ei ofal a'i serch. Diau hefyd fod hwn yn esboniad da ac yn cynwys gwirionedd gwerthfawr; ac ymddengys i ni fod esboniad Meyer ac esboniad Godet yn cydsefyll mewn cysondeb perffaith â'u gilydd. Ond beth a olygir wrth alw y defaid "erbyn eu henwau"? Gwyddis y dodid enwau ar ddefaid yn y Dwyrain megis y gosodwn ni enwau ar gŵn; ac yr oedd galw pob dafad wrth ei henw priodol ei hun yn brawf fod gan lygad y bugail adnabyddiaeth bersonol o bob un. Nid oedd un ddafad yn y ddeadell na wyddai efe ei hanes, ei chymeriad, a'i hansawdd. Nid fel perchenog cwch o wenyn y mae perchenog y defaid: y mae y cyntaf yn adwaen y cwch, ond nid yw yn adwaen y gwenyn bob yn un ac un—pe cyfarfyddai a gwenynen yn nghae ei gymydog ni wybuasai mai ei wenynen ef ydoedd. Ond y mae perchenog y defaid yn adwaen pob dafad yn unigol—gall ei phigo allan o ganol miloedd o ddefaid cyffelyb, a'i galw erbyn ei henw. Cyffelyb y dylasai pob bugail fod: mor galonogol i'r aelod cyffredin a distadl yw fod ei weinidog yn adnabod ei wyneb ac yn ei alw erbyn ei enw. Nid arwydd o fawredd, ond o fychander, yw proffesu anwybodaeth o enwau pobl ein gofal. Mor ofalus oedd yr Arglwydd Iesu o'r ddafad dlawd unigol! Yma aeth allan i geisio y dyn a esgymunasid—nid sefyll ar ei urddas gan ddywedyd mai dyledswydd a braint hwnw oedd dyfod i chwilio am dano Ef. Ac wedi ei esgyniad i ogoniant y nef, mor gydnabyddus ydyw â hanes y saint ar y ddaear. "A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Ananias, Cyfod, a dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhy Judas un a'i enw Saul; canys, wele, y mae yn gweddio" (Act. ix. 11). "Cornelius, anfon

iddo yrru allan ei ddefaid ei hun, y mae efe yn myned o'u
blaen hwy: a'r defaid sydd yn ei ganlyn ef, oblegid y
maent yn adnabod ei lais ef. Ond y dïeithr nis canlynant, 5
eithr fföant oddiwrtho: oblegid nad adwaenant lais dïeithr-

---

wŷr i Joppa, a gŷr am Simon, yr hwn a gyfenwir Petr; y mae efe yn lletya gydag un Simon, barcer, ty yr hwn sydd wrth y mor" (Act. x. 3—6). Nid eithriadiau yw y rhai yna, ond enghreipthiau o wybodaeth fanwl y Pen-bugail o'i ddefaid, fychain a mawrion.

**ADN. 4. Ac wedi iddo yru allan yr oll o'i eiddo ei hun.** Dyna ddarlleniad y prif lawysgrifau, ac felly darlleniad y Cyf. Diw. Wedi didoli yr oll o'i ddefaid ei hun oddiwrth ddefaid ei gymydogion yn y gorlan, **y mae Efe yn myned o'u blaen hwy**—i ddangos iddynt y llwybr i'r porfeydd gwelltog. "Arwain allan" yn ol yr adnod flaenorol, "gyru allan" yn ol yr adnod hon, yr un gair ag a ddefnyddir yn ix. 34 am esgymundod y dyn a fuasai yn ddall. Ond y mae y ddau ymadrodd yn cydsefyll ac yn ddesgrifiadol o ffeithiau arferol y bywyd bugeiliol. Nid yw y "galw" bob amser yn effeithiol yn uniongyrchol gyda defaid yn fwy na chyda cŵn—dengys rhai duedd i lercian ar ol; gan hyny rhaid wrth ryw gymaint o orfodaeth—ond gorfodaeth yr un ffordd a'r ewyllys er yn wrthwynebol i'r tueddiadau. Barna Lange a Godet fod cyfeiriad yn y geiriau, "eu harwain allan," a'u "gyru allan," at waith y Pen-bugail yn dechreu didoli ei ganlynwyr oddiwrth y ddeadell Iuddewig er mwyn ffurfio cymdeithas newydd yn y byd. **"A'r defaid sydd yn ei ganlyn ef, oblegid y maent yn adnabod ei lais ef."** Nid adnabod ei wedd yn gymaint ag adnabod ei lais. "Taerai teithiwr wrth fugail Syriaidd," meddai un awdwr (*Mission to the Jews from Scotland, page 174*), "mai adnabod gwisg y bugail oedd y defaid, ac nid ei lais. Taerai y bugail, ar y llaw arall, mai ei lais a adnabyddent. I benderfynu y mater cyfnewidiodd ef a'r teithiwr eu dillad, ac aethant i blith y defaid. Y teithiwr yn ngwisg y bugail a alwai ar y defaid gan ymdrechu eu harwain; ond nid adnabyddent ei lais, ac ni syflai yr un. Ar y llaw arall, rhedasant ar unwaith wrth lais eu perchenog er yn guddiedig (*disguised*) yn nillad y dyeithr-ddyn." Y swydd fugeiliol yn yr Eglwys y mae yr Iesu o hyd yn ei thrafod; a thra mai ynddo Ef ei hun y derbynia y geiriau en cyflawn hystyr, eto y mae y geiriau yn wir am yr is-fugeiliaid. Dyma ynte ydyw tri nod gwir fugail: (1) Myned i mewn trwy y drws; (2) y defaid yn gwrandaw ei lais—y saint yn barnu diffuantrwydd ei anfoniad wrth y "dinge" sydd yn ei weinidogaeth; (3) galw y defaid erbyn eu henwau—y medr ynddo i ddarllen cymeriad ac i farnu yr ysbrydion.

**ADN. 5. Ond y dyeithr yn sicr nis canlynant, eithr ffoant oddiwrtho.** Y mae y nacâd yn gryf anarferol: y dyeithr nis canlynant mewn un modd. Y mae y saint yn gyflym iawn i ddarganfod llais dyeithriaid—athrawiaethau amryw a dyeithr; a chauant eu clustiau yn eu herbyn. Gelwir yr arafwch hwn ynddynt yn ragfarn a chulni; nid ydyw y naill na'r llall, ond greddf iachus yn gwrthdystio yn erbyn yr hyn sydd yn anghyson a duwioldeb. Ond er fod y gwir ddefaid yn gwrthod gwrandaw llais dyeithriaid, y mae dosbarth arall yn penfeddwi arnynt, "yn cael eu cylcharwain gan bob awel dysgeidiaeth."

6 iaid. Y ddammeg hon a ddywedodd yr Iesu wrthynt: ond
hwy ni wybuant pa bethau ydoedd y rhai yr oedd efe yn eu
7 llefaru wrthynt. Am hynny yr Iesu a ddywedodd wrthynt
drachefn, Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Myfi yw drws y

---

**ADN. 6. Y ddamheg hon a lefarodd yr Iesu wrthynt.** Gair y tair efengyl arall am ddamheg yw *parabolê* (*parable*), yr hwn ni ddefnyddir unwaith gan Ioan; gair Ioan am ddamheg yw *paroimia* (*para* + *oimia* = allan o'r ffordd). Llafuria esbonwyr i ddangos y gwahaniaeth rhyngddynt; ond, fel y dywed Dodds, yn ymarferol y mae y ddau derm yn gyfnewidiol (*convertible*). Mewn damheg, diau y cedwir y gydmariaeth a'r gwirionedd ar wahân; mewn alegori, y gair goreu efallai am y gwreiddiol yma, y mae y gydmariaeth a'r gwirionedd yn treiddio trwy ac yn gymhlethedig a'u gilydd. Y manau eraill y defnyddir y gair ydynt xvi. 25, 27, lle y cyfieithir ef fel yn yr adnod hon, a 2 Petr ii. 22, lle y cyfieithir ef yn "ddihareb"—ffordd ffugyrol o osod allan wirionedd ysbrydol. **Ond hwy ni wybuant pa bethau ydoedd y rhai yr oedd efe yn eu llefaru wrthynt.** Dyfalent fod i'r ddamheg ystyr ysbrydol; ond pa beth oedd yr ystyr, pa gymhwysiad atynt hwy neu ato Ef ei hun oedd ynddi ni allant ddychymygu. Nid aeth i'w meddwl nad oedd ganddynt hwy hawl i dra-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw, mai lladron ac yspeilwyr oeddynt, heb un hawl Ysgrythyrol i lywodraethu yr Eglwys, "eithr wedi dringo ar hyd ffordd arall."

### EGLURHAD YR IESU. ADN. 7—18.

Y mae yr eglurhad yn rhanu ei hunan yn ddwy ran. Y gyntaf yn egluro y Drws (adn. 7—9), yr ail yn egluro y Bugail (adn. 10—18). Ond wrth egluro y mae hefyd yn ychwanegu.

**ADN. 7. Gan hyny, yr Iesu a ddywedodd wrthynt drachefn.** Dylasent ddeall yr alegori, oblegid y mae yr holl gydmariaethau cynwysedig ynddi i'w cael yn yr H. D. (Ps. xxiii.; Ezek. xxxiv.; Zech. xiii.); ond yr oedd trahausder swyddogol yn dallu eu llygaid. "Gan hyny," er symud ymaith bob esgus dros eu diffyg dealldwriaethol, llefara yr Iesu wrthynt yn eglur, gan gymhwyso ato ei hun brif ffugyrau yr alegori. Bernir fod gorphwysfa fer rhwng llefariad yr alegori a'r eglurhad (viii. 12, 21), yn ystod yr hon y rhoddodd y Phariseaid ddatganiad i'w hanallu i ddirnad y meddwl. **Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Y mae mynychiad yr ymadrodd hwn yn dangos y pery i symud yn mhlith y gwirioneddau mawrion pwysig, ac nid yn mhlith y mân wirioneddau. **Myfi yw Drws y defaid.** Y "myfi" yn bwysleisiol. Myfi, nid neb na dim arall. Beth yw yr ystyr? (1) Barna Bengel, Meyer, a Luthardt mai Drws y Bugeiliaid a feddylir, y drws trwy yr hwn yr ä y gwir fugeiliaid i mewn i'r gorlan at y defaid. (2) Ond cred Chrysostom, Godet, a Westcott y dysgir yma ei fod yn Drws i'r defaid i fyned i mewn i'r gorlan yn gystal ag i'r bugeiliaid, yr un drws sydd i'r bugeiliaid a'r praidd. Pe dywedasai yr Iesu, "Myfi yw drws y gorlan," gan gyfeirio at adn. 2, tueddid ni i goledd yr esboniad cyntaf; ond gan mai "drws y defaid" a ddywed, gogwyddwn i gyfeiriad yr ail. Efe yw y drws i aelodaeth eglwysig yn gystal ag i swyddogaeth eglwysig; ar wahan iddo

defaid. Cynnifer oll ag a ddaethant o'm blaen i, lladron 8

---

Ef lladron yw y bugeiliaid, a geifr yw y defaid, os goddefir y gwrthddywediad.

**ADN. 8. Cynifer oll ag a ddaethant o'm blaen i, lladron ac ysbeilwyr ŷnt.** Cyfrifa Tholuck yr adnod hon yn un o'r adnodau anhawddaf yn y Test. Newydd, ac ar rai ystyron y mae yr haeriad yn wir. Cyfyd yr anhawsder cyntaf o'r amrywiaeth darlleniadau yn y llawysgrifau henafol. Mewn rhai o honynt gosodir "o'm blaen i" o flaen y ferf "daeth"; mewn eraill ar ei hol fel yn ein cyfieithiad ni; tra y gadewir hwy allan o luæws mawr, ac yn eu plith o'r llawysgrif Sinaitaidd, y mwyaf teilwng o ymddiried o honynt oll. Fodd bynag, cred Westcott a Hort yn nilysrwydd y geiriau; a chan fod y Cyf. Diw. yn mabwysiadu y darlleniad hwn, y ffordd ddyogelaf i ni yw dilyn, gan nad faint yr anhawsderau esboniadol a grea. Pwy ynte a olygai yr Iesu wrth y lladron a'r ysbeilwyr oeddynt wedi myned o'i flaen Ef? O'i flaen Ef yn mha ystyr? (1) Yr ateb cyntaf yw yr un Gnosticaidd, sef fod "o flaen" yn golygu o flaen o ran amser, ac o ganlyniad fod yr Iesu yn pasio barn condemniad ar holl saint a phrophwydi yr H. D., ac yn derchafu y datguddiad o Dduw yn y Test. Newydd i safle o wrthwynebiad i'r datguddiad o Dduw yn yr Hen—Duw cyfiawn, caled oedd Jehofah yr Israel, and Duw tyner, cariadlawn yw Tad ein Harglwydd Iesu Grist; nid un Duw ydynt ond dau. Oherwydd fod Moses a'r prophwydi yn dysgu Duw cyfiawn, creulon, geilw hwy yn lladron ac ysbeilwyr. Maentumir y syniad hwn gan De Wette, er nad yn ei ffurf eithafol, haner paganaidd: ond cymer yntau y geiriau "o flaen" yn yr ystyr o amser, ac felly fod yr Iesu yn cynwys y saint a'r prophwydi gynt yn mhlith y "lladron a'r ysbeilwyr," a thrwy hyny yn dangos toster eithriadol yn y ddedfryd a gyhoedda ar ddysgawdwyr yr oesau blaenorol. Ond i bawb sydd wedi darllen y penodau blaenorol (v. 39, 45—47; vi. 45; x. 34, 35), yn y rhai y llefara am danynt gyda pharch diffuant, y mae yr esboniad hwn yn hollol wrthodedig. (2) Olshausen a dybia mai ystyr "o flaen" *(pro)* yma yw "yn lle" *(huper)*. "Cynifer oll ag a ddaethant yn fy lle i"—gan gymeryd iddynt eu hunain swydd y Messiah a gosod eu hunain allan fel y "Drws," a thrwy hyny yn hawlio awdurdod i gau ac agor teyrnas Dduw yn ol eu mympwyon eu hunain, megis y gwnai y Phariseaid hyn yn y benod flaenorol. Gan ddilyn Olshausen ysgrifena arall "Y mae yn eglur mai nid o flaen o ran amser a feddylir, ond o ran safle—*pro emon*, o flaen, gan eu gosod eu hunain yn *lle* Crist, neu rhwng Crist a'r defaid, nid yn unig fel bugail ond hefyd fel drws." Ond y ffordd y mae yn eglur yw trwy osod un gair yn lle gair arall, *anti* yn lle *pro*. Egluro yr ymadrodd heb newid y geiriau yw yr orchest. (3) Meyer a Lange a edrychant ar y geiriau "o flaen" yn annibynol ar amser a lle—cynifer oll ag a ddaethant hebof Fi, ar wahân i Mi, yn annibynol arnaf Fi, lladron ac ysbeilwyr ŷnt. Yn ol yr esboniad hwn cauir Moses a'r prophwydi allan o restr "y lladron a'r ysbeilwyr," gan mai dyfod a wnaethant hwy yn enw a ffydd y Messiah oedd i ddyfod, sylfaenent eu swyddogaeth eu hunain ar ei swyddogaeth Ef. Ond dan yr Hen Oruchwyliaeth cyfododd gau brophwydi lawer, y rhai nad oedd "Ysbryd Crist" ynddynt (1 Petr i. 11), yn hòni awdurdod na

ac yspeilwyr ŷnt: eithr ni wrandawodd y defaid arnynt.

---

pherthynai iddynt—y rhai hyn oedd y "lladron a'r ysbeilwyr." Ond canfyddir ar unwaith fod amddiffynwyr yr eglurhad hwn fel cefnogwyr yr eglurhad blaenorol yn gorfod rhoddi *choris* yn lle *pro*, gan ddwyn ystyr i mewn i'r arddodair nad yw yr arddodair yn gyfreithlawn yn ei gynwys. (4) Gan hyny, golygiad Awstin, yr hwn i raddau, er nad yn hollol, a ddilynir gan Westcott a Godet, a ymddengys i ni y mwyaf cymeradwy, sef y dylid taflu pwys y llais a'r meddwl ar y ferf "dyfod." "Cynifer oll ag a *ddaethant* o'm blaen i" o ran amser, eu "dyfod" hwy mewn cyferbyniad i'r "Un oedd ar ddyfod," dyfod heb eu hanfon, dyfod heb alwedigaeth nac ysbrydoliaeth nefol. Cannoedd o'r cyfryw rai a ymddangosasant yn Israel cyn adeg yr Ymgnawdoliad—gau brophwydi, gau athrawon, y rhai a fynent dra-arglwyddiaethu ar braidd Duw. Pawb a osodasant eu hunain i fynu yn eu henwau eu hunain, lladron ac ysbeilwyr oeddynt, yn tarfu y defaid ac yn eu hysglyfio hwy. "Dyfod" yn ei ystyr Ef o "ddyfod," dyfod heb eu hanfon, dyfod cyn yr amser, gan bortreadu eu hunain fel Drws y defaid, yn hawlio awdurdod i ganiatau dyfodiad i mewn i'r Eglwys ac i weinyddu esgymundod o'r Eglwys,—dynion o'r desgrifiad yna, lladron ac ysbeilwyr oeddynt; nid oes iaith yn rhy gref i'w condemnio, canys nid oes ond un Drws i Eglwys Dduw dan bob goruchwyliaeth,—Crist i ymgnawdoli neu Grist wedi ymgnawdoli. Ond dengys cyfuniad o'r amser gorphenol yn y ferf "daeth" a'r presenol yn y ferf "ŷnt," yr edrychai yr Arglwydd Iesu ar y Phariseaid fel olynwyr y gau brophwydi,—yr oedd eu trawsfeddiant hwy o awdurdod eglwysig eithafol wedi dechreu "o flaen" ei ymddangosiad Ef, ac yn parhau yn anterth ei nerth. "Cynifer oll ag a ddaethant o'm blaen i," yn y gorphenol, nid lladron ac ysbeilwyr *oeddynt*, fel y ceir fynychaf yn yr esboniadau, ond lladron ac ysbeilwyr *ydynt*. Y mae defnyddiad yr amser presenol yn y ferf olaf yn gymhwysiad o'r cyhuddiad at Phariseaid ei oes Ef, ac at gau athrawon pob oes. Gau athrawon, ag sydd yn trawsfeddiannu llywodraeth Eglwysig, "lladron ac ysbeilwyr" ydynt. Cyfrifa feirniadaeth "lydan" y ganrif hon eiriau fel y rhai hyn yn rhy gryfion a gerwin; ond gwell cadw at ymadroddion yr Iesu a'i apostolion,—llefaru y gwir yn ei noethder.

**Eithr ni wrandawodd y defaid arnynt.** Gwrandawyd arnynt gan luaws a gyfenwent eu hunain yn ddefaid, ond nid gan y gwir ddefaid, pobl fel Simeon ac Anna ag oedd yn disgwyl am ddiddanwch yr Israel. Preswylia rhyw reddf yn nuwiolion pob goruchwyliaeth i adnabod y gwir, y cywir, y dwyfol, ac mewn canlyniad i adnabod y celwyddog, y twyllodrus, a'r cyfeiliornus. Nid dysgeidiaeth, ond duwioldeb yr Eglwys, sydd yn peri iddi lynu wrth yr athrawiaeth iachus. Paham? Am mai athrawiaeth yn ol duwioldeb ydyw; y mae cydnawsedd rhwng y dwyfol (duwiol) y tu fewn a'r dwyfol (duwiol) y tu faes. Er nad yw dyn yn deall fferylliaeth ei gyfansoddiad na fferylliaeth ei fwyd, eto gŵyr yn dda pa ymborth sydd yn cytuno a'i gyfansoddiad ac yn faethlawn iddo. Cyffelyb yw lluaws y defaid, pobl dduwiol ein heglwysi,—nid oes ganddynt ddirnadaeth glir am gyfundrefnau duwinyddol nac athronyddol, ond gwyddant yn dda pa beth sydd yn cytuno a'u hanian dduwiol, pa athrawiaethau sydd iachus ac yn adeiladol i'r dyn newydd. Beth

Myfi yw y drws: os â neb i mewn trwof fi, efe a fydd 9

---

feddyliech chwi am y bregeth heddyw? gofynwyd i hen bererin duwiolfrydig ond diddysg. "Rhyw chwerw-felus oeddwn i yn ei chael hi," oedd yr ateb parod,—deffiniad rhagorach o'r bregeth a'r pregethwr na fedrai yr un ysgolhaig ei roddi. "Ni wrandawodd y defaid arnynt." Gwir fod cydgordiad dwfn rhwng datguddiad yr Efengyl a greddfau dyfnaf y ddynoliaeth, hyd yn nod pan heb ei hail-eni; y mae yna Garreg Ateb i'r Dwyfol yn mynwes pob dyn, hyd yn nod pob dyn annuwiol; ond y mae cynghanedd llawer mwy cyson rhwng y Datguddiad dwyfol a greddfau y dyn ail-anedig; nid cynghanedd nodyn yma a thraw, ond o ddechreu y dôn hyd ei diwedd, ac y mae yn gyflym i ddarganfod *discords* yn y beroriaeth. "Ni wrandawodd y defaid arnynt." Y mae ymddygiad y defaid, profiad duwiolion, yn faenprawf i farnu yr ysbrydion, gwir gymeriad yr athrawiaethau a bregethir. Gellir barnu athrawiaeth, ai o Dduw ai o ddynion y mae, wrth ofyn, A yw y bobl dduwiol yn cael blas arni? Gellir hoffi dawn dyn; ond talent naturiol yw dawn yn y pregethwr, a gallu naturiol yn y gwrandawyr sydd yn medru ei werthfawrogi. Ond y peth hwnw y tu cefn i ddawn, a than y ddawn, y gwirionedd—a ydys yn cael blas ar hwnw? Bendith fawr pan y cyfododd Duw ddynion fel John Elias yn y Gogledd ac Ebenezer Morris yn y Deheudir i atdynu gwlad o ddynion ar eu holau yn rhinwedd y doniau a addurnent eu gweinidogaeth; bendith llawn cymaint pan y cyfodd David Charles, Caerfyrddin, yn y Deheudir a Dr. Lewis Edwards yn y Gogledd i brofi y cynulleidfaoedd ai y dawn ynte'r gras, y dalent ynte'r athrawiaeth, oedd yn meddu y swyn iddynt ac yn arfer dylanwad arnynt. Mae y duwiolion yn medru barnu athrawiaeth wrth ei blâs.

**ADN. 9. Myfi yw y drws.** Y "myfi" eto yn bwysleisiol. Gorfodir ysgrifenwyr a siaradwyr yn gyffredin, gan deimlad o ledneisrwydd, i guddio y "fi." An hyny, arferant "nyni," pan y buasai "myfi" yn fwy unionsyth; defnyddiant y berfau yn y ffurf oddefol anmhersonol pan y buasai y ffurf weithredol bersonol yn fwy naturiol a hylaw. Mor wahanol yr Iesu! "Myfi" yw y gair mawr yn ei weinidogaeth Ef, mynycha ef drachefn a thrachefn nes hoelio sylw y gwrandawyr a'r darllenwyr, tafla bwys ei lais a phwys ei athrawiaeth ar y "myfi." "*Myfi* yw y drws," "Myfi yw drws y defaid," "Myfi yw y bugail da." Pe llefarasai Plato neu Aristotle yn yr arddull bersonol yma, cyhuddid hwy, a hyny gyda phriodoldeb, o hunanoldeb anghymedrol; ond er fod yr Iesu yn mabwysiadu yr arddull yn ei ffurf fwyaf eithafol, nid oes un anffyddiwr parchus heddyw a'i cyhudda o hunanoldeb. Paham? Pwy a Pheth ydoedd? Creadur ynte Creawdwr? Dyn ynte Duw? Yn ein byd ni nid cyfreithlawn i greadur, dim ond i Greawdwr, gysylltu y fath bwysigrwydd a'i berson ei hun; nid oes ond Duw a fedr ddàl y fath bwyslais! "Myfi yw y drws"—y drws heb ddim cyfyngiad ar y meddwl, drws i'r bugeiliaid a drws i'r defaid. **Os trwof fi yr ä neb i mewn.** "Trwof fi" yn nechreu y frawddeg, i ddangos mai dyna o hyd yw y drychfeddwl llywodraethol. "Os trwof fi yr ä neb i mewn"—neb, dim gwahaniaeth swydd na sefyllfa. Un ffordd iachawdwriaeth y sydd, un Enw sydd wedi ei roddi yn mhlith dynion trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig. Rhaid i'r Phariseaid hunan-gyflawn a'r

cadwedig; ac efe a â i mewn ac allan, ac a gaiff borfa.
10 Nid yw lleidr yn dyfod ond i ladratta, ac i ladd, ac i

---

publicanod anfoesol, a dysgawdwyr bydglodus a'r ynfydion anllythyrenog, i gyd fyned i mewn trwy yr un drws, canys o safle colledigaeth nid oes gwahaniaeth. **Ac efe a ä i mewn ac a ä allan.** Y mae y ferf "ä" yn cael ei hail-adrodd i osod allan weithrediad rhydd yr ewyllys Nid yw y geiriau yn golygu meddu aelodaeth a cholli aelodaeth, ond rhyddid llwyr a pherffaith. (Num. xxvii. 17; Deut. xxxi. 2). Perthyn i'r praidd a'r gorlan y mae y credadyn, a rheolau dysgyblaethol megis muriau o'i amgylch; er hyny nid teimlad o gaethiwed sydd yn ei feddiannu, eithr o ryddid dilyfethair. Gwir hyn am y gwir fugail; nid caethwas mohono, ond dyn rhydd, am fod ei waith a'i ewyllys yn cydredeg yn yr un cyfeiriad. Gwir hyn am y ddafad,—hi a ä i mewn ac allan, heb orfodaeth o'r tu allan na blys o'r tu fewn i grwydo: rhyddid llawn a pherffaith. **Ac a gaiff borfa**. (1) Dealla Westcott hyn am y drafodaeth rydd rhwng y Cristion â'r eglwys ar y naill law, ac â'r byd ar y llaw arall. A o'r eglwys i'r byd i drafod ei fasnach, i ddilyn ei gelfyddyd, ac i astudio ei lenyddiaeth, ac efe a gaiff borfa—ymborth i'w grefydd yn meusydd y byd; try yr oll yn faeth ysbrydol i'w enaid. Y mae llawer o wirionedd yn hynyna. Nid doeth i Gristion gau ei hunan i fyny o fewn muriau eglwys neu fonachlog; i enill nerth ysbrydol, rhaid iddo wynebu y byd yn ei alwedigaethau a'i demtasiynau a'i orchfygu. (2) Ond o braidd y meddyliwn mai y maeth a all y Cristion ei sugno allan o alwedigaethau bydol oedd yn llygad yr Iesu, eithr yn hytrach y darpariaethau yn yr Efengyl i ddiwallu anghenion ysbrydol dyn. Gellir cymhwyso y geiriau at y bugail fel y gwna Meyer —caiff borfa i'w enaid ei hun a phorfa i braidd ei ofal. Rhyfedd y borfa fras sydd yn meusydd yr iachawdwriaeth. Meddylier am y milfiloedd cyfrolau sydd wedi eu hysgrifenu er dechreuad Cristionogaeth, yr ugeiniau o esboniadau ar Efengyl Ioan, er enghraipht,—gwair wedi ei gynhauafu o feusydd yr Ysgrythyrau; ond po fwyaf o dori sydd ar y borfa, tewaf i gyd yw y cnwd. Pan y dechreuasom ar ein gweinidogaeth, nid oeddym ond "bachgenyn a chenym bum' torth a dau bysgodyn"—crynem wrth feddwl mor fuan y tarawem waelod ein hystorfa fechan. Ond wedi dechreu medi a chywain i'r ysgubor, gwelsom er ein syndod a'n calondid fod y borfa yn tyfu. Y mae "Pren y Bywyd yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, *bob mis* yn rhoddi ei ffrwyth." Diflanodd yn fuan ein hofn na chaem ddigon i'w ddyweyd; ein hofn yn awr yw na chawn ddigon o amser i'w ddyweyd. "Efe a gaiff borfa," ac ni fu y borfa erioed cyfuwch ag ydyw yn awr. Dàl yr adnod yn wirionedd hefyd yn ei pherthynas â'r defaid. Os oes golwg gul ar lawer o honynt, nid diffyg porfa yw yr achos, ond amddifadrwydd o chwant ato—anhwyldeb y tu fewn. "Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog"—porfa fras, c'uwch a gwellt gwenith. Dyma ynte dair bendith fawr pob gwir fugail a phob gwir ddafad: (1) dyogelwch, "efe a fydd cadwedig"; (2) rhyddid, "efe a ä i mewn ac allan"; (3) cyflawnder o ymborth, "ac a gaiff borfa."

**ADN. 10. Nid yw y lleidr yn dyfod ond i ladrata, ac i ladd, ac i ddistrywio.** Mýn rhai esbonwyr ddarganfod yn y tri gair, lladrata,

ddistrywio: myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent

---

lladd, a distrywio, dri meddwl gwahanol,—lladd yn gryfach na lladrata, a distrywio yn gryfach na lladd. Diau fod hynyna yn wirionedd; ond y ffordd ddoethaf yw edrych ar y geiriau fel darluniad cryf o weithrediadau lleidr o ddechreuad hyd orpheniad ei waith. Lladrata y ddafad; ei lladd ar ol ei lladrata; a distrywio yr hyn na fedr ddefnyddio. Ond pwy yw y "lleidr"? Yn ein cyfieithiad ni, lleidr heb y fanod ydyw, ac felly dysgir gwirionedd cyffredinol ag sydd gymhwysiadol at bob lleidr unigol. Ond yn y gwreiddiol lleidr a'r fanod o'i flaen ydyw—*y* lleidr. Pwy gan hyny a ddynodir? (1) Mŷn Alford ac Ogwen Jones mai at y diafol y cyfeirir. Megis mai yr Arglwydd Iesu yw y Pen-Bugail, felly y diafol yw y Pen-lleidr. Ymwthiodd i mewn i gorlan y byd hwn yn nechreuad hanesyddiaeth trwy ddringo dros y muriau -nid yw desgrifiad Milton o ymosodiad y diafol ar y ddynoliaeth ond y ffugr hwn wedi ei gario allan i'w fanylion; lladrata, lladd, a distrywio yw ei orchwyl byth ar ol hyny. Nid oes dim i'w wrthddadleu yn erbyn y golygiad hwn ynddo ei hun, canys y mae yn hollol gydweddol a dysgeidiaeth yr Iesu yn viii. 41—44, os oes rhywbeth yn y cyd-destyn yn awgrymu y diafol; ond perthyn i ni gyfaddef nas gwelwn ddim. (2) Oherwydd paham coeliwn mai y gau-fugail dynol sydd mewn golwg; nid un gau-fugail penodol, ond y gau-fugail yn ei lawn ddadblygiad—*y* lleidr pan y mae ei holl egwyddorion drwg wedi cyrhaedd llawn addfedrwydd, a'u holl ansoddau pwdr wedi cyrhaedd llawn ddadblygiad. Cynrychiolid y lleidr yn ei lawn faintioli yn y Phariseaid yr oedd yr Iesu yn ymresymu â hwy yn bresenol—penderfynasant yn mlaen llaw (ix. 22) yr esgymunent bawb a gyffesai mai yr Iesu oedd y Crist, "bwriasant allan" trwy nerth gewynol y dyn a dderbyniasai ei olwg ar y Sabbath. Beth oedd hyny ond lladd a distrywio defaid Duw? O, mor hagr y darlun o'r gau-weinidogion! **Myfi a ddaethum fel y caent fywyd.** Y "Myfi" yn bwysleisiol eto; "myfi" mewn cyferbyniad i'r lleidr, sef y bugeiliaid Phariseaidd hunan-gyfiawn a chreulon. Y mae y ferf "daethum" yn yr *aorist tense*, ac felly yn cyfeirio at ei ddyfodiad unwaith, ei ddyfodiad o'r nefoedd i'r ddaear yn yr Ymgnawdoliad. Dyma oedd amcan ei ddyfodiad, nid i berffeithio y greadigaeth, ond i gwblhau yr iachawdwriaeth; nid i uno dyndod a Duwdod er mwyn gwneuthur ymaith â'r *antithesis* rhwng y meidrol a'r anfeidrol,—gallasai preswyliad personol y Trydydd Person mewn dynoliaeth bur a sanctaidd gyrhaedd yr amcan hwnw, ond i symud ymaith yr *antithesis* rhwng pechod a sancteiddrwydd, rhwng pechadur euog ac aflan a Duw cyfiawn a phur, ac i gyrhaedd yr amcan hwn rhaid oedd i'r Ail Berson ymgnawdoli. Y cyferbyniad rhwng y gau fugeiliaid a'r Iesu, gan hyny, yw, mai *cael* oedd eu hamcan hwy—hunan-les; ond *rhoddi* oedd ei amcan Ef—hunan-aberth. Dyma yr egwyddor ag y dylid ei chymhwyso at gymeriadau amheus yr oes. Pa fodd i brofi y gwahaniaeth rhwng y gau-fugail a'r gwir fugail? Gofyn y cyntaf, Beth a gaf fi gan yr eglwys; ond gofyn yr ail, Beth a gaiff yr eglwys genyf fi? Pa fodd i benderfynu y gwahaniaeth rhwng y gau wleidyddwr a'r gwir wleidyddwr, o herwydd proffesa y ddau wisgo cochl gwladgarwch? Cwestiwn mawr y gau wladgarwr yw, Beth a all y wlad ei roddi i mi? Pa fantais a allaf fi yn fy ngalwedig-

11 *ef* yn helaethach. Myfi yw y bugail da. Y bugail da sydd

---

aeth a'm teulu gael allan o'r Senedd? Ond cwestiwn mawr y gwir wladgarwr yw, Beth a allaf fi roddi i'r wlad? Pa fantais gymdeithasol neu addysgiadol neu grefyddol a allaf fi sicrhau i'r werin trwy fy mynediad i'r Senedd? Hunan-elw yw amcan un—ei les ei hun; hunan-aberth yw arwyddair y llall—lles llaweroedd. **Ac y caent helaethrwydd.** Gellir o bosibl gyfieithu y gwreiddiol mewn dwy ffordd. (1) "Fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach"—sef bywyd. Yn helaethach na pheth? (*a*) Yn helaethach nag oedd cyn i'r ddynoliaeth golli ei bywyd yn y dechreu. Y mae adnoddau bywyd y credadyn yn llawer mwy dihysbydd nag adnoddau bywyd Adda yn Mharadwys. "Buddugoliaeth Calfari enillodd *fwy* yn ol i mi"—gofaler cadw y "mwy" i mewn yn yr emyn. (*b*) Bywyd helaethach nag eiddo credinwyr yr H. D. Bywyd prin oedd eu bywyd hwy—digon, heb dim yn ngweddill; ond nodweddir bywyd credinwyr ar ol dyfodiad Crist gan ehangder diderfyn a chyflawnder dihysbydd (vii. 15). (2) Mŷn Westcott ac eraill gyfieithu: "fel y caent fywyd, ac y caent helaethrwydd," ac y mae y Cyf. Diw. yn rhoddi i ni ein dewis. Gan fod yr Iesu yma yn defnyddio yr un ferf (*echōsin*) ddwywaith, gyda bywyd a gydag helaethrwydd, tueddir ni i feddwl fod iddo ddau wrthrych (*object*) gwahanol—cael bywyd, a chael helaethrwydd o ddefnyddiau i gynal y bywyd ar ol ei gael. Wrth fywyd y deallir yr elfen dufewnol, ac wrth helaethrwydd y ddarpariaeth allanol i gadw yn gryf yr elfen dufewnol,—helaethrwydd o wirionedd a grâs, helaethrwydd o bob darpariaeth er magu a meithrin duwioldeb yn yr enaid. Felly y mae y fendith gyntaf, bywyd, yn dufewnol (*subjective*), a'r fendith olaf, helaethrwydd, yn allanol (*objective*). Ond yn ymarferol daw y ddau eglurhad i'r un peth: canys os oes bywyd yn yr enaid, a helaethrwydd o ras a gwirionedd yn yr Efengyl i'r enaid sugno maeth o honynt, y mae yn canlyn fod y bywyd yn cynyddu mewn nerth ac ehangder.

**ADN. 11. Myfi yw y bugail da.** Gorphenodd yr Iesu â chydmariaeh y drws yn adn. 9, ac yma cymer i fynu gydmariaeth y bugail; ffurfia adn. 10 draws-symudiad esmwyth o'r naill i'r llall. Nid "Myfi wyf fugail da" a ddywed, ond "Myfi yw y bugail da"—y bugail a'r fanod o'i flaen. Beth yw swyddogaeth y fanod yma? (1) Tybia Bengel ei bod yn dynodi allan yr Iesu fel *y* Bugail a addewid i Israel yn Ysgrythyrau yr H.D. (Es. xl. 11; Ezec. xxxiv. 11) y Bugail ag oedd mewn ffordd arbenig i ofalu am y genedl. (2) Ond yn fwy tebyg i ddangos ei ragoriaeth ddihafal ar bawb eraill yn y swydd fugeiliol. Nid bugail mohono, y rhagoraf yn y dosbarth; ond *y* bugail—ffurfia ddosbarth wrtho ei hun. "Myfi yw y Bugail da." Defnyddir dau air yn y Test. Newydd am "dda": un (*agathos*) a ddynoda da moesol, da tufewnol, da o ran gwraidd neu egwyddor, ac felly da yn ngolwg Duw; y llall (*kalos*) a ddynoda y da moesol mewn amlygrwydd, y da tufewnol yn tori allan yn ddisglaerdeb allanol, y da wedi dadblygu yn brydferthwch, ac felly da yn ngolwg dynion. Y Bugail da, gan hyny, yw yr hwn y mae ei ddaioni hanfodol yn tori allan yn brydferthwch cymdeithasol. "A minnau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb attaf fy hun"—y daioni mor fawr nes meddu gallu atdyniadol. Anianawd daioni yw disglaerio, ond

yn rhoddi ei einioes dros y defaid. Eithr y gwas cyflog, 12

---

ni chyrhaeddodd y fath danbeidrwydd yn neb ag yn yr Iesu. Nid y rhagoraf yn ei ddosbarth yw, ond y Bugail da yn ffurfio dosbarth ar ei ben ei hun. Felly hunaniaetha ei hunan yma a Jehofah yr H.D. yn ol dehongliad Bengel o swyddogaeth y fanod (Es. xl. 11: Ps. xxiii. 1). **Y Bugail da sydd yn rhoddi ei einioes i lawr dros y defaid.** Beth yw y meddwl? (1) Eglura yr esbonwyr sydd mewn cydymdeimlad ag Undodiaeth mai dodi ei enioes, ei enaid (*psuchēn*), i lawr yn yr ystyr y treulia ei oes yn eu gwasanaeth ac er eu mwyn—gosod allan holl adnoddau ei gorph a'i enaid er lles y defaid. Yn nghyflawniad y gwaith hwn gelwir ar y bugail weithiau i beryglu ei fywyd yn ei ymdrech i gadw draw y lladron a'r bwystfilod rheibus. Ond ei amcan oedd cadw ei fywyd ei hun a bywyd y praidd,—anffawd anhapus oedd iddo golli ei fywyd; canlyniad, nid bwriad. Ei waith oedd byw ac edrych ar ol y defaid; damwain yn nghyflawniad ei waith oedd marw. (2) Ond ymddengys i ni uwchlaw dadl y meddylia yr Iesu fwy na hynyna,—fod marw yn rhan, ac yn rhan hanfodol, o'i waith. Nid yw marw yn rhan o waith pob bugail, ond y mae yn rhan o waith *y* Bugail, y Bugail da, oherwydd yr enbydrwydd y mae defaid y ddynoliaeth ynddo. Ni fu marw yn rhan o waith neb cynt nag wedi'n: anffawd yw marw i bawb eraill, ond yr oedd yn brif ran yn ngwaith yr Arglwydd Iesu. Pe heb farw ni chwblhasai ei waith; oherwydd paham gwahaniaethai ei farwolaeth Ef oddiwrth farwolaeth pob bugail arall. Yn ol yr adnod flaenorol daeth Efe i'r byd fel y cai dynion fywyd, ac y caent helaethrwydd; ond yr unig ffordd y caent hwy y naill a'r llall oedd trwy iddo Ef fforffetio ei fywyd. Yr oedd marw yn rhan o'i waith, ac yn gynwysedig yn y commissiwn a dderbyniodd gan ei Dad (adn. 18). Prawf hyn fod ei berthynas Ef a dynoliaeth yn wahanol i berthynas pawb eraill. (3) Bu farw "dros (*huper*) y defaid," h.y. o'u plaid, er eu mwyn, er eu lles. Dyna bob amser ystyr yr arddodair "dros" (*huper*). Ond nid yw yr arddodair hwn yn dihysbyddu ystyr marwolaeth yr Arglwydd Iesu, canys cawn yr Iesu yn defnyddio arddodair arall, *anti*, yn golygu "yn lle": "Megis na ddaeth Mab y Dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth *yn lle* (*anti*) llawer" (Matt. xx. 28). Defnyddia yr Iesu "dros" (*huper*) amryw weithiau, megis yn vi. 51; xv. 13, &c.; a defnyddia Ioan ef yn ei Epistol Cyntaf, iii. 1, "Yn hyn yr adnabuom gariad, oblegid dodi o hono Ef ei einioes i lawr drosom (*huper*) ni, a ninau a ddylem ddodi ein heinioes i lawr dros (*huper*) y brodyr." Gan hyny, y mae rhyw elfen yn gyffredin rhwng marwolaeth Crist dros ddynion a marwolaeth dynion dros eu gilydd, a dyma yr elfen a ga yr arbenigrwydd mwyaf yn y Test. Newydd. Ond er fod yna elfen gyffredin ynddi, yn cael ei gosod allan yn yr arddodair "dros" (*huper*), y mae yna elfen anghyffredin hefyd, yn cael ei gosod allan yn yr arddodair "yn lle" (*anti*). Nid yn unig y gwahaniaetha marwolaeth Crist oddiwrth bob marwolaeth arall mewn graddau, ond hefyd mewn natur. Y mae bugail cyffredin yn marw dros y defaid, eithr nid yn eu lle; ond y mae y Bugail da yn marw drostynt, ac yn marw yn eu lle. Hon yw yr elfen feichniol yn yr Iawn. Nid yw yr egwyddor ddirprwyol yn yr arddodair yn y paragraph hwn; ond nid yw ysbrydoliaeth wedi

a'r hwn nid yw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn
gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadael y defaid, ac yn ffoi:
a'r blaidd sydd yn eu hysglyfio hwy, ac yn tarfu y defaid.
13 Y mae y gwas cyflog yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw,

---

dodi athrawiaeth Iawn meichniol i orphwys ar arddodeiriau, ond ar rediad cyffredinol y gwirionedd—y mae yr egwyddor ddirprwyol yma fel yr eglur ddengys adn. 17, 18. (4) Y mae yn canlyn fod yr Iesu wedi marw dros bawb, ac felly, os collir neb, bydd cyfrifoldeb eu colledigaeth yn gorphwys ar eu hysgwyddau hwy eu hunain; ond bu farw yn lle llawer, ac felly bydd y clod am gadwedigaeth y rhai a gredant i'w briodoli i'r Meichiau. Rhaid dàl ei fod wedi marw *yn mhlaid* pawb, canys y mae Paul yn dysgu hyny mewn geiriau diamwys (1 Tim. ii. 6); rhaid dàl hefyd ei fod wedi marw *yn lle*, nid pawb, ond llawer, canys y mae yr Iesu yn dysgu hyny (Matt. xx. 28). Ond beth a feddylir wrth "ddodi i lawr" (*tithēsin*) yr einioes? Dysga Godet a Westcott, gan mai yr un gair a ddefnyddir yma ag yn xiii. 4, mai y meddwl yw dodi heibio y corph fel dyn yn dodi heibio ei gochl. (2) Ond dàl Meyer mai ystyr arferol y gair yn y classuron yw dodi lawr fel pridwerth, ac felly mai yn yr un ystyr y dylid ei ddeall yma. Diamheu genym fod rhediad cyffredinol y paragraph yn ffafrio golygiad Meyer.

**ADN. 12. Eithr y gwas cyflog.** Yr un gair sydd yma am "was cyflog" ac a gyfieithir yn Marc i. 20 yn "gyflog-ddynion"; felly golygir un sydd yn bugeilio am dâl penodol. **Yr hwn nid eiddo y defaid.** Yn y Cyf. Diw. gadewir allan y geiriau, "a'r hwn nid yw fugail." Nid oes neb mor ofalus am eiddo pobl eraill ag am ei eiddo ei hun. **Sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadael y defaid, ac yn ffoi.** Mae yn meddwl mwy am y gyflog nag am y defaid, a mwy am ei fywyd nag am y gyflog. Pwy a bortreadir gan y gwas cyflog a chan y blaidd? (1) Etyb Godet fod y blaidd yn cynrychioli corph y Phariseaid, y blaid gryfaf yn y Sanhedrin, lluaws o ba rai oedd yn awr yn gwrandaw yr alegori,—dynion yn llawn cynddaredd a chreulondeb, yn ymosod ar "braidd bychan" yr Iesu, megis eu darlunir yn y benod flaenorol; a bod y gwas cyflog yn cynrychioli y nifer fechan o'r Phariseaid ag oedd yn bleidiol i'r Iesu yn ol ix. 16 a x. 21 a xii. 42, ond heb feddu gwroldeb eu hargyhoeddiadau. (2). Amheuwn ni, fodd bynag, gywirdeb yr egwyddor ddehongliadol sydd yn ysbrydoli pob ffugr mewn dameg neu alegori. Gan hyny, gwell genym edrych gyda Meyer ar y blaidd fel yn gosod allan pob gallu gwrth-Gristaidd ag sydd yn ymdrechu dinystrio yr eglwys, offeryn yn llaw y diafol yn hytrach na'r diafol ei hun; ac ar y gwas cyflog fel engraipht o'r bobl hyny sydd yn gweinidogaethu yn yr eglwys am gyflog ac nid oddiar awydd am achub eneidiau, y rhai a garant y gwlân yn fwy nag y carant y defaid, ac a roddant eu bryd yn fwy ar eu cneifio nag ar eu porthi. Gwnant "farsiandiaeth o ddynion" (2 Petr ii. 3),—carant ddelw Caesar yn fwy na delw Duw, a llawenychant yn fwy wrth weled delw y cyntaf ar aur neu arian na delw y diweddaf ar ysbryd a chymeriad. **A'r blaidd sydd yn eu hysglyfio hwy ac yn eu tarfu.** Fel yna yn y Cyf. Diw. Rhwyga y defaid a ddàl, a gwasgara gweddill. **Y mae yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw, ac nid oes ofal**

ac nid oes ofal arno am y defaid. Myfi yw y bugail da; 14
ac a adwaen yr eiddof fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddof
fi. Fel yr edwyn y Tad fyfi, felly yr adwaen innau y Tad: 15

---

**arno am y defaid.** Onid felly yr ydoedd ar Fryniau Cassia yn amser y cholera? Yr offeiriaid paganaidd yn ffoi i unigedd y mynyddoedd pan oedd y trigolion, druain, yn marw wrth y degau, ond Thomas Jerman Jones yn aros gyda'i ddyledswyddau yn y pentref ac yn gweini ar y cleifion ddydd a nos—arwredd mwy nag amddiffyn Mafeking! Gofal am danynt eu hunain oedd yn llywodraethu y blaenaf, gofal am y bobl oedd yn llywodraethu yr olaf.

**ADN. 14. Myfi yw y bugail da.** Ail-edrydd y frawddeg hon, er mwyn argraphu ei phwysigrwydd ar y meddwl, ac enwi nodwedd arall perthynol iddo. **Ac a adwaen yr eiddof fi.** Y gair am "adwaen" yma yw *ginōsko*, yn dynodi gwybodaeth yn ei gwedd gynyddol, fel canlyniad profiad a sylwadaeth, gwybodaeth sylfaenedig ar gymundeb. Gan fod yr Iesu yn Dduw gwyddai (*oida*) fel Duw; ond gan ei fod yn ddyn gwyddai hefyd (*ginōskein*) fel dyn. Adwaenai ei ddefaid, ac fel yr oeddynt hwy yn cynyddu mewn gras, yr oedd ei adnabyddiaeth yntau o honynt yn cynyddu yn gyfatebol. Na thybier fod y gair *ginōskein* yn awgrymu fod ei adnabyddiaeth unrhyw adeg yn anmherffaith, fod dirgelion yn perthyn i'r defaid na wyddai Efe am danynt; y meddwl yw fod cymesuredd perffaith rhwng cynydd gras o'u tu hwy a chynydd adnabyddiaeth o'i du Ef. **A'm heiddo i a'm hadwaenant inau.** Mewn amryw lawysgrifau y mae y ferf yn weithredol yn y frawddeg flaenorol, ac yn oddefol yn y frawddeg hon; ond y mae Tischendorf, Westcott a Hort wedi penderfynu, ar sail y llawysgrifau goreu, mai yn weithredol y dylasai y ferf fod yn y ddwy frawddeg, ac felly y ceir hi yn y Cyf. Diw. Y mae adnabyddiaeth o'r ddwy ochr, ond Efe sydd yn adnabod gyntaf, a ninau yn adnabod mewn canlyniad. "Y mae dechreuad daioni bob amser oddiwrth Dduw a Christ," ebe Bengel. A chan mai yr un gair sydd am "adwaen" o du Crist ac o du y defaid, y mae yr adnabyddiaeth o'r ddwy ochr yn gynyddol. Nid ydym ni yn ei adwaen Ef gystal ag y mae Efe yn ein hadwaen ni (Gal. iv. 9), ond y mae ein hadnabyddiaeth yn gywir mor bell ag y cyrhaedda.

**ADN. 15. Fel yr adwaen y Tad fyfi, felly yr adwaen inau y Tad.** Y mae yr atalnodiad arferol yn tueddu i gymylu y meddwl. Dilëer y *full stop* ar ddiwedd yr adnod flaenorol, ac yna ceir y darlleniad cywir: "Myfi a adwaen yr eiddo fi, a'm heiddo i a'm hadwaen inau, megis yr adwaen y Tad fi ac yr adwaen inau y Tad." Nid "megis" (*osper*) yn dwyn i mewn gydmariaeth, ond "megis" (*kathōs*) yn dynodi pattrwn neu esiampl. Y mae yr adnabyddiaeth dyblyg rhwng yr Arglwydd Iesu a'i bobl ar yr un pattrwn a'r adnabyddiaeth ddyblyg rhwng y Tad a'r Mab, ie, y mae y naill yn sylfaenedig ar y llall. Pa un ai adnabyddiaeth y Tad a'r Mab o'u gilydd yn y Drindod ai eu hadnabyddiaeth o'u gilydd yn y Drefn Gyfryngol a feddylir? Y mae y gair am "adwaen" (*ginōskein*) yn penderfynu y mater; adnabyddiaeth gynyddol ydyw, ac am hyny adnabyddiaeth yn y Drefn Gyfryngol. Y mae eu hadnabyddiaeth o'u gilydd yn y Drindod yn dragwyddol berffaith a diderfyn; ond

16 ac yr ydwyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid. A defaid
eraill sydd gennyf, y rhai nid ŷnt o'r gorlan hon: y rhai
hynny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a

---

y mae adnabyddiaeth y Tad o'r Mab yn y natur ddynol yn ngweithiad allan ffordd iachawdwriaeth, ac adnabyddiaeth y Mab ymgnawdoledig o'r Tad fel cynllunydd trefn yr achub yn gynyddol, yn ol dysgeidiaeth v. 19, 20 (gwel yno). Megis y mae rhyw gymundeb cynyddol a dirgeledig rhwng y Tad a'r Mab yn ei sefyllfa o ddarostyngiad, felly hefyd y mae rhyw gymundeb bywiol a dirgelaidd rhwng y Bugail da a'r defaid, yr hwn na ellir ei ddarnodi, ond a ellir ei brofi. Adnabyddiaeth gyfriniol ydyw na ellir ei thaflu i fold y dealldwriaeth—pe gallem ei hegluro ni fuasai yn gyfriniol mwyach. **Ac yr ydwyf yn dodi fy einioes i lawr dros y defaid.** Y mae hyn fel byrdwn yn yr anerchiad, megis y gwelsom yn vi. 39, 40, 44, ac yn dangos pwysigrwydd y gwirionedd a gynwysa. Ond beth yw y cysylltiad rhwng y gwirionedd am ei angeu a'r gwirionedd am yr adnabyddiaeth? (1) Y mae yr adnabyddiaeth ddyblyg rhwng y Tad a'r Mab yn profi fod ei angeu yn gyson a'r adnabyddiaeth hono, ie, yn ganlyniad iddi, megis pe y dywedai: Yr wyf yn adwaen cariad y Tad at y defaid, pa mor werthfawr yn ei olwg ydynt, a phâr hyn i mi roddi fy mywyd i lawr gyda chalondid ychwanegol. (2) Y mae yr adnabyddiaeth ddyblyg rhwng yr Iesu a'i bobl yn seiliedig ar ei angeu—cymundeb yn a thrwy yr Iawn ydyw.

**ADN. 16. A defaid eraill sydd genyf y rhai nid ŷnt o'r gorlan hon.** Pa uchaf yr esgyna, pellaf oll yr edrycha; o safle yr Iawn gwêl dros ben ffiniau cenedlaethol, a thora i lawr pob canolfur gwahaniaeth rhwng Iuddewon a Chenhedloedd (Eph. ii. 14). "Defaid eraill" pwy ydynt? (1) Etyb Paulus mai yr Iuddewon ar wasgar ydynt. (2) Ond gwell yn ddiau eu deall fel yn golygu credinwyr o blith y Cenhedloedd yn ol xii. 23—32. Nid oeddynt yn ddefaid, h.y., yn dduwiol ar y pryd, fel y gellid casglu oddiwrth amser presenol y ferf; ond yr oedd ganddo y fath sicrwydd y gwrandawent ar Ei lais fel y defnyddia y presenol i ddynodi y dyfodol. "Y rhai nid ŷnt o'r gorlan hon." (1) Mŷn De Wette ac eraill y dylai y pwyslais syrthio ar y rhagenw "hon"—"y gorlan *hon*," fel pe dywedasai, Y mae genyf gorlanau eraill yn mhlith gwahanol genhedloedd, pob cenedl â'i chorlan ei hun, ei heglwys ei hun, a dynion duwiol yn mhob corlan. (2) Ond barnwn ni mai nid ar "hon," ond ar "gorlan," y dylai y pwyslais syrthio—"defaid eraill sydd genyf, y rhai nid ŷnt o'r *gorlan* hon." Y mae Iuddewiaeth yn gorlan, dan ofal arbenig y Jehofah fel bugail ei braidd; ond y mae ganddo Ef, ac felly genyf finau, ddefaid heb fod mewn un corlan—defaid gwylltion y mynyddoedd, ar wasgar dros y gwledydd. Nid ydynt mewn un corlan eto; ond pan y clywant lais y Bugail da yn ngweinidogaeth yr Efengyl, hwy a ufuddhânt—hwy a adnabyddant Ei lais ac a'i dilynant. Yn ystod ei fywyd cyfyngai ei weinidogaeth ei hun ag eiddo ei apostolion at "gyfrgolledig ddefaid ty Israel" (Matt. x. 5); ond rhagwelai yr esgynai yn ei angeu uwchlaw pob gwahaniaeth gwladol a chrefyddol, ac y cynygid heddwch i'r rhai pell ac i'r rhai agos (Matt. xxi. 43; Eph. ii. 17). **Y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu harwain.** "Rhaid" *(dei)*, yn

wrandawant; a bydd un gorlan, *ac* un bugail. Am hyn y 17

golygu yma fel bob amser yn ysgrifeniadau Ioan ddwyfol raid—rhaid yn tarddu, nid o'r ddaear ond o'r nefoedd, nid o ewyllys dyn ond o'r bwriadau a'r cynlluniau dwyfol. "Rhaid" yn ol y rhaglen ddwyfol, rhaid dilyn y *programme*. Ac nid eu "cyrchu," ond eu "harwain" *(agagein)*—nid eu cyrchu i gorlan Iuddewiaeth, yn ol Tholuck, Hengstenberg, a Godet, ond myned o'u blaen fel bugail yn y lle y cartrefant. "Ni ddywed," ebe Bengel, "eu harwain hwy allan fel yn adn. 3, ond yn syml eu harwain. Ni raid iddynt newid tir." Pa bryd yr ä ar eu hol? Ar ol rhoddi ei einioes drostynt. Beth yw llyfr yr Actau a holl hanes y cenhadaethau byth ar ol hyny ond cyflawniad graddol o'r adnod hon? Yn mhob cenedl ceir dynion duwiolfrydig eu meddyliau, adnabyddant y dwyfol lais, a dilynant y Bugail i ba le bynag yr elo. Onid dyma y gwirionedd a ddysgid yn chwedl y duw Pan yn chwibanu cerddoriaeth trwy y corsenau *(reeds)*? Adwaen y defaid fiwsig y duwiau pan y clywant ef. **A bydd un praidd, un bugail.** Yn ol y Cyf. Diw.: *They shall become one flock, one shepherd*, yr hyn nis gellir ei roddi mewn priod-ddull Gymreig. (1) Nid un gorlan, ond un praidd. Dan yr Hen Oruchwyliaeth un gorlan oedd, sef yr Eglwys Iuddewig mewn ffurf gwladwriaeth, gyda chorph o reolau sefydlog fel clawdd o'i hamgylch; ond dan yr Oruchwyliaeth Newydd bydd llawer corlan, ond un praidd. Portreadid undod yr Eglwys Iuddewig gan un canhwyllbren a saith gainge iddo, yn arddangos undeb yr eglwys mewn un gwladwriaeth (Zech. iv. 1—10), ond portreadir yr Eglwys Gristionogol, nid gan un, ond gan saith ganhwyllbren,—cyfundrefnau eglwysig annibynol ar eu gilydd, ac yn cael eu hundeb, nid yn eu perthynas â'u gilydd, ond yn eu perthynas â'r Gŵr sydd wedi ymwisgo â gwisg laes hyd Ei draed, ac yn rhodio yn eu canol (Dat. i. 12—16). Llawer corlan (eglwys), ond un praidd (credinwyr). Camsyniad Eglwys Rhufain yw ymdrechu trwy deg a garw i gyfansoddi "Un Gorlan"—un gyfundrefn eglwysig o ran rheolau allanol; ond rhagoriaeth yr Eglwys Brotestanaidd yw ymdrechu cyfansoddi "Un Praidd"—un egwyddor ddwyfol ynddynt oll, yn dangos ei hun mewn bywyd duwiol a chysegredig, gan nad faint y mân wahaniaethau yn y trefniadau allanol. (2) Ac un Bugail. Rhagddywedwyd hyn gan y prophwydi: "Cyfodaf hefyd un bugail arnynt, ac efe a'u portha hwynt, sef fy ngwas Dafydd; efe a'u portha hwynt, ac efe a fydd yn fugail iddynt" (Ezec. xxxiv. 23). "A'r Arglwydd a fydd yn frenhin ar yr holl ddaear; y dydd hwnw bydd un Arglwydd a'i enw yn un" (Zech. xiv. 9). Meddai Bengel yn fyr a chynwysfawr: "O ran *hawl* yr Iesu bob amser yw yr unig fugail; trwy hawl ac mewn ffaith, gan hyny, Efe a ddaw i fod yr un." Yn raddol, gan hyny, y sylweddolir mewn hanes undod y Praidd ac undod y Bugail, fel y dengys y ferf *genēsetai—become*, dyfod i fod o radd i radd. Dechreuodd y drychfeddwl o undod yr Eglwys ac undod ei Phen gael ei sylweddoli yn Llyfr yr Actau pan y credodd y Cenhedloedd; sylweddolir ef fwy-fwy yn y canrifoedd presenol; a chyrhaedd ei gyflawn sylweddoliad yn nyfodiad i mewn gyflawnder y Cenhedloedd (Rhuf xi. 25). Nid oedd un gwirionedd yn taraw yn fwy newydd ar y meddwl Iuddewig na hwn; dyma a gyfansoddai "y dirgelwch" yr ymegnïai Paul ei ddehongli (Eph. iii. 3—6).

mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod i yn dodi fy einioes,

---

**ADN. 17. Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i.** "Am hyn" (*dia touto*),—am beth? Y mae yr ymadrodd am hyn bob amser yn ysgrifeniadau Ioan yn cyfeirio at osodiad blaenorol (v. 16, 18; viii. 47; xii. 18, 39; 1 Ioan iii. 1), ac felly rhaid y cyfeirir at gymeriad bugeiliol yr Iesu yn peryglu ei fywyd er mwyn y defaid. **Am fy mod yn dodi fy einioes fel y cymerwyf hi drachefn.** "Am" (*oti*): y mae yr *oti* yn eglurhad ychwanegol ar y *dia touto*. Dyma yr hyn a ddywedwyd yn adn. 16 yn cael ei helaethu. I'w hamgyffred yn briodol rhaid cadw dwy ran y frawddeg mewn cysylltiad anhydor a'u gilydd. "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod yn dodi fy einioes i lawr." Pe arosasai yn y fan yna, ni fuasai yn wirionedd, o leiaf ddim yn wirionedd cyflawn. Nid allasai y Tad nefol mwy na thad daearol garu ei Fab am farw fel y cyfryw, nis gallasai roddi ei gymeradwyaeth; ond os dilynwn y frawddeg i'w therfyn, cawn oleuni newydd ar y marw—nid marw fel *defeat*, ond marw fel buddugoliaeth; nid marw i ddifodiant, ond marw i adgyfodiad; ac felly marw i wneyd Iawn, ac adgyfodi i ddwyn yn mlaen ddybenion yr Iawn. Ond yn fwy penodol, beth yw y cysylltiad rhwng "dodi yr einioes i lawr" a'i "chymeryd hi drachefn," yr hwn a osodir allan yn y cysylltair "fel" (*hina*)? (1) Mŷn rhai mai canlyniad syml sydd yma, yr adgyfodiad yn dilyn yr angeu fel effaith yn dilyn yr achos: "gan ryddhau gofidiau angeu, canys nid oedd bosibl ei atal ef ganddo," (Act. ii. 24). (2) Cred Calfin a De Wette fod yr adgyfodiad yn amod yr angeu, Duw yn ei dra-derchafu fel gwobr am ei ufudd-dod hyd angeu, ie, angeu y groes (Phil. ii. 6—8). (3) Barna eraill, a dilynir hwy gan y diweddar Barch. Thomas James, M.A., yn ei bregeth ragorol ar yr adnod hon yn y *Welsh Pulpit of To-day* mai y meddwl yw, "Y mae fy Nhad yn fy ngharu i, oblegid wrth ymostwng i farw yn aberth dangosaf fod genyf ymddiried diderfyn yn fy Nhad y caf gyfodi o farw drachefn." Y Tad yn caru y Mab oblegid fod y Mab yn ngrym ei ymddiried yn y Tad yr adgyfodid Ef yn meiddio marw. (4) Ond ar y cyfan gogwyddwn at olygiad Stier a Meyer mai amcan y Mab wrth farw a fynegir yma,—bwriad yn gystal a chanlyniad. Dododd ei einioes i lawr, dyoddefodd ddirfawr boenau angeu; ond ni fuasai ei dodi i lawr heb ryw amcanion pellach ond gwastraff ar fywyd gwerthfawrocaf y cread. Ac yr oedd ganddo amcanion pellach, sef cadw bywyd y defaid; a'r unig unig ffordd i gadw eu bywyd hwy oedd dodi ei eisioes ei hunan i lawr er mwyn ymaflyd ynddi drachefn foreu y trydydd dydd. Rhaid gofalu peidio gwahanu yr angeu oddiwrth yr adgyfodiad.

Ond paham y dywedir fod y Tad yn caru y Mab oblegid iddo farw ac adgyfodi? Ai nid oedd yn ei garu er tragwyddoldeb? Yr ateb yw fod cariad Duw at ei Fab Ymgnawdoledig yn ddau-blyg, ac felly yn gorphwys ar sylfaen ddyblyg. (1) Y mae y Tad yn caru y Mab erioed, yn rhinwedd y Tragwyddol Genhedliad,—câr Ef a chariad anfeidrol, nis gall lai na'i garu. Ond cariad seiliedig ar "genhedliad" yw, cariad y Natur ddwyfol at y Mab, ac o ganlyniad cariad anghenrheidiol. Cariad Duw at bechaduriaid sydd gariad penarglwyddiaethol, yn tarddu o ewyllys Duw—gallasai Ef fod yn Dduw a pheidio ein caru ni; ond cariad Duw at ei Fab sydd gariad angenrheidiol, yn ffynhonellu, nid yn ei

fel y cymmerwyf hi drachefn. Nid oes neb yn ei dwyn 18
oddi arnaf fi: ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy

---

ewyllys, ond yn ei natur,—nis gallasai fod yn Dduw a pheidio caru ei Fab. (2) Yn yr adnod hon, fodd bynag, nid y cariad tragwyddol sydd ganddo mewn golwg, yn tarddu o natur Duw, ond y cariad cyfryngol sydd yn llifo o ewyllys Duw. Y mae cariad yr ewyllys yn ymuno â chariad y natur—y mae rheswm ychwanegol gan Dduw dros garu ei Fab; câr Ef yn awr nid yn unig am yr hyn *ydyw*, ond hefyd am yr hyn a *wnaeth*. Y mae y ffaith iddo farw ac adgyfodi –concwerio ei elynion a dychwelyd yn fuddugoliaethwr—yn creu edmygedd yn y Tad, ac yn atdynu ato gariad y Tad yn rhinwedd ei orchestion. Pa fodd y gellir egluro hyn? Dyna faban bychan chwe' mis oed: rhyfedd y cariad y mae y rhieni yn ei dywallt arno! Paham? A ydyw yn harddach na phlant eraill yr ardal? Os gofynir i'r cymydogion hwy a ysgydwant eu penau. A ydyw wedi gwneyd cymwynas â'i rieni fel ag i ddeffro eu diolchgarwch? Dim, ond eu cadw ar ddihun yn y nos pan y dylent orphwys. Pa esboniad ynte sydd i'w roddi ar eu cariad angherddol at y gwr bach? Yr unig eglurhâd yw eu calonau hwy eu hunain—cariad natur ydyw, cariad greddf, cariad heb achos iddo y tu allan iddo ef ei hun. Ond edrycher ar yr un bachgen pan yn chwech ar hugain oed. Y mae wedi dilyn yr ysgolion gyda dyfalwch; y mae wedi myned trwy ei yrfa athrofäol ac enill y gwobrau drutaf a medi anrhydedd uchaf y prif-ysgolion, trwy ludded caled a hunan-ymwadiad o bleserau lawer am flynyddoedd. Dychwela adref, a choron y brif-ysgol ar ei ben. Mor falch yw y tad heddyw o wrhydri ei fab! Carai ef yn angerddol er y ganed ef, ond cariad oedd hwnw a roddai yn rhad iddo yn annibynol ar haeddiant y gwrthrych; ond heddyw y mae ei gariad wedi ymloewi trwyddo,—y mae cariad ei reddfau wedi cyfnewid yn gariad ei ewyllys, oblegid y mae y bachgen wedi *enill* y cariad,—y mae yn ei deilyngu. Y mae y cariad tadol megis yn newid ei sylfaen—y mae yn cael ei reswm yn awr, nid yn natur y tad, ond yn nheilyngdod y mab. Syrthia pob cydmariaeth yn annhraethol fŷr o osod allan yn briodol y cariad dwyfol, anfeidrol; ac eto yn ngoleuni y gydmariaeth gellir gweled rhyw gymaint i ddirgelwch yr adnod hon. Cariad tragwyddol y Tad at y Mab, cariad angenrheidiol oedd yn tarddu o natur Duw, yn dylifo allan o'r greddfau dwyfol, os goddefir yr ymadrodd—nis gallasai lai na'i garu. Ond edrycher ar y Mab yn ei Ymgnawdoliad, ei Iawn, a'i Adgyfodiad: dyna Ef wedi gwneuthur gorchestion anhygoel—y gwaith anhawddaf yr ymgymerodd Duwdod ag ef erioed, gorchest annhraethol galetach na chreadigaeth y byd. Dyna Ef wedi cyfreithloni holl gariad ei Dad tuag ato: y cariad ag oedd yn wrthrych iddo erioed o angenrheidrwydd y Natur Ddwyfol, y mae yn awr wedi ei *enill*—y mae yn ei deilyngu. "Teilwng yw yr Oen." Y mae y cariad dwyfol wedi ei symud o randir rheidrwydd i randir rhyddid—*from the sphere of necessity to the sphere of liberty.* Y mae y Dwyfol Gariad wedi newid ei sylfeini.

**ADN. 18. Nid oes neb yn ei dwyn oddiarnaf fi.** Mewn rhai hen lawysgrifau darllenir yn yr amser gorphenol, "Ni ddygodd neb hi oddiarnaf fi;" a dyna y darlleniad y dadleua Westcott a Hort drosto, ac a gyfleir ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw. (1) Os mabwysiedir

hun. Y mae gennyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae

---

darlleniad Westcott a Hort, rhaid fod y cyfeiriad at rywbeth cyn yr Ymgnawdoliad, ac a gymerodd le yn y "Cynghor Hedd a fu rhyngddynt eill dau." Ni osododd y Tad yn nhragwyddoldeb un gorfodaeth ar y Mab i ymgymeryd â'r swydd Gyfryngol—nis gorfododd Ef i fod yn Iachawdwr; ni ddygodd ei fywyd oddiarno mewn arfaeth a chynllun. Ymgymerodd â'r gwaith o achub o'i fodd. (2) Ond gwell genym ni y darlleniad arferol, yn yr amser presenol. "Yr wyf yn myned i farw," fel pe dywedasai, "ond nid o orfodaeth o un cyfeiriad, nac o'r nefoedd nac o'r ddaear nac o uffern." Fan hyn y mae yr elfen wahaniaethol yn ei farwolaeth Ef yn dyfod i mewn. Os oedd bugeiliaid Palestina yn marw weithiau dros y defaid, nid marw o'u bôdd yr oeddynt, ond marw yn yr ymdrech i fyw, marw am fod y blaidd yn eu gorthrechu, yn erbyn eu hewyllys, dan orfodaeth. Eithr nid felly yr Arglwydd Iesu—nid oedd un gallu yn dwyn ei einioes Ef oddiarno. **Ond myfi sydd yn ei dodi i lawr o honof fy hun.** "Ni ddichon y Mab wneuthur dim o hono ei hun," meddai yr Iesu yn v. 19; ac eto yma y dywed ei fod yn gwneuthur gweithred fwyaf ei hanes "o hono ei hun." Ond nid oes dim anghysondeb, dwy ochr yr un gwirionedd a gyfleir. Fel Cyfryngwr nid oedd yn gwneuthur dim o hono ei hun; derbyniodd orchymyn ei Dad i farw, yn ol brawddeg olaf yr adnod hon. Ar y llaw arall, yr oedd ei holl ewyllys bersonol yn y gwaith, dyma y swydd yr oedd holl dueddfryd ei natur tuagati erioed. Mor brydferth pan y mae y chwaeth bersonol a'r dyledswyddau swyddol yn rhedeg yn yr un sianel! Yr oedd ei wirfoddolrwydd yn gymaint a phe na bai rhwymedigaeth; ar y llaw arall, yr oedd y rhwymedigaeth mor llwyr a phe na byddai gwirfoddolrwydd. Yr oedd yr anianawd bersonol a'r rhwymedigaeth swyddogol yn cyfeirio at yr un gwaith—achub byd euog a damniol!

**Y mae genyf hawl i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf hawl i'w chymeryd hi drachefn.** Yr un gair (*exousia*) sydd yma am "feddiant," yn ol y darlleniad Cymraeg, ag yn i. 12, am "allu." Nid oes un gair yn y Gymraeg na'r Saesonaeg yn gyfystyr hollol iddo; golyga hawl, awdurdod, a gallu. Hawl, feallai, yw yr agosaf, ond heb gau allan y syniad o allu. (1) Yr oedd gan yr Iesu hawl gyfreithlon ar ei fywyd, i wneyd ag ef fel ag yr ewyllysiai. Nid oes genym ni hawl ar ein bywyd; oherwydd paham pechod yw hunan-laddiad mewn creadur. Ymddiriedaeth yw ein bywyd ni—*trust*; ac nid oes gan ymddiriedolwyr (*trustees*) hawl i wneuthur â meddiannau fel y mynant—y maent yn gyfrifol i allu uwch am y defnydd a wnânt o honynt. Derbyn bywyd y mae creadur i'w ddefnyddio, nid yn ol ewyllys yr hwn sydd yn ei dderbyn, ond yn ol ewyllys yr Hwn sydd yn ei roddi,—rhaid i ni roddi cyfrif o'n goruchwyliaeth. Ond yr oedd yr Iesu yn feistr ar ei fywyd, a chanddo hawl wreiddiol iddo; a mwy—yr oedd ganddo hawl Gyfryngol iddo, a'r hawl hon sydd yma yn benaf mewn golwg. Ond anmhosibl fuasai rhoddi iddo hawl Gyfryngol ar ei fywyd onibai am yr hawl wreiddiol, ddwyfol; nis gellir trosglwyddo hawl ar ei fywyd i greadur—y mae y syniad yn dwyn *contradiction* ynddo ei hun. Yma, fodd bynag, hòna Crist iddo ei hun, yn ei gymeriad fel Gwaredwr, awdurdod gyfreithlawn, annibyniaeth trylwyr, yn y defnydd a wna o'i fywyd. Hyn a'i galluoga i roddi ei fywyd

gennyf feddiant i'w chymmeryd hi drachefn. Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad.

---

yn lle bywyd ei bobl. Bu farw o'i wir ewyllys. Goddefol yw pawb eraill wrth farw; ond hyd yn nod y pryd hwnw yr oedd yr Iesu yn rhydd-weithredydd, ie, yr oedd yn fwy gweithredol wrth farw nag wrth fyw—yn ei farw daeth anfeidroldeb ei allu i'r golwg. Marw o wendid y mae pawb eraill, ond marw mewn nerth a wnaeth Ef, canys fel y dywed Bengel, "ar y groes anfonodd allan ei ysbryd nid mewn gwendid ond gyda bloedd." "Derbyn fy ysbryd," meddai Stephan, pan dan y gawod geryg; ond "*gorchymyn* ei ysbryd" i ddwylaw ei Dad a wnaeth yr Iesu. Gogwyddo eu penau ar *ol* marw a wna dynion, ond gogwyddo ei ben *cyn* marw a wnaeth yr Iesu,—"Efe a ogwyddodd ei ben, ac a roddodd i fyny yr ysbryd." "Ei arwain i Galfari fryn, A'i hoelio ar Groesbren o'i fodd"—o'i fodd! (2) Y mae yn llawn mor wir iddo adgyfodi ei hun. Mewn un ystyr y Tad a'i hadgyfododd; mewn ystyr arall yr Ysbryd a'i hadgyfododd; ond mewn ystyr arall, llawn mor wirioneddol, adgyfododd ei hun.

**Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad**. Pa orchymyn? Y gorchymyn i farw ac adgyfodi. Wedi hòni ei berffaith ryddid a'i feddiant llawn o hono ei hun, yma dysga ochr arall y gwirionedd, sef fod ei fywyd a'i angeu yn waith o ufudd-dod—ufudd-dod i orchymyn ei Dad. Pa beth yr ydym i'w ddeall wrth y gorchymyn hwn? (1) Etyb Godet mai deddf bywyd—marw er mwyn byw; hunan-ymwadiad, hunan-aberthiad fel egwyddor ddyfnaf bywyd. Dilys genym fod yr oll a ddywed Godet am ddeddf sylfaenol bywyd moesol, a mwy nag a ddywed efe, yn wirionedd. Deddf sylfaenol pob bywyd rhesymol, meidrol ac anfeidrol, yw hunan-aberthiad. Y mae y ddeddf hon yn egwyddor yn Nuw—hunan-aberthiad yw gallu llywodraethol y bywyd dwyfol, Oen wedi ei ladd sydd yn ngwaelod yr Hanfod. Dyna hefyd ddeddf y bywyd moesol, meidrol—nid hunan, ond diddymiad hunan. Ond os dyna yr oll a feddylir wrth y "gorchymyn" yn y fan hon, yna nid oedd Efe dan un rwymedigaeth nad oedd y Tad a'r Ysbryd dani, canys dyna ddeddf eu bywyd hwy hefyd; ie, nid oedd dan un rwymedigaeth nad oedd pawb, dynion ac angelion, dani. Felly yr unig wahaniaeth rhyngddo Ef a ni yw, ei fod Ef yn ffyddlawn i'w rwymedigaeth tra ein bod ni wedi troi yn fradwrus iddi. (2) Casglwn, gan hyny, fod yr eglurhad yna yn annigonol. Sylwer mai nid deddf *(nomos)* yw y gair, egwyddor bywyd, ond "gorchymyn" *(entole)*, rhyw ddatganiad pendant, mor bendant a'r "gorchymyn" *(entole)* yn Rhuf. vii. 8, "Na thrachwanta." Y mae yn orchymyn penodol na roddodd y Tad i neb ond i'r Mab. Gwnaed Ef o wraig, a gwnaed Ef dan y ddeddf fel ninau; ond yr oedd Ef dan ryw ddeddf ychwanegol, yr hon nad oeddym ni dani, derbyniodd orchymyn pendant i brynu bywyd y byd, gorchymyn na dderbyniodd neb arall yn y cyfanfyd mawr, nac angel na dyn. Y gorchymyn hwn oedd yn gwneuthur ei farwolaeth Ef yn ufudd-dod, ac felly yn haeddiannol o wobr: pe heb y "gorchymyn hwn" anufudd-dod a fuasai ei angeu, a haeddiannol, nid o wobr, ond o gosb. Yn llywodraethau y ddaear trosedd ydyw i neb fyned i garchar neu grogbren *yn lle* y troseddwr, ac y mae yn drosedd

19 Yna y bu drachefn ymrafael ym mysg yr Iuddewon, am
20 yr ymadroddion hyn. A llawer o honynt a ddywedasant,
Y mae cythraul ganddo, ac y mae efe yn ynfydu: paham y
21 gwrandêwch chwi arno ef? Eraill a ddywedasant, Nid
yw y rhai hyn eiriau un a chythraul ynddo. A all cythraul
agoryd llygaid y deillion?
22 Ac yr oedd y gyssegr-wyl yn Jerusalem, a'r gauaf oedd

---

cospadwy; a rhaid oedd i'r Iesu wrth "orchymyn" ei Dad i gyfreithloni i farwolaeth Ef yn lle ei bobl. Heb y "gorchymyn" hwn nid Iawn a fuasai angeu Calfaria, ond *crime!* Nid ar arddodeiriau y rhoddodd Duw athrawiaeth yr Iawn i orphwys, ond ar haenau dyfnaf adnodau mawr y Test. Newydd. Pe na ddefnyddiasid un o'r arddodeiriau, *anti* a *huper*, arosasai athrawiaeth yr Iawn yr un, a hwnw yn Iawn meichniol.

YMRAFAEL YN MHLITH Y PHARISEAID. ADN. 19—21.

**ADN. 19. Cododd ymrafael drachefn yn mhlith yr Iuddewon.** "Ymrafael" = rhwyg, *schism*. Darllenwn yn vii. 43 am ymrafael yn mhlith y bobl; ac yn ix. 6 am ymrafael yn mhlith yr Iuddewon; ac yma cododd ymrafael drachefn rhwng arweinyddion crefyddol y genedl. Ni ffynai unfrydedd barn yn eu plith. Yr achos o'r ymrafael oedd gwahaniaeth barn am synwyroldeb y bregeth ag oeddynt newydd wrandaw.

**ADN. 20. A llawer o honynt a ddywedasant.** Dyma y mwyafrif. **Y mae cythraul ganddo, ac y mae efe yn ynfydu.** Cyhuddent y pregethwr o wallgofrwydd, a'r gwallgofrwydd yn codi nid o afiechyd ond o ddrygioni. Gwel ar vii. 20, viii. 48. **Paham y gwrandewch chwi arno ef?** Cwestiwn ag sydd yn awgrymu fod y bregeth yn gwneyd argraph ddofn ar y gynulleidfa.

**ADN. 21. Eraill a ddywedasant.** Dyma y lleiafrif bach; ond er eu bod yn bleidiol i'r Iesu, nid ydynt yn meddu ar wroldeb i sefyll i fyny yn gadarn dros ei argyhoeddiadau. Hyn a barodd i Godet eu hunaniaethu â'r "gwas cyflog" yn adn. 12. **Nid yw y rhai hyn eiriau un a chythraul ynddo.** "Cythraul ganddo," meddai ei elynion; "cythraul ynddo," meddai y bobl hyn. A oes gwahaniaeth? Hwyrach fod. Y mae fod cythraul mewn dyn yn ddigon drwg; ond y mae fod cythraul gan ddyn yn waeth. Ond y tebyg yw, er fod gwahaniaeth yn y brawddegiad nad oes wahaniaeth yn y meddwl. Nid yw yn llefaru fel dyn gwallgof na dyn drwg, meddai y rhai hyn. **A all cythraul agoryd llygaid y deillion?** Y mae natur y weithred yn gofyn ffynhonell gyfatebol. Yn sicr y mae y cysylltiad agos sydd rhwng y geiriau a iachâd y dyn a anesid yn ddall yn ffafrio y golygiad fod y bregeth hon wedi ei thraddodi yn uniongyrchol ar ol cyflawniad y wyrth.

YR ANERCHIAD YN Y GYSEGR-WYL. ADN. 22—30.

**ADN. 22. Ac yr oedd y Gysegr-ŵyl yn Jerusalem.** Y mae dau ddarlleniad i'r frawddeg hon. (1) Y cyntaf fel yn y Cyf. Cymraeg: "Ac yr oedd y Gysegr-ŵyl," neu "cymerodd y Gysegr-ŵyl le yn Jerusalem." Dyma y darlleniad a fabwysiedir yn nghorph y Cyf. Diw.

Yn ol y darlleniad hwn cymerodd holl ddygwyddiadau pen. vii., viii., ix., a x. hyd yr adnod hon le yn Ngŵyl y Pebyll, gan adael dau fis o amser rhwng yr adnod flaenorol o'r adnod hon. (2) Ond dadleua Westcott a Hort, ar sail hen lawysgrifau, mai y darlleniad priodol yw, "Y pryd hwnw yr oedd y Gysegr-ŵyl yn Jerusalem." Os dyma y darlleniad cywir, rhaid fod Westcott yn iawn pan yn dàl mai nid yn Ngŵyl y Pebyll, ond yn y Gysegr-ŵyl, y cymerodd le yr hanes a groniclir yn pen. ix. a x. Ymddengys i ni fod y profion allanol yn ffafrio golygiad Westcott, ond fod y profion tufewnol (sef y cysylltiad geiriol a thestynol sydd rhwng y penodau a'u gilydd) yn gogwyddo yn mhlaid y farn gyntaf. Gan y cymerai Gŵyl y Pebyll le yn niwedd Hydref a'r Gysegr-ŵyl yn niwedd Rhagfyr, gosodir gofod o ddeufis rhwng yr adnod flaenorol a'r adnod hon. Pa le y treuliodd yr Iesu y ddeufis hyn? (1) Barna Bengel, Tholuck, Olshausen, Stier, a Meyer iddo eu treulio yn Jerusalem, yr hyn a ymddengys i ni yn dra annhebyg, gan na adawodd ei weinidogaeth yno yn y cyfnod yma yr un argraff ar ei hol. (2) Oherwydd paham barna mwyafrif yr esbonwyr iddo eu treulio yn Galilea, mewn llafur gweinidogaethol a threfniadol (*organising*) didor. Dyma yr adeg, wrth pob tebyg, y cymerodd le y dygwyddiadau a groniclir yn Luc x., xi., xii., xiii. 23.

Beth oedd y Gysegr-ŵyl? Y gwreiddiol yw *egkainia* adnewyddiad, sef cysegriad adeilad ar ei adnewyddiad i wasanaeth Duw, a defnyddir ef hyd y dydd heddyw yn yr eglwysi esgobyddol am "gysegriad" eglwys. Ond Gŵyl i gadw mewn coffadwriaeth pa gysegriad ydoedd? Cawn hanes am dri chysegriad i'r Deml. (1) Cysegriad teml Solomon, yr hyn a gymerodd le yn mis Ethanim, sef diwedd Medi neu ddechreu Hydref (1 Bren. viii. 2). (2) Cysegriad teml Zorobabel ar ol dychweliad y gaethglud o Babilon, yn mis Adar, yn cyfateb i ddiwedd Chwefror neu ddechreu Mawrth (Ezra vi. 15—22). (3) Ail gysegriad y deml hon yn 164 C.C., ar yr ugeinfed dydd o fis Chisleu, yn cyfateb i Rhagfyr 25ain (1 Macc. iv. 52—59). Yr oedd Antiochus Epiphanes, brenin creulon ac annuwiol Syria ond o waed Groegaidd, wedi halogi Teml yr Arglwydd trwy osod i fynu eilundduw uwchben y Drugareddfa, rhwng y Cerubiaid, a thrwy daenellu ar hyd-ddi gawl o gig moch, ffieidd-dra yr Israel, yr hyn a fawr gythruddodd deulu y Maccabeaidd (maccabead morthwyliwr, *hammerer*) nes codi o honynt wrthryfel yn erbyn gormes y gelyn; ac ar ol tair blynedd o forthwylio arno, llwyddasant o'r diwedd i'w yru allan o'u terfynau, a chynaliasant ŵyl fawr i buro y Deml ar ol ei halogiad dychrynllyd. Cydsaif hyn a'r nodiad dilynol mai "y gauaf oedd hi." "Nis gellid cadw gwyliau y Pasg, y Pentecost, a'r Pebyll," ebe Dr. John Lightfoot, "ond yn Jerusalem; ond gellid cadw yr *Encenia* (y Gysegr-Ŵyl) yn mhob tref trwy yr holl wlad." Felly gallasai yr Iesu gadw yr ŵyl hon yn y wlad, ond barnodd yn ddoeth i ddyfod i Jerusalem i gael un cynyg ychwanegol ar argyhoeddi y penaethiaid crefyddol, cynrychiolwyr y genedl. Er mai gŵyl o sefydliad dynol ydoedd, eto derbyniodd barch ar law yr Iesu, ac ar y ffaith hon sefydla Hooker ddadl y dylesid parchu sefydliadau o osodiadau dynol ag sydd yn cadw mewn cof waredigaethau hynod yn hanes eglwys neu genedl. **Y gauaf oedd hi.** Gadawer allan y cyplysair "a," gan mai eglurhâd yw y frawddeg hon ar yr hyn sydd yn dilyn yn fwy nag ar yr hyn sydd yn blaenori. Pa amcan sydd i'r gosodiad hwn? (1) Mŷn Lampe mai y

23 hi. Ac yr oedd yr Iesu yn rhodio yn y deml, ym mhorth
24 Solomon. Am hynny y daeth yr Iuddewon yn ei gylch ef,
ac a ddywedasant wrtho, Pa hyd yr wyt yn peri ni ammeu?
25 os tydi yw y Crist, dywed i ni yn eglur. Yr Iesu a atteb-

---

meddwl yw, "Ac yr oedd hi yn auaf," gan gyfeirio at ansawdd yr hîn yn hytrach na thymor y flwyddyn. Gall fod yn dywydd gauafaidd heblaw yn y gauaf. (2) Dàl Luthardt mai ei ddyben yw dangos teimlad angerddol yr Iesu am droedigaeth y penaethiaid—ni chai hyd yn nod dywydd oer a gerwin y gauaf ei gadw o'r deml—rhaid oedd iddo rybuddio y Phariseaid ac ymresymu â hwy tra yr oedd y gobaith lleiaf am eu hargyhoeddiad. (3) Meyer ac Alford a gredant fod Ioan yn nodi tymhor y flwyddyn er goleuo ei ddarllenwyr Cenhedlig. Ond paham y noda amser yr ŵyl hon, er eu hadeiladaeth, yn fwy na thymor y gŵyliau eraill, y rhai oedd yn llawn mor anadnabyddus iddynt, os dyna yr unig neu y prif amcan? (4) Oherwydd paham barn y mwyafrif yw y nodir mai y gauaf ydoedd i gyfrif am y ffaith a groniclir yn yr adnod nesaf, sef fod yr Iesu yn rhodio yn mhorth Solomon, porth o dan dô, ac felly yn gysgodol rhag y gwynt a'r gwlaw.

ADN. 23. **Ac yr oedd yr Iesu yn rhodio yn y deml yn mhorth Solomon.** Rhodio ol a blaen, rhodio oddiamgylch (*periepatei*). Ymddengys mai oriel ardderchog ydoedd, ar du dwyreiniol y deml, ac yn ffinio ar ddarn o deml wreiddiol Solomon, ac iddi dair rhes o golofnau, 5 troedfedd o uchder, a phob un o'r colofnau yn faen caboledig o farmor gwyn; rhwng y colofnau rhedai dwy rodfa, 30 troedfedd o led bob un; a'r llawr oedd o gerryg amryliw (*tesselated pavement*), a'r nenfwd o goed cerfiedig. Am mai y gauaf ydoedd cedwid y cyhoedd ymaith gan yr oerni, a rhodiai yr Iesu ol a blaen i gadw ei hunan yn gynhes. Hoff oedd gan yr Apostolion bregethu yn yr oriel hon (Act. iii. 11 a v. 12), ac yma, y mae yn debyg, y disgynodd yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost. Lle bu farw yr Eglwys Iuddewig, ac y gwrthododd yn bendant dderbyn yr Iesu fel Messiah yn ei gynyg olaf iddynt fel ei cofnodir yn y benod hon, yno, y mae yn sŷn adrodd, y ganwyd yr Eglwys Gristionogol.

ADN. 24. **Am hyny y daeth yr Iuddewon yn ei gylch Ef.** Nid ato Ef, ond yn ei gylch Ef. *They ringed him round*—ffurfiasant gylch o'i amgylch fel nas gallasai ymgilio. Tybia Godet iddynt wahanu rhyngddo Ef a'i ddysgyblion. Cymerodd yr Iuddewon hyn, Phariseaid swyddogol y deml yn ddiddadl, fantais ar absenoldeb y bobl i'w amgylchynu. **Ac a ddywedasant wrtho, Pa hyd yr wyt yn peri i ni amheu?** Y mae y gair gwreiddiol (*aireis*), a gyfieithir yma yn "amheu," fel y gwelsom ar i. 29, yn golygu dwyn, dal i fynu, ac felly cadw y meddwl mewn ystad o bryder a chyffro; ac yn unol a hyn darllena y Cyf. Diw., *How long dost thou hold us in suspense?* Teimlent fel yn hofran yn yr awyr,—nid oedd eu traed yn cyffwrdd daear galed, *swingient* fel pendyl o un ochr i'r llall. **Os tydi yw y Crist dywed i ni yn eglur.** Y pwyslais ar "tydi." Beth oedd yn cymhell y Phariseaid hyn i ofyn y fath gwestiwn iddo? (1) Etyb rhai mai dybenion drwg oedd ganddynt mewn golwg, sef ei faglu yn ei ymadrodd, ei dynu i gyfaddef mai Efe oedd y

odd iddynt, Mi a ddywedais i chwi, ac nid ydych yn credu.
Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthnr yn enw fy
Nhad, y mae y rhai hynny yn tystiolaethu am danaf fi.
Ond chwi nid ydych yn credu: canys nid ydych chwi o'm 26

---

Messiah, a thrwy hyny ei gyhuddo o wrthryfel yn erbyn Rhufain (Luc. xx. 67). (2) Cred eraill fod ganddynt amcan mwy clodwiw, sef y dymunent ar Wyl y Cysegriad, pan oedd adgofion byw am Judas Maccabeus, Judas y Morthwyliwr, yn ymferwi yn meddwl y genedl, yr hwn a forthwyliodd y llywodraeth Syriaidd dramor yn deilchion,—ar iddo Yntau gyhoeddi ei hunan fel amddiffynydd ei genedl a dymchwelyd yr Eryr Rhufeinig ag oedd yn chwifio ei adenydd o'r castell ar ben mynydd Seion. Boddlon oeddynt i'w dderbyn fel Messiah—y Messiah politicaidd a bortreadent hwy o flaen eu meddyliau—ond iddo gyhoeddi hyny yn eglur. (3) Ond ein tyb ni yw na allent eu hunain ddadelfenu eu teimladau a'u cymhellion. Gwelsant yr Iesu wrtho ei hunan, neu o leiaf neb ond Efe a'i ddysgyblion; rhuthrasant arno mewn teimladau cymysg. Cashâent Ef, proffesent sicrwydd argyhoeddiad mai o ddiafol y derbyniai ei ysbrydoliaeth; ac eto yr oedd mwy o ddewrder yn eu geiriau nag yn eu cydwybodau. Cyfodai y cwestiwn o hyd, Beth os ydym yn cyfeiliorni? Beth os Efe yw Eneiniog Duw? Mae ei weithredoedd yn rhyfedd, ei Hunan yn ddirgelwch, beth ——? Ni allasent fod yn dawel; yr oedd o'u mewn swn ymsyniad o ryw drychineb yn neshau fel môr yn dygyfor cyn cyrhaedd o'r storom. Câs ar un llaw, ofn ac amheuaeth ar y llaw arall.

**ADN. 25. Yr Iesu a atebodd iddynt, Mi a ddywedais i chwi, ac nid ydych yn credu.** Ni ddywedodd yn uniongyrchol megis y gwnaeth i'r wraig o Samaria (iv. 26), ac i'r dyn a anesid yn ddall (ix. 37), ond eto yn anuniongyrchol trwy yr honiadau uchel a wnai. Camarweiniol hollol fuasai iddo ddywedyd wrth y Phariseaid hyn, Ie, Myfi yw y Messiah, gan y buasai y term Messiah yn golygu iddo Ef waredwr oddiwrth bechod, ond iddynt hwy wrthryfelwr yn erbyn Rhufain. Yr oedd wedi rhoddi profion (*evidences*) iddynt; a phan oedd profion yn ffaelu, pa les a wnai haeriad? I ffydd yr oedd ei bregethau a'i wyrthiau yn ddigon o brofion mai anfonedig y nefoedd ydoedd; i ragfarn nid oedd dim profion yn ddigonol. **Ac nid ydych yn credu.** Yn eu cwestiynau yn yr adnod flaenorol taflent hwy y bai ar yr aneglurder a nodweddai ei ddysgeidiaeth Ef; yn ei ateb tafl Ef y cyfrifoldeb ar eu hanghrediniaeth hwy. I ddynion yn dymuno credu y mae gan Gristionogaeth brofion ddigon o'i dwyfoldeb; i ddynion sydd yn dymuno anghredu nid oes ganddi brofion o gwbl. **Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur yn enw fy Nhad** —nid yn fy enw fy hun fel pe yn ceisio gogoniant i mi fy hun—**y mae y rhai hyny yn tystiolaethu am danaf fi.** Pwyslais ar y "fi" a'r "rhai hyny." "Y gweithredoedd": diau mai y gwyrthiau a olygir yn benaf, mawredd y rhai a ddangosant allu dwyfol, a'u cymeriad ddaioni dwyfol. Pa beth mwy sydd bosibl i brofi dwyfoldeb cenhad a chenhadwri nag anfeidrol allu mewn glân briodas ag anfeidrol ddaioni?

**ADN. 26. Ond y chwi nid ydych yn credu.** Y "chwi" yn bwysleisiol. **Canys nid ydych chwi o'm defaid i, fel y dywedais i chwi.**

27 defaid i, fel y dywedais i chwi. Y mae fy nefaid i yn
gwrandaw fy llais i; a mi a'u hadwaen hwynt, a hwy a'm
28 canlynant i: A minnau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd
tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb

---

(1) Os yw y frawddeg olaf—"fel y dywedais i chwi"—yn ddilys, diau y dylid ei chysylltu â'r adnod hon, ac nid â'r adnod ganlynol megis y dadleua rhai. Yn mha le y dywedodd? Yn nechreu y benod, yn namheg y Bugail Da. Nid yw yr Iesu byth yn dyfynu ei eiriau blaenorol, ond y gwirionedd blaenorol,—ffaith ag y mae anghof o honi yn peri dyryswch lawer i'r beirniaid. Diamheu fod yr Iesu, gan mai swyddogion y deml ac aelodau y Sanhedrin oedd yn ei amgylchynu yn awr, yn adwaen lluaws o honynt wrth eu gwedd, ac yn cofio eu bod yn flaenllaw yn y dadleuon a ganlynodd iachad y claf ar lan llyn Bethesda (v.) ac adferiad golwg i'r dyn a anesid yn ddall (ix)—yr un gynulleidfa yn sylweddol oeddynt; a pha annaturioldeb sydd iddo gyfeirio at ei anerchiad y pryd hwnw? (2) Ond y mae lluaws o'r llawysgrifau goreu, ac yn eu plith y rhai Sinaitaidd a Vaticanaidd, yn gadael y frawddeg allan, a dilynir hwy yn y Cyf. Diw. I'n bryd ni y mae y profion o blaid ac yn erbyn yn dra chyfartal; gan hyny, gadawn hi i mewn. Y rheswm nad oeddynt yn credu oedd am nad oeddynt o nifer y defaid, canys yr oedd y defaid yn adnabod ei lais ac yn cydymdeimlo â'r gwirionedd a draethai—caent y *credentials* o'i ddwyfol anfoniad nid mewn *parchment* na haeriad, ond yn adlais ei natur foesol i'w eiriau. Nid oedd y Gareg Ateb yn eu calonau hwy; neu o leiaf boddent ei hadlais yn swn byddarol cnawdolrwydd. Ni chredent oblegid fod anian y praidd yn eisieu.

**ADN. 27. Y mae fy nefaid i yn gwrandaw fy llais i, &c.** Sylwer ar fynychiad yr "ac" yn yr adnod hon a'r un ddilynol, ac fel y mae y mynychiad yn ymddyrchu hyd at arddunedd. Darllener y ddwy adnod gyda sylw arbenig ar y cysylltair. Yma â yr Iesu yn mlaen i enwi y nodau sydd yn gwahaniaethu ei ddefaid Ef oddiwrth bobl anhywaith fel y Phariseaid. (1) Gwrandawant ei lais, adwaenant y ddwyfol dinge er nas clywsant hi erioed o'r blaen. (2) Adwaena yntau hwythau—symud ei natur Ef tuagatynt hwy megis yr ymbalfala eu natur hwy yn ei gyfeiriad Ef—y mae *magnetism* moesol cydrhyngddynt. (3) Canlynant Ef, h.y., y mae y teimlad tufewnol yn arwain i ufudd-dod allanol. Nid oes dim gwahaniaeth pa rwystrau sydd ar y ffordd—esgymundod gan gymdeithas megis yn achos y dyn dall, ond canlyn a fynant. Dilynant y Dwyfol Lais er gwaethaf holl ddeniadau cnawd a byd.

**ADN. 28. A minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol.** "A minau" *(kago)*,—y mae y cysylltair cyfansawdd yn dangos yr atdyniad cryfaf rhwng yr adnod hon a'r un flaenorol. Wedi enwi nodau y defaid, aiff yr Iesu yn mlaen yn yr adnod hon i enwi ei nodau ei hunan fel Bugail Da. (1) "Minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol." Nid a roddaf yn y dyfodol, ond wyf yn rhoddi. Nid addewid o fywyd yn y byd a ddaw, ond rhodd o fywyd yn y byd hwn; ond oherwydd mai bywyd yw y rhodd, perthyn cynydd iddo. Bywyd tragwyddol yn ei elfenau cyntaf sydd yma, bywyd tragwyddol yn ffrwythau llawn addfed sydd draw; ond dadblyga y ffrwythau yn y nefoedd i gyd o'r hadau sydd ar y ddaear yn awr. (2) **Ni chyfrgollant byth.** Sicrha nad ânt ar

hwynt allan o'm llaw i. Fy Nhad i, yr hwn a'*u* rhoddes 29
i mi, sydd fwy na phawb: ac nis gall neb *eu* dwyn

---

ddisperod fel ag i gael eu colli. Yn y gwreiddiol gesyd yr Iesu ddau nacâd er cryfhau y gosodiad, megis pe y cyfieithid, Ni chyfrgollant byth bythol. Mae'r atdyniad sydd ynof fi yn gryfach na'r dueddfryd naturiol sydd ynddynt hwy i grwydro. Ni fydd i bechod eu calonau byth beri iddynt grwydro mor bell a cholledigaeth—cyfrgolli trwy bechod tufewnol a feddylir. (3) **Ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i.** Nid yn unig nid oes gallu pechadurus y tu fewn iddynt eu hunain i'w harwain i ddinystr, ond nid oes yr un gallu gelyniaethol y tu allan ychwaith a fedr eu niweidio. *Neb*, na lladron na bleiddiaid, na dynion na diafliaid. Yr un gair (*arpazei*) a gyfieithir yma yn "ddwg" ag a gyfieithir yn adn. 12 yn "ysglyfio"; yn ol y Saesonaeg, "*snatch*."

Gwêl Bengel yn brydferth iawn dair cyfatebiaeth rhwng tri nod y defaid yn adn. 27 a thri nod y Bugail yn adn. 28, fel y canlyn :—

| Y DEFAID. | Y BUGAIL. |
|---|---|
| (1) Y mae y defaid yn gwrandaw fy llais i. | =A mi a'u hadwaen hwynt. |
| (2) A hwy a'm canlynant i | =A minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol. |
| (3) Ac ni chyfrgollant byth | =Ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i. |

Ond gwell gan Luthardt eu dosranu yn ddau ddosbarth, fel y canlyn er mai ychydig sydd yn ei ddilyn :—

(1) *Y defaid*: Y mae y defaid yn gwrandaw fy llais i, a mi a'u hadwaen hwynt, a hwy a'm canlynant i.

(2) *Y Bugail:* A minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragwyddol, ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i.

**ADN. 29.** Y mae esboniadaeth yr adnod hon yn dibynu ar y darlleniad a fabwysiedir. Ceir yn yr hen lawysgrifau bedwar darlleniad, eithr ni chyfeiriwn ni ond at ddau yn unig. (1) **Yr hyn a roddes y Tad i mi sydd fwy na phawb, ac nis gall neb ddwyn dim allan o law fy Nhad i.** Dyma y darlleniad a gymeradwyir gan Westcott a Hort yn eu Test. Groeg, ac a amddiffynir gan y blaenaf yn ei Esboniad, ac a roddir ar ymyl dalen y Cyf. Diw. fel un tebygol. Os dyma y darlleniad cywir rhaid fod y cyfeiriad at yr Eglwys,—"yr hyn a roddes y Tad i mi," set y defaid neu y credinwyr yn eu hunoliaeth eglwysig, "sydd fwy," mwy gwerthfawr, medd rhai, mwy cryf, medd eraill, na phawb a all fod yn wrthwynebol iddynt. Diau fod hynyna yn wirionedd (Matt. xvi. 18); ac er nad ydym yn barod i fyned mor bell a Reith a chyhoeddi fod darlleniad Westcott "yn dwyn afresymoldeb ar ei wyneb," eto ymddengys i ni yn dra annaturiol yn ei berthynas â'r cyd-destyn. (2) Oherwydd paham syrthiwn ni yn ol gyda Luthardt, Lange, a Godet ar y darlleniad fel y mae yn y Beibl Cymraeg, a'r Beibl Saesonaeg Awd. a Diw. : **Fy Nhad i, yr hwn a'u rhoddes i mi, sydd fwy na phawb.** Yma hefyd

cawn dri gosodiad yn cyfateb i'r ddau driawd yn y ddwy adnod flaenorol. (1) Rhoddes y Tad hwy i Grist. "Yr Hwn a'u rhoddes i mi." (2) "Y Tad sydd fwy na phawb." Pwy a gynwysir yn y "pawb"? Etyb rhai mai pawb yn ddiwahaniaeth, gan gynwys y Mab ei hunan. Y mae ystyr yn mha un y mae y ddau berson yn ogymaint a'u gilydd; ac y mae ystyr arall yn mha un y mae y Tad yn fwy na'r Mab, sef yn ei swydd Gyfryngol. Yn ei Ymgnawdoliad daeth i sefyllfa o ddarostyngiad, yn yr hon yr oedd ufudd-dod yn ddyledus oddiwrtho i'w Dad. Ond er fod hynyna yn wirionedd, eto nid uwchafiaeth y Tad ar y Mab yw drychfeddwl llywodraethol yr adran. Am hyny gwell genym ni yr ateb arall, sef fod "pawb" yn dynodi pawb gelyniaethol, pob creadur a phob gallu sydd yn amcanu dinystrio y defaid neu eu gwahanu oddiwrth gariad Duw yn Nghrist. Rhuf. viii. 35—39 yw yr eglurhad goreu ar y cymal hwn o'r adnod. (3) "Ac nis gall neb eu dwyn hwynt allan o law fy Nhad i." Nid yn unig ni ddwg neb hwy, ond nis gall neb: y mae hollalluogrwydd yn rhy gryf i unrhyw greadur ei orthrechu. Y Llaw—arwyddlun gallu bob amser Llaw y Mab=gallu y Mab. Llaw y Tad=gallu y Tad. Y mae y defaid yn y ddwy Law, dan ofal y ddau Allu, oblegid fod y Ddau Berson, fel y dysgir yn yr adnod nesaf, yn Un Hanfod. Wrth i'r Tad eu rhoddi i law y Mab nid oedd yn eu rhoddi allan o'i law ei hun. O gryfder trefn gras!

Yma cyfyd gofyniad duwinyddol o grŷn ddyddordeb,—A yw yr adnodau hyn yn dysgu parhâd y saint mewn gras? (1) Ateb unfrydol bron yr holl esbonwyr diweddar o fri yw y dysgant anallu pawb a phobpeth, y tu allan i'r saint eu hunain, i'w llithio i golledigaeth. Y mae anfeidrol ofal ac anfeidrol allu y Tad a'r Mab yn gylch o'u hamgylch i sicrhau eu dyogelwch tragwyddol. Ond y mae un eithriad, ac y mae hwnw y tu fewn i'r saint, yn eu rhydd-ewyllys hwy eu hunain. Y maent yn ddyogel o ran pawb eraill; ond beth am danynt eu hunain? Anmhosibl, medd yr esbonwyr hyn, ac y mae eu henwau yn llu, fod dyogelwch perffaith lle y mae rhydd-ewyllys. "Nid yw yr adran hon," meddai Plummer, "yn dysgu annichonoldeb yr etholedigion i syrthio *(the idefectibility of the elect)*, nac yn rhoddi dim ategiad i olygiadau arfaethol *(ultra-predestinarian views)*. Nis gellir dwyn defaid Crist yn erbyn eu hewyllys; ond y mae eu hewyllys yn rhydd, a gallant ddewis i adael y praidd." Rhydd y geiriau yna ddatganiad teg o olygiadau Lange, Godet, Meyer, ac feallai, er nad ydym yn sicr, o Westcott, brawddegiad yr hwn sydd yn dra amwys. Yn ol yr esboniad hwn y mae dyn yn ei fan uchaf, ei gynheddf ardderchocaf, sef ei ewyllys, yn ddiamddiffyn; y mae y *fortress* i gyd yn gryf o faes, ond gall gwympo, er hyny, oblegid gwendid o fewn! Gwyddom yn dda mai gwedd ydyw ar y cwestiwn sydd bob amser yn codi pan y mae yr anfeidrol a'r meidrol yn cyfarfod; ond yr hyn sydd yn ein synu yw fod yr awdwyr hyn bob amser yn rhoddi y trechaf i'r meidrol ac nid i'r anfeidrol, i ewyllys rydd dyn ac nid i ewyllys rydd Duw. (2) O ganlyniad, dadleua Âwstin, Calfin, ac eraill sydd yn eu dilyn yn mhrif linellau eu cyfundrefn, fod y saint yn ddyogel o faes ac o fewn, yn erbyn gelynion allanol ac hefyd yn erbyn pechod tufewnol. Nid oes gan neb hawl i wanhau iaith yr Arglwydd Iesu, a chau allan bechod o'r *pantōn*, o'r pawb a'r pobpeth sydd yn gwrthwynebu, canys fel y sylwa Hengstenberg dyosgai hyn eiriau Crist o'u prif bwysigrwydd a'u prif gysur. Onid pechod y galon, halogrwydd yr

*hwynt* allan o law fy Nhad i. Myfi a'r Tad un ydym. 30

---

ewyllys, yw ein prif elyn? Pa gysur sydd yn ngeiriau Crist i ni,—ein bod yn ddyogel rhag gelynion allanol, ond nad ydym yn ddyogel yn erbyn ein prif elyn, sef pechod o fewn i ni ein hunain? Na all un gallu allanol ein cipio o'r Dwyfol Ddwylaw, ond y medrwn ein hunain lamu allan o honynt? Os na ellir ein hachub rhagom ein hunain, os na ellir sefydlu ein hewyllys mewn daioni, y mae ein henbydrwydd yn fawr yn wir! Yr argraph a edy darlleniad pwyllog o'r geiriau ar ein meddwl ni yw fod bywyd tragwyddol y credadyn yn cael ei sicrhau pan y cred, hyny yw, pan y daw i mewn i'r gorlan ddaearol, ac nid yn unig pan yr ä i mewn i'r gorlan nefol. Os gellir sicrhau yr ewyllys mewn daioni yn y nefoedd, paham na ellir ei dyogelu ar y ddaear? Mwy cyson yw duwinyddion fel Esgob Colenso sydd yn gwadu sicrwydd yno ac yma; a mwy cyson fyth yw y duwinyddion sydd yn dàl y posiblrwydd o sicrwydd yma yn gystal ag yno.

**ADN. 30. Myfi a'r Tad un ydym.** Nid *eis*, un person; ond *en*, yn y *neuter gender*, un peth, un hanfod. Pa fodd yr ydym i ddeall y geiriau? Rhoddir tri prif ateb. (1) Ateb Arius, Socinus, Beyschlag, ynghyd a mwyafrif Undodiaid yr oes hon mai undeb moesol (*ethical unity*) a feddylir, sef cydgordiad hollol o ran teimlad, amcan, ac ewyllys. Felly nid yw yr Iesu yn hawlio dim iddo Ei hun nag sydd wir am yr angel a gadwodd ei ddechreuad ac am y saint sydd wedi eu perffeithio—undod o fewn cyrhaedd pob creadur rhesymol ydyw. (2) Calfin, Luthardt, Tholuck, Meyer, a atebant mai undod gallu (*dynamical unity*) a ddynodir. Son am ddyogelwch y defaid y mae yr Iesu, a'i allu Ef a gallu ei Dad i'w noddi rhag pob gelyn, a rhag i neb gasglu fod ei eiriau yn cynwys gwrth-ddywediad dwg hwy i gysondeb a'u gilydd trwy hawlio iddo ei hunan undod gallu â'r Tad. (3) Ond dadleua eraill, megis Awstin, Bengel, Godet, a Westcott, nas gallwn aros yn y fan yna: os yw yr Iesu a'r Tad yn un mewn ewyllys a gallu, cynwys hyny eu bod yn un mewn natur neu hanfod—un peth, un hanfod ydynt. Dyna fel y deallodd yr Iuddewon ar y pryd ei eiriau fel y dengys yr adnodau sydd yn dilyn; dyna fel y deallodd y Tadau Cristionogol hwynt; a dyna fel y dealla prif feddylwyr y canrifoedd hwynt. Mae pob gair yn yr adnod, meddai Westcott, yn llawn ystyr: Myfi, nid y Mab; y Tad, nid fy Nhad; un (*en*) hanfod, nid un (*eis*) person (Gal. iii. 28); ydym, nid ydwyf. A sylwa Bengel yn ei ddull tarawiadol a chynwysfawr ei hun: "*per 'sumus' refutatur Sabellius, per 'unum' Arius*"—"trwy 'ydym' gwrthetyb Sabellius, trwy 'un' Arius." Ac meddai Awstin: "Un ydym. Sylwch ar y ddau air 'un' ac 'ydym.' Y gair 'ydym' a'ch gwared oddiwrth heresi Sabellius, a'r gair 'un' oddiwrth yr eiddo Arius . . . Ffurfiodd Cristionogion air newydd, *Homoousion Patris* (*cyd-sylweddol â'r Tad*) yn erbyn cyfeiliornad Arius; ond ni chreasant beth newydd trwy air newydd. Canys y mae athrawiaeth yr *Homoousion* (y cyd-sylweddiad) yn ngeiriau ein Harglwydd ei hun, 'Myfi a'r Tad un ydym'—un (*unum*), un sylwedd." Ie, y mae yr undod yn dyfod yn fwy i'r golwg yn yr "ydym" (*esmen*) nag yn yr "un" (*en*), cysyllta ei hun mewn un *Plural* â'r Hollalluog Dad! Yn v. 17 dywed Fy Nhad a Finau; yma Myfi a'r Tad! Os nad yw hynyna yn gosod allan Ddwyfol gydraddoldeb, nis

31 Am hynny y cododd yr Iuddewon gerrig drachefn i'w
32 labyddio ef. Yr Iesu a attebodd iddynt, Llawer o weith-
redoedd da a ddangosais i chwi oddi wrth fy Nhad: am ba

---

gwyddom pa beth a lwydda i wneyd hyny. Myfi a'r Tad! Fy Nhad a Finau! Ai gwallgofddyn ai Duw-ddyn sydd yn llefaru? Rhaid ei fod y naill neu'r llall. O'n rhan ein hunain cymerwn ni ein siawns gyda y Duw-ddyn.

EFFEITHIAU EI ANERCHIAD. ADN. 31—39.

**ADN. 31. Yr Iuddewon a godasant geryg drachefn i'w labyddio ef.** Gadewir allan y cysylltair "gan hyny" yn y Cyf. Diw. Ond gydag ef neu hebddo erys y cysylltiad yr un, hòniad Crist o'i undod â Duw sydd yn eu cynddeiriogi. "Myfi a'r Tad un ydym." Cyfynger yr ystyr faint a fyner, eto y mae y ffaith yn aros fod yr Iuddewon dysgedig oedd yn ei wrandaw yn ei ddeall fel yn hawlio Duwdod gwirioneddol a phriodol, yr hyn yn eu bryd hwy oedd yn gabledd echrydys, ac yn haeddiannol o gosp marwolaeth yn ol y gyfraith gynwysedig yn Lef. xxiv. 16 (cyd. 1 Bren. xxi. 10). Gwnaed ymgais yn amlach, feallai, nag y tybir i'w ladd (Luc iv. 29; Ioan v. 18; viii. 59), ond dwy waith y cronicla Ioan iddynt anturio ei labyddio,—y tro cyntaf yn viii. 59, a'r ail dro yma, yn oriel Solomon. Ond nid yr un gair a ddefnyddir yn y ddau le am "godi" ceryg: y tro cyntaf *ēran* yw y gair, yn golygu codi o'r ddaear, am fod y ceryg wrth law ac yn ymyl; yma y gair yw *ebastasan*, yr hwn a olyga, fel y tybir, ddau beth,—yn gyntaf iddynt gyrchu y ceryg o ryw bellder, gan nad oedd yno geryg ar bwys; ac yn ail, iddynt ddyrchu y ceryg i'r awyr a'u bod yn y weithred o'u hyrddio at Ei berson sanctaidd. Fodd bynag, ymddengys fod yma benderfyniad llymach a ffyrnigrwydd mwy. Y mae y gwrthdarawiad rhwng yr Iesu a'r Phariseaid yn cynyddu, nes yn y benod nesaf y cyrhaedda ei uchafnod.

**ADN. 32. Yr Iesu a atebodd iddynt.** Nid i'w geiriau ond i'w gweithred yn codi ceryg—ateb dynion a wna Efe bob amser, ac nid ateb cwestiynau. Edrych De Wette ar yr adnod hon fel gwawdiaith (*irony*), a Meyer a Godet fel gwawdiaith yn codi oddiar ddigter dwfn. Ond i ni nid oes ronyn o *irony* yn iaith na theimlad yr Iesu, canys nid yw *irony* ond digter wedi suro; ac yn ei gyfansoddiad Ef nid oedd le i surni. Difrifwch dyn am argyhoeddi ac enill ei elynion sydd yma. **Llawer o weithredoedd da a ddangosais i chwi oddiwrth y Tad.** Nid "fy Nhad" fel yn y Cyf. Cymraeg, ond "y Tad" fel yn y Cyf. Diw. "Fy Nhad"—dyna achos y ddadl, y pwngc ar yr hwn y gwahaniaethent; "y Tad"—dyna wirionedd cyffredinol, yn yr hwn y cytuna Efe a hwy a'u gilydd; o ganlyniad, sylfaena ei apel diweddaf atynt, nid ar y gwirionedd gwahaniaethol am yr hwn yr ymrysonant, ond ar y gwirionedd cyffredinol o barth i'r hwn y cytunant. Gan ddechreu gyda gwirionedd sier, ymdrecha eu tywys at yr hyn oedd iddynt hwy yn amheus. "Llawer o weithredoedd da"—ei wyrthiau, ac nid gweithredoedd cyffredin. I ni, yn yr oes hon, y prawf cryfaf o'i ddwyfoldeb yw gweithredoedd arferol ei fywyd, dibechadurusrwydd ei gymeriad, h.y., yr elfen foesol yn ei hanes; ond iddynt hwy, heb amgyffrediad cyflawn o gyfanrwydd ei fywyd ac heb bwysleisio moesoldeb uwchlaw gallu anianyddol, yr elfen

un o'r gweithredoedd hynny yr ydych yn fy llabyddio i?
Yr Iuddewon a attebasant iddo, gan ddywedyd, Nid am 33
weithred dda yr ydym yn dy labyddio, ond am gabledd,
ac am dy fod di, a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy

---

wyrthiol oedd fwyaf ei dylanwad. Yr oes hono yn hanes dadblygiad moesoldeb, yr oedd yn rhaid i'r moesol wrth y gwyrthiol i'w ategu; ond yn ein hoes ni, yn ein gwlad ni, rhaid i'r gwyrthiol wrth y moesol i'w amddiffyn, a hyny am ein bod yn sefyll mewn cyfnod arall, cyfnod mwy *advanced* yn hanes dadblygiad Daioni, a'r hwn ddadblygiad sydd yn ddyledus i ddylanwad iachus yr Iesu ei hun. "Llawer" o wyrthiau a gyflawnodd, o ba rai rhydd Ioan i ni saith fel samplau. Gwyddai Ef a gwyddent hwythau nad oes goffhâd am danynt yn y Pedair Efengyl. "Gweithredoedd da"—nid y da moesol (*agathos*) yn unig, ond y da addurniadol (*kalos*). Yn ngwyrthiau yr Iesu yr oedd y da moesol ag oedd yn elfen lawn barhaol yn ei holl fywyd yn tori allan yn dda pryd-ferth—cymwynasgarwch yn ei fan uchaf a harddaf. Dyna ei ddesgrif-iad Ef ei hunan o honynt—daioni yn dysgleirio, y pren rhosyn dan ei flodau. Nid digon bod yn dda a sarug, rhaid bod mor dda nes bod yn rasusol; nid digon sancteiddrwydd, rhaid wrth brydferthwch sancteidd-rwydd. Llawer o weithredoedd a ddygent arnynt *trade mark* y nefoedd a "ddangosodd oddiwrth y Tad." Nid yw y gwyrthiau a adroddir yn y Pedair Efengyl ond "dangosiadau" neu samplau o'r "llawer" a gyf-lawnodd Efe; ac nid yw y llawer hyny ond "samplau oddiwrth y Tad," samplau cynrychiolydd y *Firm* o'r cyflawnder dihysbydd sydd yn yr ystordy, ac y mae y stoc i gyd trwyddi yr un fath, i gyd o'r un *quality*. **Am ba un o'r gweithredoedd hyny yr ydych yn fy llabyddio i?** Y pwys-lais ar y rhagenw "i." "Am ba un o'r gweithredoedd hyny yr ydych yn fy llabyddio *i*?"—cynrychiolydd y Tad. "Am ba un" (*dia poion*): defnyddir yr un ymadrodd gwreiddiol yn 1 Cor. xv. 35, ac yn y Cyf. Cymraeg dygir allan yn briodol y *shade* neillduol o feddwl a berthyn iddo—"ac a pha *ryw* gorph y deuant?" gan gyfeirio at y rhyw, y math, yr ansawdd. Perthyn yr un ystyr iddo yn yr adnod hon; golyga nid yn unig "am ba un" o'r nifer, ond hefyd am ba ansawdd neu nodwedd yn yr un hono, y llabyddient Ef? O ganlyniad ymofyna yr Iesu pa un, a pha beth yn yr un, oedd yn cynhyrfu eu cynddaredd,—y weithred, a chymeriad y weithred.

**ADN. 33. Yr Iuddewon a atebasant iddo.** Gadewir allan "gan ddywedyd" yn y Cyf. Diw. Y mae aiddgarwch a chyflymder yn nod-weddu y partïon sydd yn siarad, a chyfranoga yr Efengylwr o'u prysur-deb—nid oes ganddo amser i ymhelaethu, gâd allan pob gair diangen-rhaid. Yn eu hateb nid ydynt fel anffyddwyr diweddar yn gwadu ei wyrthiau. **Nid am weithred dda yr ydym yn dy labyddio, ond am gabledd, ac am dy fod di, a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw.** Nid "am" mewn ystyr achosol, ond "am" mewn ystyr gyf-reithiol: nid *because* (*dia*) ond *concerning* (*peri*). Yn yr adnod flaenorol awgryma yr Iesu mai am weithred dda yr oeddynt yn ei labyddio; atebant hwythau mai nid am weithredoedd da na drwg, ond am eiriau drwg—cabledd. Ai un cyhuddiad ynte dau sydd yma? (1) Etyb

34 hun yn Dduw. Yr Iesu a attebodd iddynt, Onid yw yn
ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi a ddywedais, Duw-

---

Luthardt fod yma ddau ; y cyntaf, cabledd—darostwng Duw i lefel dyn; yr ail, gwneuthur ei hun yn Dduw, derchafu dyn i lefel Duw. Sylfaena ei ateb ar y cysylltair "ac"; heb hyn, meddai, nid oes ystyr i'r cysylltair. (2) Ond Meyer, Godet, Westcott, a mwyafrif mawr y beirniaid a fynant wanhau y cysylltair (*kai*) i "sef" yn hytrach nag "ac": *even*, nid *and*. Felly un cyhuddiad sydd yma, sef cabledd, yr hwn oedd yn gynwysedig mewn gwneuthur ei hun, ac Efe yn ddyn, yn Dduw. Swyddogaeth y cysylltair, gan hyny, yw, nid cyplysu dau ddrychfeddwl gwahanol, ond dwy frawddeg berthynasol, y naill yn eglurhad ar y llall. "Am gabledd"—dyna y cyffredinol ; "sef am dy fod di, a thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw"—dyna y cyffredinol wedi ei neillduoli. Y tro cyntaf y clywsom y Parch. James Richards, Pontypridd,—gweinidog enwog y Bedyddwyr—yn pregethu, dyfynai yr adnod hon : "am dy fod di, a thi yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw." "Dyma i chwi *contradiction in terms*," meddai, yn ei lais main, a mwyn, a meddal; "un heb ei wneyd ydyw Duw." Gwelwn, gan hyny, mai esboniad y Phariseaid ar adn. 30, "Myfi a'r Tad un ydym," ydyw "ei fod Ef, ac yntau yn ddyn, yn gwneuthur ei hun yn Dduw." A gyfeiliornasant yn eu hesboniad? A ddarfu i'r Iesu eu cywiro fel yr ymdrecha esbonwyr Undodaidd yr oes hon wneyd? Naddo; ond ä yn mlaen i gyfreithloni ei hawl. "Ai ni chywirai hwynt," gofyna Toplady, "mewn pwngc o'r fath annrhaethol bwys, pe camgymerasent mewn gwirionedd ei feddwl? ai ni ddiarddelai, megis Paul a Barnabas yn Lystra, gyda braw a digter, bob honiad o Dduwdod, pe na fuasai mewn gwirionedd yn Ddwyfol? A gydsyniai Efe, fel Herod annuwiol, ac Yntau mor addfwyn a gostyngedig o galon, yn y priodoliad iddo o Dduwdod, pe na buasai yn Dduw a dyn mewn Un Person?"

**ADN. 34. Yr Iesu a atebodd iddynt, Onid yw yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi?** Megis yn xii. 34 a xv. 25, wrth y "Gyfraith" yma y meddylir yr H. D. Ond paham y gelwir yr H. D. yn Gyfraith? (1) Er nad yw y Gyfraith ond un elfen ynddo, eto, oblegid yr arbenigrwydd a dderbyniodd yn nadblygiad Iuddewiaeth yn y pedwar can' mlynedd rhwng Malachi a Matthew, taflodd brophwydoliaeth i'r cysgod, a rhoddodd ei henw ei hun ar yr holl gyfrol. (2) Ond yma y mae cyfaddasder neillduol yn yr enw, canys er mai o Lyfr y Salmau y gwneir y dyfyniad sydd yn dilyn, eto dyfyniad ydyw sydd yn seiliedig ar eiriaduraeth bendant y Gyfraith yn Ex. xxi. 6; xxii. 28, &c. Nid yw y Salm ond dehongliad barddonol o'r adranau uchod o'r Gyfraith, ac y mae dehongliad barddonol bob amser yn tra ragori ar ddehongliad geiriol neu ramadegol. Ac nid Cyfraith Duw y geilw yr Iesu hi yma ond "eich cyfraith chwi,"—y gyfraith yr ymffrostient hwy ynddi, y dibynent ar ei chyflawniadau am dderbyniad ger bron Duw, ac i gario allan un o'i dedfrydau y cymerasant hwy geryg i fynu i'w labyddio Ef. Ar yr un egwyddor y geilw y Deml, nid yn "dŷ Dduw," ond "eich ty chwi" (Luc xiii. 35). Hawlient feddiant yn y Gyfraith a'r Deml i wneuthur â hwynt yn ol eu traddodiadau eu hunain, a thrwy hyny i weini i'w hunanfoddhâd. **Mi a ddywedais, Duwiau ydych.** Pwy a ddywedodd? (1)

iau ydych? Os galwodd efe hwy yn dduwiau, at y rhai y 35
daeth gair Duw, (a'r ysgrythyr nis gellir ei thorri;) A 36

---

Etyb rhai *(Speaker's Commentary)* mai Asaph, awdwr y ganiad. "Myfi a ddywedais, Duwiau ydych," yn y chwechfed adnod, gan gyfeirio at yr hyn a ddywedodd yn yr adnod gyntaf, "Duw sydd yn sefyll yn nghynulleidfa yr El, yn mhlith y duwiau y barn Efe." Hyny ydyw, yn mhlith barnwyr Israel y barn Duw. (2) Tybia eraill gyda mwy o briodoldeb mai Duw a ddynodir gan y "Myfi," ac mai Efe sydd yn galw y swyddogion gwladwriaethol dan yr enw goruchel ac urddasol hwn. Yn yr Hebraeg y mae y rhagenw yn bwysleisiol: "Myfi fy hunan a ddywedais, Duwiau ydych." Ond ar y naill esboniad neu y llall erys ymresymiad yr Arglwydd Iesu yr un—y mae Ysgrythyr ysbrydoledig yn galw dynion yn dduwiau ac yn feibion y Goruchaf. "Myfi fy hunan a ddywedais, Duwiau (*Elohim*) ydych." Ond pa le y galwodd Duw yr ynadon gwladol ac eglwysig yn "Dduwiau?" Yn nghyfraith Moses: "Yna dyged ei feistr ef at y barnwyr (duwiau);" "dyger perchenog y ty at y swyddogion (duwiau);" "na chabla y swyddogion (duwiau), ac na felldithia benaeth dy bobl" (Ex. xxi. 6; xxii. 8; xxii. 28). Y gwreiddiol yn mhob un o'r adnodau yna, ac mewn eraill y gellid eu dyfynu, yw Elohim, yr hyn o'i gyfieithu yw "Duwiau," ond yn dynodi, fel y mae yn amlwg, farnwyr neu swyddogion y Ddwyflywiaeth. O ganlyniad gwelir priodoldeb geiriau y Salm: "Myfi fy hunan a ddywedais," sef yn nghyfraith Moses, "Duwiau ydych"—dyna yr enw a roddodd Duw arnynt. Ond gan nad ydyw Duw byth yn rhoddi i neb enwau mympwyol, cyfyd y gofyniad, Paham y galwodd hwy yn "Dduwiau"? Pa le y gorwedd cyfaddasder yr enw? Etyb Jehosaphat yn ei gyfarchiad i'r barnwyr newydd a osododd yn y wlad (2 Chron. xix. 6, 7): "Edrychwch beth a wneloch; canys nid dros ddyn yr ydych yn barnu, ond dros yr Arglwydd, ac Efe a fydd gyda chwi wrth roddi barn. Yn awr gan hyny bydded ofn yr Arglwydd arnoch chwi; gwyliwch a gwnewch; oherwydd nid oes anwiredd gyda'r Arglwydd ein Duw, na derbyn wyneb, na chymeryd gwobr." Gan fod Duw yn dirprwyo y gwaith o farnu iddynt ac yn addaw bod gyda hwynt yn nghyflawniad eu swydd, fel ei gynrychiolwyr Ef, ac nid cynrychiolwyr y brenin daearol, gelwir hwynt yn "Dduwiau"—Duwiau mor bell ag y maent yn cyfranogi o'r Dwyfol.

**ADN. 35. Os galwodd Efe hwy yn dduwiau.** Wedi gosod i lawr y ffaith y gelwir dynion yn "dduwiau" yn yr H. D., ä yr Arglwydd Iesu yn mlaen i seilio ymresymiad ar y ffaith. Nid oes dim yn y gwreiddiol i osod allan ryw y rhagenw. Yn y Cyf. Cymraeg a'r Diw. defnyddir y rhyw wrywaidd—Efe sef Duw; ond barna Meyer ac eraill mai rhagorach yw y *neuter gender*, ac os felly saif am y Gyfraith neu yr Ysgrythyr; ond yn ymarferol erys y meddwl yn ddigyfnewid. **At y rhai y daeth gair Duw.** Beth a olygir wrth "air Duw"? (1) Plummer a farna ei fod yn un peth a'r Ysgrythyr, h.y., "gair Duw yn yr adranau hyn o'r Ysgrythyr." (2) Cyril a farna fod cyfeiriad at ddyfodiad y Gair fel enw personol ar y Mab dan yr Hen Oruchwyliaeth. (3) Ond hwylia mwyafrif yr esbonwyr rhwng y ddau eithafion—gair Duw yn y Datguddiad fel effaith gweithrediad y Gair Personol. Ond yma cyfyd gofyniad arall, Pa

ddywedwch chwi am yr hwn a sancteiddiodd y Tad, ac a'i

---

bryd y daeth gair Duw atynt? At ba amgylchiad yn hanes y swyddogion gwladol y cyfeirir? (1) Barna De Wette mai dyfodiad gair Duw atynt yn nghyfarchiad Duw yn y Salm a fwriedir. (2) Ond cred Olshausen mai dyfodiad gair Duw atynt yn nghyflawniad y swydd farnol,—Duw yn datguddio iddynt gyfiawnder neu anghyfiawnder y cynghaws cyfreithiol o'u blaen, yn ol ystyr yr ymadrodd, "Efe a fydd gyda chwi wrth roddi barn." Dilys fod Moses yn derbyn goleuni goruwchnaturiol i'w alluogi i benderfynu yn gywir rhwng y pleidiau ymrysongar a ymddangosent o'i flaen; ond a oedd hynyna yn wirionedd am y barnwyr eraill a benododd i'w gynorthwyo? (3) Oherwydd paham casgla Meyer, Luthardt ac eraill mai cyfeiriad sydd yma at ddyfodiad gair Duw atynt ar eu penodiad i'w swyddau gwladwriaethol ac eglwysig. Daeth gair Duw atynt, yn anuniongyrchol gan amlaf, i'w galw i'w swyddau, megis y credir y daw gair Duw at ddynion yn awr i'w galw i'r swydd weinidogaethol. Gair Duw=galwad Duw arnynt yn eu cysegriad i'w swydd; cafodd hwynt ar yr un lefel a phobl eraill, yn dilyn galwedigaethau bydol,—ond trwy yr alwad neu y gair a ddaeth atynt derchafwyd hwy i fod yn gynrychiolwyr Duw yn y genedl, ac o ganlyniad gwisgwyd hwy ag urddas newydd, urddas na pherthynai yn wreiddiol iddynt. **A'r Ysgrythyr nis gellir ei thori.** (1) Arfer Ioan pan yn llefaru am yr H.D. yn ei gyfanswm yw defnyddio y rhif lluosog—Ysgrythyrau; ond pan y defnyddia y rhif unigol—Ysgrythyr—fel yn yr adnod hon, golyga yn ddieithriad adran neillduol (ii. 22; vii. 42; xix. 35). Cyfeiriad, gan hyny, sydd yma at Salm lxxxii. (2) Meyer, Godet, ac eraill a ddaliant fod yr "os" sydd yn nechreu yr adnod yn perthyn i'r ddwy frawddeg: "Os galwodd Efe hwy yn dduwiau, ac os yr Ysgrythyr nis gellir ei thori." Nid "os" o amheuaeth, ond o ymresymiad: rhaid oedd i'r Phariseaid hyn, y rhai oeddynt mor hyfforddus yn yr Hen Destament, ganiatau cadernid y ddau osodiad. Golyga y gair am "dori" (*luthēnai*) ddatod (i. 27, datod carai esgid) neu ollwng (xi. 44, gollyngwch ef yn rhydd). Felly dysga Crist nad oes lacio i fod ar eiriau Duw yn y Beibl. "Yr Ysgrythyr," meddai Bengel, "nis gellir ei thori, hyd y nod yn y man gwanaf." Gwireb dra sicr.

**ADN. 36. A ddywedwch chwi am yr hwn a sancteiddiodd y Tad.** Ystyr y gair sancteiddio (*hagiazein*) yw cysegru, neillduo i ddybenion crefyddol,—Duw yn cysegru ei Fab, yn ei osod o'r neilldu i waith arbenig yr iachawdwriaeth. (Gwel ar xvii. 19). Ond gan mai y Tad sydd yn cysegru, ac mai y Mab sydd yn cael ei gysegru, ac mai gwared y byd oddiwrth bechod yw amcan y cysegriad, rhaid fod y cysegriad swyddogol yn rhagdybied sancteiddrwydd personol. Nid y seremoniol, ond y moesol, yw drychfeddwl llywodraethol y Beibl; ond cyfeiliornad andwyol a damniol y Phariseaid yn amser Crist oedd darostwng y moesol i'r seremoniol, megis ac y gwnai y cenhedloedd amgylchynol. **Ac a'i hanfonodd i'r byd.** Y mae y berfau "sancteiddio" ac "anfon" yn yr *aorist tense*, a chan hyny yn cyfeirio at ddwy weithred orphenedig yn y mynedol. Pa ddwy weithred oeddynt? (1) Etyb rhai fod y cyfeiriad at ei gysegriad yn ei Fedydd trwy eneiniad yr Ysbryd Glân ac at ei anfoniad allan ar ol ei Fedydd i bregethu teyrnas nefoedd. (2) Barna eraill

hanfonodd i'r byd, Yr wyt ti yn cablu; am i mi ddywedyd,
Mab Duw ydwyf? Onid wyf fi yn gwneuthur gweithred- 37

gyda phriodoldeb mwy fod y cyfeiriad at drafodaeth a gymerodd le rhwng y Tad a'r Mab yn nhragwyddoldeb,—Duw yn rhagordeinio ei Fab i fod yn Gyfryngwr, ac yn nghyflawnder yr amser yn ei anfon i'r byd "wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf." Ond dylid gwahaniaethu rhwng appwyntiad y Mab i'r swydd ac ymgymeriad gweithredol y Mab â'r swydd. O esgeuluso y gwahaniaeth hwn y mae y ddau esboniwr Methodistaidd ar yr Efengyl hon wedi myned ychydig allan o'r iawn, ond nid yn ddigon pell i fyned i fagl. "Yr oedd Ef yn bod cyn ei anfon i'r byd, a chafodd ei sancteiddio—ei neillduo, *a'i osod yn ei swydd er tragwyddoldeb*," ebe y Parch. Evan Roberts, Dolgellau, yn ei esboniad hylaw a rhagorol. I'r un perwyl yr ysgrifena y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., yn ei esboniad tra gwerthfawr yntau: "Yr oedd yn bod cyn ei anfon, a chafodd ei neillduo i'w anfon. *Yr oedd yn y swydd, o ran ei berson dwyfol, cyn dyfod iddi yn y natur ddynol.*" Cytunwn â'r hyn a ddywed y ddau esboniwr craff hyn oddigerth â'r brawddegau a roddasom mewn llythyrenau Italaidd. Fel Person Dwyfol, yn hanfodi yn y ffurf ddwyfol, yr oedd yn annrhaethol uwchlaw swydd,—yn yr Ymgnawdoliad y daeth i sefyllfa y gallasai lanw swydd. Gwaith y Tad, gwaith y Mab, gwaith yr Ysbryd Glân, ond swyddau Crist. Paham? Am mai Efe yn unig a ddaeth i sefyllfa creadur, ac felly i dderbyn ymddiriedaeth swyddol o law y Tad ag oedd yn fwy nag Efe. O anwybyddu y gwahaniaeth rhwng cysegriad i swydd ac ymgymeriad gweithredol â swydd y crwydrodd awdwr yr erthyglau rhagorol ar y Gwâghad yn y *Drysorfa* am 1897 o lwybr uniondeb duwinyddol. Wedi dangos yn alluog fod y Gwâghad yn gynwysedig yn ngwaith Crist yn rhoddi i fyny ei ewyllys ei hun pan yn cymeryd arno agwedd "gwas," neidiodd i'r casgliad ei fod yn "was" er tragwyddoldeb, ac felly fod y Gwâghad yn dragwyddol; a thrwy hyny diddymodd i raddau mawr y gwahaniaeth rhwng y Mab cyn ei Ymgnawdoliad a'r Mab ar ol ei Ymgnawdoliad. Cysegriad y Mab yn nhragwyddoldeb i'w swyddau, a'i anfoniad yn nghyflawnder yr amser i'w cyflawni, sydd yma. **Yr wyt ti yn cablu, am i mi ddywedyd, Mab Duw ydwyf.** Pa le y dywedodd hyn? Nid yw y geiriau ar gael, ac nid tebyg iddo eu llefaru yn y ffurf hon hyd yn bresenol. Ond er na lefarodd y geiriau, eto llefarodd y gwirionedd cynwysedig ynddynt, a'r gwirionedd, nid y wisg, sydd o bwys. Llefarai yn wastadol am Dduw fel ei Dad ac am dano ei hunan fel ei Fab. "Fy Nhad": beth yw hynyna ond ochr arall y gwirionedd, Mab Duw ydwyf?

Wedi egluro y ddwy adnod hyn, 34 a 35, yn eu cymalau gwahanol, doethineb yn awr yw edrych arnynt fel un ymresymiad. Pa beth y mae yr Arglwydd Iesu yn amcanu ei brofi ynddynt? (1) Edrych un dosbarth bychan ar yr ymresymiad fel *argumentum ad hominem*, h.y., fel ymgais o du yr Iesu i enill goruchafiaeth ar ei wrthwynebwyr. O edrych ar yr adnodau yn y goleuni hwn, rhywbeth fel y canlyn y rhêd yr ymresymiad: Yr ydych chwi yn fy nghyhuddo i o gabledd am i mi ddywedyd, Myfi a'r Tad un ydym. Ond os yw hynyna yn cyfansoddi cabledd, yna y mae yr Ysgrythyrau y rhoddwch chwi gymaint o bwys arnynt yn euog o gabledd hefyd, canys yn Salm lxxxii. gelwir swyddogion y genedl, y rhai ydynt ddynion fel finau, yn Dduwiau. Os ydynt hwy yn dduwiau, a'r Ysgrythyr

heb gablu, paham na allaf finau briodoli i mi fy hun yr hyn y mae yr Ysgrythyr yn ei briodoli iddynt hwy, heb gablu? Y mae y ffurf yna ar yr ymresymiad yn gosod allan wirionedd, ond teimlwn ar unwaith nad yw yn gosod allan yr holl wirionedd. (2) Oherwydd paham edrycha eraill ar yr ymresymiad fel *argumentatio a minori ad majus*—ymresymiad o'r lleiaf i'r mwyaf. Gosododd y Rabbi Hillel i lawr fel rheol gyntaf esboniadaeth Ysgrythyrol fod yn deg casglu y mwyaf oddiwrth y lleiaf, a diau y gwyddai yr Iesu yn dda, yn gystal a'r Phariseaid a wrandawent arno, am y canon esboniadol hwn, ac yn ei ddadl a hwy gofala gydymffurfio a hi. O'r safle hon rhed yr ymresymiad fel y canlyn: Dynion anmherffaith, yn derbyn llwgrwobrwyon, ac felly yn gwneyd cam â gwr yn ei fater, oedd y barnwyr y cyfeiria y Salm atynt, canys felly eu desgrifir yno; ac eto, er eu hanmherffeithrwydd moesol, oherwydd i alwad Duw ddyfod atynt yn eu gwysio i'r swydd ynadol, gelwir hwy yn yr Ysgrythyr yn Dduwiau. Os oedd ganddynt hwy hawl i gael eu hystyried yn dduwiau yn rhinwedd dwyfol alwad, pa faint cryfach yw fy hawl i i'm galw yn Dduw—y fi, yr hwn a sancteiddiodd y Tad ac a anfonodd i'r byd. Os oeddynt hwy yn "Dduwiau ac yn feibion y Goruchaf" yn rhinwedd eu swyddau bychain hwy, pa faint mwy myfi yn rhinwedd fy swydd Fessianaidd neu Gyfryngol, myfi yr hwn a gysegrodd y Tad ac a'm hanfonodd i'r byd i lanw y swydd? Yr oedd ei gysegriad, ei anfoniad, a'i swydd Ef yn uwch na'r eiddynt hwy; o ganlyniad, yr oedd ei hawl Ef i alw ei hun yn Fab Duw yn gryfach na'r eiddynt hwy. Mae yr honiad yn gableddus, meddai y Phariseaid. Nac ydyw, yw ateb Crist, y mae yn Ysgrythyrol, a'r Ysgrythyr nis gellir ei thori, ac yna dyfyna yr adnod oedd yn taraw yr hoel ar ei phen. Ond yma, o safle uniongrededd, cyfarfyddwn ag anhawsder arall: Wrth ymresymu oddiwrth ddwyfoldeb y swyddogion gwladwriaethol at ei ddwyfoldeb ei hun, onid yw yn profi mai dwyfoldeb swyddogol yw yr eiddo Ef fel yr eiddynt hwy, ac nid Duwdod personol? Dwyfoldeb swydd, ac nid Duwdod natur? Ac onid yw yn sôn am dano ei hun wedi ei "gysegru" a'i "anfon," dau air sydd yn desgrifio swydd, ac nid personoliaeth? Y mae yr ymresymiad yn hollol deg, ac eto teimlwn nad yw y casgliad yn hollol gyson â baich dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu am ei berson ei hun. Hollol gytunwn a chasgliad yr esbonwyr Undodaidd fod y geiriau yn dysgu dwyfoldeb swyddogol, hollol anghytunwn â hwy pan y dadleuant na ddysgant ond dwyfoldeb swyddogol. (3) Nid boddlon mo'r Iesu un amser ar orthrechu y rhai a ddadleuant ag ef, fel Socrates yn ei ymddiddanion ef, ond treiddia bob amser trwy bob ffurfiau, pa un bynag ai seremoniol ai rhesymegol, at yr egwyddor odditanodd, gan ddwyn hono allan i amlygrwydd. Yn gyffelyb y gweithia ei feddwl yma. Yn Exodus geilw Moses y barnwyr yn dduwiau; yn y Salmau geilw Duw hwy yn dduwiau, gan eu gorchymyn i fyw yn deilwng o'r enw goruchel oedd arnynt; yn ei bregethau a'i ymddiddanion geilw yr Iesu ei hun yn Fab Duw, a desgrifia ei hun mewn undeb a Duw. Onid oes egwyddor ddofn, ie, achubol, yn rhedeg trwy yr holl Ddatguddiad, yr egwyddor o undeb rhwng y Dwyfol a'r dynol, yr Anfeidrol a'r meidrol? Tybiai yr Iuddewon yn oes Crist mai yr egwyddor o wrthdarawiad oedd yn esbonio Duw a dyn, yr Anfeidrol a'r meidrol; ac felly yr oedd Undduwiaeth yr H. D. wedi dirywio mewn Phariseaeth yn Ddeistiaeth rongc—gagendor fawr wedi ei sefydlu rhwng Duw a dyn fel na allasai y naill ei chroesi at y llall.

oedd fy Nhad, na chredwch i mi: Ond os ydwyf yn eu 38

---

Oherwydd eu cred yn yr agendor fawr yna y troent haeriad arddunol yr Arglwydd Iesu, Myfi a'r Tad un ydym, yn gabledd. Ar y llaw arall, dengys yr Arglwydd Iesu yn y ddwy adnod dan sylw, fod yr Iuddewon hyn yn gyfeiliornus yn eu hesboniadaeth, ac mai yr egwyddor fawr esboniadol sydd yn gorwedd wrth wraidd crefydd yr H. D. yw, nid gwrthdarawiad ond cydrhywiad y Dwyfol a'r dynol, yr Anfeidrol a'r meidrol. Nid Undduwiaeth noethlwm, fel Undduwiaeth Mahometaniaeth, yw Undduwiaeth yr H. D., heb gyffwrdd na chymysgu â'r greadigaeth, ond Undduwiaeth sydd yn hydreiddio y greadigaeth. "Duwiau ydych," meddai yr H. D.—dyna egwyddor yr undeb rhwng y Dwyfol a'r dynol yn dangos ei hun yn ei dechreuad cyntaf; "Mab Duw ydwyf," meddai yr Arglwydd Iesu,—dyna yr un egwyddor wedi cyrhaedd ei llawn ddadblygiad yn ei Berson cyfansawdd Ef. Nid cabledd yw hynyna, meddai, yn taraw yn erbyn crefydd yr H. D. ond coron y grefydd hono, lle y cyrhaedda ei pherffaith ddadblygiad; y mae y Duw ag oedd yn ymbalfalu am gorphoriad allanol mewn Cyfraith a Salm wedi cyrhaedd llawn ymgnawdoliad ynof fi. O ganlyniad, y mae Dwyfoldeb swyddogol yn ein tywys at Dduwdod personol. Pan y sonir am ddynion yn cynrychioli Duw, tarewir ar unwaith ar yr egwyddor a arweiniodd i'r Ymgnawdoliad; ac y mae yr H. D. yn llawn o honi o'r dechreu i'r diwedd, ond yr Arglwydd Iesu oedd y cyntaf i'w dwyn i amlygrwydd. Yr oedd swyddogion y Ddwyflywiaeth fel llestri a lanwyd â gallu ac awdurdod dwyfol. Y mae y gair Elohim, a gyfieithir duwiau, yn golygu yn gyntaf oll "alluoedd"; felly y "duwiau" oedd y dynion ag oedd wedi eu llenwi a dwyfol ddoniau. "Ac oni allwn weled," gofyna How, "yn y cyfryw ddefnyddiad o'r gair 'duwiau' yn yr H. D. fath o rag-gysgod o undeb y Duwdod a'r Dyndod a wnaethpwyd yn gyflawn yn Nghrist? Ac oni allai ein Harglwydd ewyllysio dangos nad oedd hyd yn nod dan yr Hen Gyfamod y drychfeddwl o gynysgaeddu dyndod â gallu a mawredd dwyfol ddim yn hollol anadnabyddus?" Oh, ddyfnder y gwirionedd a welai llygaid gloewon yr Iesu yn natguddiad yr H.D.! ac oh, y rhyfeddodau rif y dail, sydd yn mherson rhyfedd Adda'r Ail! Gymaint y rhagora ar esbonwyr ei oes ei hun, ie, ar esbonwyr ein hoes ni! Mor fawr y gwahaniaeth fel y gorfodir ni i syrthio wrth ei draed, gan waeddi, Fy Arglwydd a'm Duw! Sylwer fod yr ymadroddion, "Myfi a'r Tad un ydym," "Tydi, a thi yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw," "Mab Duw ydwyf," yn cael eu defnyddio fel cyfystyron.

**ADN. 37. Onid wyf fi yn gwneuthur gweithredoedd fy Nhad.** Paham y geilw y gwyrthiau yn "weithredoedd ei Dad"? (1) I ddysgu, nid eu cyffelybrwydd, ond eu unrhywiaeth. Cyflawnai ei weithredoedd ar symbyliad ac yn enw ei Dad. Eu gwedd swyddogol a roddai iddynt awdurdod Datguddiad. (2) I ddangos nad oedd yn gwneuthur dim o hono ei hun nac ychwaith yn ceisio ei ogoniant ei hun. Mab Duw ydoedd, ond Mab mewn sefyllfa o ddarostyngiad yn cyflawni swydd "gwas." (Gwel v. 19, 20.) Ond pa fodd yr oedd yr edrychwyr i wybod mai gweithredoedd Duw oeddynt, ac nid gweithredoedd yr Iesu ei hun? (1) Un elfen a brofai eu bod yn oruwchnaturiol oedd y nerth goruwchnaturiol ag oedd ynddynt. Nis gwyddom pa beth a fedr gallu dyn ei

gwneuthur, er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd; fel y gwybyddoch ac y credoch, *fod* y Tad ynof

---

wneyd—y mae yn cynyddu bob blwyddyn; ond gwyddom yn bur dda beth na all wneyd. Nid all iachau â gair ddyn a fuasai glaf ddeugain mlynedd namyn dwy, nid all agor llygaid dyn a anesid yn ddall, nid all gyfodi y meirw. Prawf gwyrthiau o'r desgrifiad yna fod gallu goruwchnaturiol yn egnio ynddynt. Ond i feddylwyr yr oes hono yr oedd dau oruwchnaturiol yn bod—y goruwchnaturiol dwyfol a'r goruwchnaturiol dieflig. (2) Arwain hyn ni at yr ail elfen yn ei wyrthiau a brofai eu dwyfol darddle, sef eu cymwynasgarwch. Profai eu nerth eu ffynhonell oruwchnaturiol; ond profai eu daioni fod y ffynhonell hono yn Nuw, ac nid yn y diafol. Yn ol cyfarwyddyd Moses i Israel (Deut. xiii. 1—5), y *test* ag oedd i brofi a ydoedd gweithred yn oruwchnaturiol oedd gallu; ond y *test* ag oedd i benderfynu a oedd y goruwchnaturiol yn ddwyfol neu ddieflig oedd ei foesoldeb neu ei anfoesoldeb. Pob gweithred oruwchnaturiol o Dduw oedd nerthol a da; pob gweithred oruwchnaturiol o ddiafol oedd nerthol a drwg. Moesoldeb pur yw *test* y Dwyfol. Ni pherthyn i ni benderfynu yma a oedd Beelzebub yn cyflawni gwyrthiau yn enw Beelzebub (Matt. xii. 24—27); ond y gred Iuddewig a Chenhedlig ar y pryd ydoedd fod gwyrthiau yn olrheiniadwy i'r Diafol yn gystal ag i Dduw. Ond yr oedd cymeriad moesol godidog gweithredoedd yr Iesu yn profi i bawb diragfarn mai y Tad—ffynhon pob daioni—oedd eu tarddle. Ymdeimlad cryf o hyn a barodd i ddosbarth o'r Phariseaid lefaru adn. 21: "Nid yw y rhai hyn eiriau un â chythraul ynddo. A all cythraul agoryd llygaid y deillion"? Gallasai cythraul eu cau feallai; ond nid allasai cythraul eu hagor—buasai gwneuthur cymwynas yn rhedeg yn ngwddf ei anianawd. Nis gall ffigys daioni dyfu ar ysgall drygioni—buasai hyny yn wyrth yn y byd moesol. **Na chredwch i Mi.** Beth oedd decach? Os nad oedd y gwyrthiau yn ddwyfol nerthol a dwyfol dda, rhyddheid hwy oddiwrth eu rhwymedigaeth i gredu, ie, archai hwy i beidio credu. Mor resymol yw ei apeliadau olaf at gynrychiolwyr y genedl!

**ADN. 38. Ond os ydwyf yn eu gwneuthur**—a phwy yn eu plith a allasai wadu?—**er nad ydych yn credu i Mi, credwch y gweithredoedd.** Nid yw yr un gwrthrychau yn cynyrchu cyffelyb argraph ar bawb. Geiriau doethineb sydd yn dwyn argyhoeddiad i feddylwyr, ac mewn canrif fel yr eiddom ni, pan y mae gwybodaeth yn ymledaenu, hwynthwy sydd mewn bri, a hyny yn gyfreithlon; ond amlygiadau o allu sydd yn dwyn argyhoeddiad i gorph y werin bobl, o ganlyniad gwyrthiau oedd prif brofion Cristionogaeth yn y canrifoedd a aethant heibio. Mor ffol yw gwaith awduron presenol yn dibrisio *evidential value* gwyrthiau—mewn tywyll oesoedd iddynt hwy y perthynai yr unig werth argyhoeddiadol i gorph y boblogaeth, oblegid nid oedd eu meddyliau wedi eu dysgyblu i werthfawrogi gwirionedd. Nid beth oedd gyfaddasaf i achub meddylwyr oedd yr ystyriaeth bwysicaf yn meddwl Duw, ond beth oedd gymhwysaf i achub dynion, boent hwy feddylwyr neu weithwyr. Y mae yn mywyd Crist wirioneddau i bobl feddylgar; ac y mae ynddo hefyd wyrthiau i bobl weithiol. Y mae ffolineb Duw yn ddoethach na dynion. **Fel y gwybyddoch ac y dealloch.** Yn ol y darlleniad

fi, a minnau ynddo yntau. Am hynny y ceisiasant drachefn 39
ei ddal ef: ac efe a ddïangodd allan o'u dwylaw hwynt.
Ac efe a aeth ymaith drachefn dros yr Iorddonen, i'r man 40
lle y buasai Ioan ar y cyntaf yn bedyddio; ac a arhosodd
yno. A llawer a ddaethant atto ef, ac a ddywedasant, 41

---

arferol, yr hwn a amddiffynir gan Hengstenberg, De Wette, ac eraill, "fel y gwybyddoch ac y credoch"; ond yn ol y Cyf. Diw. "fel y gwybyddoch ac y dealloch." Wrth sylwi ar y "gweithredoedd" deuent i wybod; ac wrth barhau i fyfyrio cynyddent mewn goleuni nes dyfod i sefyllfa o wybodaeth. Y mae credu ag sydd yn blaenori gwybod: dyna egwyddor y wybodaeth grefyddol uchaf, yn unol â gwireb Awstin ac Anselm —"credwch fel y dealloch." "Bendigedig yw y rhai ni welsant ac a gredasant" (xx. 29); ond gwell yw ffydd sydd yn dyfod trwy weled na dim ffydd o gwbl. Gwelwn gan hyny bedair *stage* mewn ffydd: (1) credu y gweithredoedd; (2) ei gredu Ef yn herwydd y gweithredoedd; (3) credu ynddo Ef—codi uwchlaw y gweithredoedd; (4) aros ynddo Ef ac yn ei air. **Fod y Tad ynof fi, a Minau ynddo Yntau.** Felly dychwela yma i uchder adn. 30, gyda hyn o wahaniaeth—mai undod yr Hanfod a bwysleisir yno, tra mai undeb y Personau sydd amlycaf yma.

**ADN. 39. Hwy a geisiasant drachefn ei ddàl ef.** Barna Meyer fod eu llidiogrwydd wedi lliniaru; ond cred Calfin a Hengstenberg y llosgai gyda'r un angherddoldeb, ac mai eu hamcan yn awr oedd ei lusgo allan o oriel Solomon i'w labyddio ar yr heol. Ond hwyrach fod y gwirionedd yn gorwedd rhwng y ddau syniad yna,—yn lle taflu ceryg ato, ceisiasant ei ddodi yn y ddalfa, sef gwneyd carcharor o hono a'i osod i sefyll ei dreial o flaen y Sanhedrin. Cabledd oedd un o'r cyhuddiadau a ddygwyd yn ei erbyn yn llys Pilat (xix. 7). **Ac efe a ddiangodd allan o'u dwylaw hwynt.** Cyd. viii. 59. A oedd y ddiangfa yn wyrthiol ai peidio nis gellir penderfynu. Tybia Meyer yr awgryma y geiriau iddynt osod dwylaw anwir arno, ond iddo trwy ysgytiad disymwth dori allan trwy y "cylch" a wnaethant o'i amgylch. Ond gan mai "llaw" sydd yn gwreiddiol, ac nid "dwylaw" fel yn y Gymraeg, bernir gan eraill fod yr esboniad yna yn "dirwasgu" y geiriau yn ormodol. Ond y pwnc yw—dihangodd!

### YR IESU YN PEREA. ADN. 40—42.

**ADN. 40. Ac Efe a aeth ymaith drachefn dros yr Iorddonen.** "Drachefn" mewn cyfeiriad at ei fynediad yno yn i. 28. Peryglai ei fywyd pe arosasai yn hwy yn Jerusalem. **I'r man lle y buasai Ioan ar y cyntaf yn bedyddio.** "Ar y cyntaf" mewn cyferbyniad i'r lle a grybwyllir yn iii. 23,—sef i Bethania (gwel ar i. 28). **Ac a arhosodd yno.** Pa hyd yr arhosodd? O ddiwedd Rhagfyr hyd ddechreu Ebrill, er iddo dori ar ei neillduedd fwy nag unwaith trwy ei ymweliad â chartref Mair, Martha, a Lazarus, ac a dinas Ephraim, megis y coffheir yn y benod nesaf. **A llawer a ddaethant ato ef ac a ddywedasant.** Nid a ddywedasant wrth yr Iesu, ond wrth eu gilydd. *They kept saying*, fel y dynoda amser anmherffaith y ferf. Baich eu sylwadau wrth

Ioan yn wir ni wnaeth un arwydd: ond yr holl bethau a'r
42 a ddywedodd Ioan am hwn oedd wir. A llawer yno a
gredasant ynddo.

---

eu gilydd oedd a ganlyn. **Ioan yn wir ni wnaeth un arwydd.** Sylw annhebyg iawn o gael ei wneyd gan Gnostic Groegaidd yn ysgrifenu rhamant yn yr ail ganrif. **Ond yr holl bethau a ddywedodd Ioan am hwn oedd wir.** Tair blynedd oedd wedi myned heibio er y pregethai yn yr ardal; atdynwyd holl drigolion y wlad ato i wrando arno,—cofient yn dda ei dystiolaethau aml a phwysig am yr Iesu, ac wele! trodd yr oll allan yn wir!

**ADN. 42. A llawer a gredasant ynddo yno.** Yn y llawysgrifau henaf "yno" yw gair olaf yr adnod, er mwyn i'r pwyslais syrthio arno, a dyna ei gyflead yn y Cyf. Diw. Llawer a greadasant ynddo *yno*—yn Perea, y tu hwnt i'r Iorddonen, tra y gwrthodid ac y dirmygid Ef gan drigolion Jerusalem. Pobl ddysyml y wlad yn credu ynddo i fywyd tragwyddol; pobl frientiedig y brifddinas yn anghredu ynddo i ddinystr tragwyddol! "Yno"—yn y wlad ceir mwy o ffydd nag yn y dref; ac y mae ffydd yn sefyll yn uwch yn ngraddfa moesoldeb na gwybodaeth. Gwerthfawrusach dyn ffyddiog heb wybodaeth na dyn dysgedig heb ffydd.

---

## PENOD XI.

Dywed Bayle ei fod wedi clywed y cyfaddefai Spinoza "ped argyhoeddid ef o adgyfodiad Lazarus y torai yn chwilfriw ei gyfundrefn ei hun (oll-dduwiaeth), ac y cofleidiai heb wrthddadl ffydd gyffredin y Cristionogion." Teimla yr esbonwyr anghrediniol yn reddfol mai ofer yw eu hymosodiadau ar y gwyrthiol yn yr Efengylau tra y pery yr hanes am adgyfodiad Lazarus heb ei ddymchwel. Oherwydd paham y maent oll, gyda diwydrwydd a dyfeisgarwch anhygoel bron, wedi cyfeirio eu cyflegrau yn erbyn gwirionedd hanesyddol y benod hon. (1) Damcaniaeth y Ffrangcwr Renan, yn ei lyfr ar fywyd yr Iesu, yw mai ysgêm ydoedd o ddyfais Mair a Martha, ac â'r hon y cydsyniodd yr Iesu, ysgêm i ffugio marw o du Lazarus, ac i ffugio ei adgyfodi o du yr Iesu! Cywilydd i'r gwr a allodd ysgrifenu yn bwyllog y fath ffiloreg. (2) Damcaniaeth Paulus ac eraill yw mai deffro o lewyg a wnaeth Lazarus, yr hwn a chwyddwyd yn nychymyg cyffrous y bobl yn adgyfodiad o feirw. Ond beth am y pedwar diwrnod yn yr ogof-fedd? (3) Damcaniaeth Strauss yw mai *myth* ydyw, chwedl wedi ei goreuro, ffeithiau cyffredin bywyd wedi eu trawsnewid yn farddoniaeth gan ddychymyg bywiog yr Eglwys yn nyddiau ei hiengctyd, a'u gosod mewn trefn gan ryw athronydd Gnosticaidd yn yr ail ganrif. Yr Eglwys a greodd y goruwchnaturiol yn hanes yr Iesu; ond ar y tir yna, pa beth a greodd yr Eglwys? Pe buasai damcaniaeth Strauss yn wirionedd, ni fuasid ond yn gosod gwyrth lenyddol yn lle gwyrth hanesyddol; a llawn cân rwydded credu mewn

gwyrth yn myd mater a chredu mewn gwyrth yn myd meddwl. Gan nad faint o ddirgelwch sydd yn yr hanes y mae yn ddirgelwch yn ol rheswm er uwchlaw rheswm, tra y mae y dirgelwch sydd yn y damcaniaethau anffyddol yn groes i reswm. Ond cyferfydd anffyddiaeth ni yma â'r cwestiwn hollol gyfreithlon, Os yw yr hanes am adgyfodiad Lazarus yn wir, rhaid ei bod yn wyrth synfawr; paham ynte, o'r pedwar Efelgylwr, nad oes ond Ioan yn unig yn cyfeirio ati? Nid ydym yn proffesu y gellir rhoddi ateb llawn a boddhäol; ond gellir ateb mor bell ag i symud y rhwystrau ar ffordd credu. (1) Nid edrychai y Cristionogion boreuol ar godi y marw yn wyrth mor eithriadol fawr ag a wneir yn y ganrif hon. Iddynt hwy ymddangosai un wyrth mor oruwchnauriol a rhyw wyrth arall—ni chydnabyddent raddau yn y goruwchnaturiol; ac onid oeddynt yn gywir? Wrth gyfeirio at agoriad llygaid y dall ac adgyfodiad y marw sylwa Cernyw Williams yn brydferth, "Mae y weithred gyntaf yn ormod i'r Meidrol, ac nid yw yr olaf yn ormod i'r Anfeidrol." Yna dyfyna frawddeg o eiddo Dr. Matheson: "Nis gall fod dadblygiad mewn gwyrthiau; y mae bod *fodfedd* uwchlaw natur mor hynod ag ydyw bod *filldir*." Hollol gyson â'r syniad hwn yw ateb yr Arglwydd Iesu i ddysgyblion Ioan Fedyddiwr: "Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a glywch ac a welwch: y mae y deillion yn gweled eilwaith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddarjaid yn clywed; *y mae y meirw yn cyfodi*" (Matt. xi. 4, 5). (2) Y mae pob un o'r Efengylwyr yn adrodd am un adgyfodiad o feirw; Matthew, Marc, a Luc am adgyfodiad merch Jairus (ix. 23—26; v. 35—43; viii. 49—56); Luc am adgyfodiad mab y weddw o Nain (vii. 11—18); a Ioan am adgyfodiad Lazarus (xi). Onid oedd y naill adgyfodiad mor oruwchnaturiol a'r llall? Nid yw y gwahaniaeth fod y ferch wedi ei bywhau ar ei gwely, a'r bachgen ar ei elor, a Lazarus yn ei fedd, yn lleihau na mwyhau dim ar y wyrth. Felly os gofynir, Paham na chofnododd y tri Efengylwyr Synoptaidd adgyfodiad Lazarus? gellir ateb trwy ofyn, Paham na chofnododd Ioan adgyfodiad y lleill? Diau i lawer eraill dderbyn adgyfodiad, fel y gellir casglu oddiwrth Matt. xi. 5, eithr ni chroniclir ond tri yn unig. Yr hyn a hynoda adgyfodiad Lazarus yw, nid y wyrth, ond yr athrawiaeth a gysylltir â hi a'r manylion â'r rhai ei haddurnir. (3) Awgrymodd Epiphanius, a dilynir ef gan Olshausen, Wordsworth, Lange, Godet, ac eraill fod rheswm digonol dros ddistawrwydd y tri Efengylwr cyntaf yn y ffaith fod Lazarus a'i chwiorydd yn fyw pan yr ysgrifenent hwy eu cofiantau, a bod rheswm neillduol, yn ngelyniaeth yr Iuddewon at y teulu (xii. 10), dros iddynt gadw yr hanes yn gêl. Dilys genym fod llawer o rym yn y golygiad hwn os gelllr profi eu bod yn fyw pan y cyhoeddwyd yr Efengylau. Yn ol traddodiad yr Eglwys yr oedd Lazarus yn 30 mlwydd oed yn amser cyflawniad y wyrth, a bu byw 30 mlynedd wedi'n; felly nid yw awgrym Epiphanius

## PENOD XI.

1 AC yr oedd un yn glaf, Lazarus o Bethania, o dref Mair
2 a'i chwaer Martha. (A Mair ydoedd yr hon a

---

mor ddiles ag y mŷn llawer o'r esbonwyr diweddaraf. (4) Fodd bynag, credwn ni gyda Meyer mai yr un rheswm sydd gan yr Efengylwyr eraill dros adael allan adgyfodiad Lazarus ag sydd gan Ioan dros anwybyddu adgyfodiad merch Jairus a mab y weddw o Nain, sef mai amcan y tri cyntaf oedd cofnodi geiriau a gwyrthiau yr Athraw yn Galilea, tra mai amcan Ioan oedd cofnodi ei eiriau a'i wyrthiau yn Judea. O osod y rhesymau hyn at eu gilydd, barnwn eu bod yn ddigonol i foddloni yr ymofynydd pryderus er feallai nid yr ymofynydd cecrus.

### Y CHWIORYDD YN ANFON AT YR IESU. ADN 1—16.

**ADN. 1. Yn awr yr oedd rhyw un yn glaf.** Gwell cyfieithu y cysylltair Groeg (*de*) yn "ond" neu "yn awr," ac nid yn "ac," i ddangos y rheswm paham y tòrodd yr Iesu ar ei neillduedd yn Perea. **Lazarus o Bethania, o dref Mair a'i chwaer Martha.** "O (*apo*) Bethania, o (*ek*) dref Mair." Gwelir y defnyddir dau arddodair gwahanol—*apo* yn golygu ei fod yn drigianol ar y pryd yn Bethania, *ek* ei fod yn enedigol o dref Mair a'i chwaer Martha (gwel ar i. 44). Yn awr, cyfyd y gofyniad, Ai un tref ynte dwy a ddynodir yn yr ymadrodd? A oedd Bethania yr un a thref Mair a'i chwaer Martha? (1) Crêd Hengstenberg ac eraill y golygir dwy dref, sef Bethania lle yr oedd Lazarus a'i chwiorydd yn awr yn trigo, a thref arall lle eu ganed, Magdala wrth bob tebyg. Ar y dybiaeth hon yr hunaniaetha Hengstenberg Mair Bethania a Mair Magdala (Magdalen). (2) Ond tra y mae yr eglurhad yna yn hollol gyson â defnyddiad yr arddodeiriau, credwn ni mai Meyer sydd yn iawn, yr hwn, tra yn cydnabod y gwahaniaeth yn yr arddodeiriau, ni chydnebydd wahaniaeth yn y trefi—yr un yw Bethania a thref neu bentref Mair a'i chwaer Martha. O ganlyniad, yr hyn a ddysga Ioan yw fod Lazarus yn breswylydd yn ac yn frodor o Bethania, ac felly yn hollol adnabyddus yn y wlad a chanddo gylch ehang o gyfeillion. Byrhad yw Lazarus o Eleazarus—enw Hebreig gyda therfyniad Groegaidd, ac yn arwyddo "Duw sydd gymhorth." Pwy oedd Lazarus? Nid boddlon yr esbonwyr ar yr hysbysrwydd a geir yma, ei fod yn frawd i'w chwiorydd, ond cymhellir hwy gan chwilfrydedd i ymdrechu darganfod hanes cymeriad mor ddyddorol. (*a*) Cysegra Hengstenberg 26 tudalen o'i Esboniad i gyfrodeddu trwy eu gilydd wahanol adranau o'r Efengylau er cyfansoddi hanes gweddol gyflawn o'r teulu. Yn ol ei farn ef, sylfaenedig ar xii. 2 o'i chydmaru â Matt. xxvi. 6—13, yr oedd Martha yn wraig i Simon y Pharisead: paham y gwasanaethai Martha yn nhŷ Simon yn Bethania, os nad ydoedd yn wraig iddo? Ac y mae hyd yn nod Schaff yn cyfaddef ei "bod yn hollol bosibl fod Lazarus yn fab neu frawd-yn-nghyfraith i Simon y Pharisead." Yn marn Hengstenberg, yr un oedd Mair Bethania a Mair Magdalen, a'r un oedd Mair Magdalen a'r "wraig yr hon oedd bechadures," yr hon a olchodd draed yr Iesu â'i dagrau ac a'u sychodd â gwallt ei phen. Sylfaena y casgliad hwn ar Ioan xi. 2;

xii. 1—7, o'u cydmaru â Luc vii. 36—50; Luc viii. 2. Drachefn barna yr un esboniwr mai yr un oedd Lazarus â'r gwr ieuangc goludog y darfu i'r Iesu ei "hoffi" (Matt. xix. 16—22; Marc x. 17—22), yr hwn hefyd oedd "lywodraethwr" neu aelod o'r Sanhedrin (Luc xviii. 18—29); ac efe hefyd oedd y dyn ieuangc a ddilynodd yr Arglwydd Iesu ar ol ei ddalfa yn yr Ardd, pan y gadawodd y dysgyblion oll Ef, ac y ffoisant,—"y dyn ieuangc oedd wedi ymwisgo â llian main ar ei gorph noeth; a'r gwŷr ieuaingc a'i daliasant ef. A hwn a adawodd y llian, ac a ffodd oddiwrthynt yn noeth" (Marc xiv. 51, 52). Y mae y rhesymau dros y casgliad hwn yn amryw: yr oedd y llywodraethwr yn "ieuangc," ac y mae hwn yn "ieuangc"; cymerodd yr amgylchiad le yn Gethsemane, yn ymyl Bethania,—pa ddysgyblion oedd gan yr Iesu yno ond Lazarus a Simon y Pharisead? Pan oedd y dysgyblion oll wedi gadael a ffoi, y mae hwn yn ei ddilyn gyda ffyddlondeb mwy na'r eiddynt hwy; rhaid ei fod dan rwymedigaeth ryfedd i'r Iesu—pwy a allasai fod ond Lazarus, yr hwn a gyfodasid o farw yn fyw? Ymdrechodd y swyddogion ei ddàl —nid y "gwŷr ieuaingc," gan nad yw y geiriau yn y Cyf. Diw.,—paham ei ddàl ef, pan yn gadael i'r dysgyblion ffoi? Oblegid penderfyniad y Sanhedrin "i ladd Lazarus hefyd" (Ioan xii. 10). A beth am y "llian main"? *Sindōn* y geilw yr Efengylwr ef, yn awgrymu ei fod o wead y Sidoniaid neu yr Indiaid, o ran defnydd yn debyg i *satin*, ac a ddefnyddid fel amdo i'r marw, ac weithiau fel crys nos i'r byw. Ai nid dyna yr "amdo" yn yr hwn y gorweddodd yn y bedd, ac yn yr hwn y cysgai ar ol hyny er ei gadw mewn cof parhaus am ei adgyfodiad rhyfedd? (2) Rhamant y geilw yr esbonwyr diweddar olygiad Hengstenberg, y rhai a faentumiant nad oes un sylfaen iddo yn yr hanes Ysgrythyrol, ac nad priodol cysylltu y teulu hwn â neb arall y sonir am dano yn yr Efengylau. (3) Fodd bynag, cawn yr Esgob Wordsworth, yr Archddiacon Watkins, a'r Deon Plumtre, tra yn ymwrthod â damcaniaeth Hengstenberg o barth i'r chwiorydd, yn gogwyddo yn gryf i'w mabwysiadu yn ei pherthynas â'r brawd, a pherthyn i ni gyfaddef ein cydymdeimlad â'u barn, er wrth gwrs nas gellir cyrhaedd sicrwydd gwyddonol. Wrth daflu llygad dros unrhyw daflen o Gysondeb yr Efengylau, canfyddir ar unwaith fod yr ymddiddan rhwng y llywodraethwr ieuangc cyfoethog, damheg y gwr goludog a Lazarus, ac adgyfodiad Lazarus o Bethania wedi dygwydd o fewn ychydig wythnosau i'w gilydd. A oes cysylltiad rhyngddynt? Barna yr awdwyr uchod fod. *(a)* Yr oedd y gwr ieuangc yn gyfoethog ac yn llywodraethwr, sef aelod o'r Sanhedrin; yr oedd Lazarus hefyd yn ieuangc a chyfoethog, megis y prawf y benod hon a'r ganlynol, ac awgryma adn. 45—47 y perthynai i'r dosbarth llywodraethol. Cyfatebiaeth go hynod. *(b)* Dywedir i'r Iesu "hoffi" y llywodraethwr ieuangc, ac yn adn. 5 dywedir fod yr Iesu yn "hoffi" Lazarus. Cyfatebiaeth go hynod eto. *(c)* Coffheir i'r gwr ieuangc fyned ymaith yn "athrist" oblegid nad ydoedd barod i ranu ei gyfoeth rhwng y tlodion. A adawodd yr Arglwydd Iesu i wr ieuangc mor hoff ac addawol lithro yn ol i ddamnedigaeth yr enaid heb ymgais ychwanegol i'w enill i deyrnas Dduw? Naddo; canys yn fuan wedi'n llefarodd ddamheg y gwr goludog a Lazarus dlawd—yr unig ddamheg lle y defnyddia yr Iesu enw priod *(proper name)*. Paham yn awr? I wasgu yr argyhoeddiad o wagedd cyfoeth i gydwybod y gwr ieuangc goludog, a'i enw Lazarus. Ond tra yn cadw yr enw, y mae yn gwrthdro

enneiniodd yr Arglwydd âg ennaint, ac a sychodd ei draed
ef â'i gwallt, yr hon yr oedd ei brawd Lazarus yn glaf.)
3 Am hynny y chwïorydd a ddanfonasant atto ef, gan
ddywedyd, Arglwydd, wele, y mae yr hwn sydd hoff

---

*(reverse)* y drefn, er mwyn deffro meddylgarwch. Y mae Lazarus y ddamheg yn dlawd yma ond yn gyfoethog yn yr arall fyd, tra y mae y goludog yn byw yn frâs yma ond draw heb gymaint a dyferyn o ddwfr i oeri ei dafod! Erbyn cyrhaedd y benod hon, y mae y llywodraethwr ieuangc wedi ei lwyr enill—efe yw Lazarus, canolbwynt yr hanes rhyfedd. *(d)* Wrth y llywodraethwr dywedodd yr Iesu, "Un peth sydd ddiffygiol"; wrth aelod arall o'r teulu hwn, Martha, dywedodd yr Iesu, "Un peth sydd angenrheidiol." Yn sicr y mae y cyfatebiaethau mor lluosog a tharawiadol nes creu amheuaeth yn y meddwl mai damweiniau ydynt i gyd. Ond cofier—dyfaliad prydferth ydyw, ag sydd yn dwyn ynddo nodau tebygolrwydd, ac nid sicrwydd diamheuol. Os breuddwyd ydyw, breuddwyd hardd, nes codi dymuniad yn yr enaid am iddo fod hefyd yn wir.

O'r teulu Martha, y mae yn debyg, oedd yr henaf, oblegid hi a enwir gyntaf yn mhob man ond yn yr adnod hon; a geilw Luc y cartref yn "dŷ Martha" (Luc x. 38). Ond yr oedd Mair wedi cyrhaedd mwy o enwogrwydd yn eglwys y ganrif gyntaf, yn ol prophwydoliaeth yr Athraw, yn rhinwedd y weithred a goffheir yn yr adnod nesaf, yr hyn a gyfrif am y ffaith yr enwai Ioan hi yn gyntaf yn yr hanes hwn. Gwahaniaetha esbonwyr grŷn lawer am darddiad y gair Bethania: dadleua Keim mai yr ystyr yw Ty Galar, Luthardt mai Ty y Tlawd, ond y farn a gymeradwyir fwyaf yw mai Ty y Palmwydd *(Date-trees*, nid *Palm-trees)*, oherwydd cyflawnder y coed ffrwythau hyn un amser yn yr ardal. Golyga y gair gwreiddiol *(kōmēs)*, bentref yn amlach na thref; ac y mae y pentref yn adnabyddus yn awr, cynwysedig o ugain neu ychwaneg o fwthynod dirân, a dangosir ynddo fedd Lazarus, ogof mewn craig, a maen yn ddrws iddi, yn ol adn. 38. Nid Bethania mohono yn awr ond **El-azarieh, El-azir, Pentref Lazarus.**

**ADN. 2. A Mair ydoedd yr hon a eneiniodd yr Arglwydd âg enaint, &c.** Gan mai yn y benod nesaf yr adrodda Ioan fanylion y weithred hon, gadawn ein sylwadau arni nes cyrhaedd yno; ond crybwylla am dani yma, gan fod son am ei gweithred glodwiw yn yr holl eglwysi, yn ol prophwydoliaeth yr Iesu, er gosod neillduolion a nodweddion y wyrth yn eglur o flaen ei ddarllenwyr. Ni ddylesid rhoddi yr adnod mewn cromfachau, fel yn y Cyfieithiad Cymraeg, megis pe byddai yr hanes yn gyflawn hebddi,—y hi sydd yn dangos y cyfeillgarwch cryf a fodolai rhwng y teulu a'r Iesu, ac felly yn egluro ymddygiad y chwiorydd tuag ato Ef, a'i ymddygiad Ef tuag atynt hwythau.

**ADN. 3. Y chwiorydd gan hyny a ddanfonasant ato ef.** Fel prawf o'u cyfeillgarwch gwyddent i ba le yr oedd wedi cilio o Jerusalem, ac anfonasant genad ato i'w hysbysu am afiechyd peryglus eu brawd. **Gan ddywedyd, Wele, y mae yr hwn yr wyt ti yn ei garu yn glaf.** Nid, yr hwn sydd yn dy garu di, ond yr hwn yr wyt ti yn ei garu, i ddangos, medd Bengel, eu gwyleidd-dra. Y gair yw *philein*—y cariad sydd yn seiliedig ar ragoriaethau hawddgar naturiol yn fwy nag ar rinweddau

gennyt ti, yn glaf. A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd, 4
Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw,

---

hawddgar moesol. Yr oedd rhywbeth deniadol yn ei olwg a'i dymher megis ag oedd yn y llywodraethwr ieuangc goludog, yn annibynol ar dduwioldeb dwfn. Seilient eu hapêl, nid ar gariad Lazarus at yr Iesu, ond ar gariad yr Iesu at Lazarus. Mor gywir yn ei duwinyddiaeth bob amser yw greddf duwioldeb! "Ni ddywedant, Tyred," meddai Austin. "Digon oedd anfon y newydd i un oedd yn caru; digon iddo Ef oedd cael gwybod; oherwydd nid un yw Efe i garu ac esgeuluso."

**ADN. 4. Ond Iesu, pan glybu, a ddywedodd.** Wrth bwy y dywedodd? Wrth y genad yn gystal â'r dysgyblion. Dyma ei ateb i'r chwiorydd, yr hwn yn ddiau a adroddwyd iddynt (adn. 40). **Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth.** (1) Barna Ebrard ac eraill mai meddwl yr Iesu oedd yr ataliai farwolaeth, y troai rwysg y clefyd yn ei ol. Ac os dywedir fod mynegiad yr Iesu yn anghyson â'r ffeithiau a ddilynodd, atebant nad yw perffeithrwydd yr Arglwydd Iesu yn hawlio hollwybodaeth o'i du ef. Bwriadai ei iachau cyn marw o hono; ond gorphenodd angeu ei waith cyn iddo Ef wybod. Ond y mae ateb Godet yn bwrpasol, sef, er nad oedd perffeithrwydd moesol yr Arglwydd Iesu yn hawlio hollwybodaeth, eto yr oedd yn gofyn ar iddo beidio gwneuthur haeriad o berthynas i fater yr oedd mewn anwybodaeth am dano. (2) Gan hyny, rhaid i ni syrthio yn ol ar eglurhad Alford: "Yr unig ddehongliad iawn o'r ateb hwn ac o holl drafodaeth yr Iesu yma yw,—y gwyddai ac y rhagwelai yr oll o'r dechreu, yn gystal terfyn clefyd Lazarus a'i gyfodiad drachefn a'r rhan a gymerai y wyrth hon mewn dwyn i derfyniad ei weinidogaeth ei hun." Gwyddai yr Iesu ar y pryd fod Lazarus eisoes wedi marw, ar ol i'r genad adael un Bethania a chyn cyrhaedd y Bethania arall; ond gwyddai hefyd nad oedd y clefyd i farwolaeth (*pros thanaton*), brawddeg nad yw, yn ol Chrysostom, Awstin, a Chalfin, yn cau allan farwolaeth, ond sydd yn cau allan *aros* mewn marwolaeth. Nid marwolaeth oedd y terfyn, gan y gwyddai yr Iesu eisoes fod adgyfodiad i ddilyn y farwolaeth. **Ond er gogoniant Duw.** Nid er ychwanegu gogoniant Duw ynddo ei hun, ond er ei chwyddo yn marn dynion. Rhoddai gyfle i Dduw ddyfod i'r golwg yn ei allu a'i gydymdeimlad, a thrwy hyny pârai i ddynion synied yn fwy teilwng am dano. Hawlia yr arddodair "er" (*huper*) sylw arbenig. Yr un arddodair ydyw ag a ddefnyddir yn x. 11: "y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros (*huper*) y defaid." Gan hyny, y mae rhyw elfen yn gyffredin rhwng afiechyd Lazarus a marwolaeth Crist. Beth ydyw? Megis y bu Crist farw dros, er mwyn, yn mhlaid y defaid, felly bu Lazarus farw dros, er mwyn, yn mhlaid gogoniant Duw. Gormod yw dysgu fod elfen iawnol yn afiechyd ac angeu y saint; ond er nad oes elfen iawnol, y mae elfen aberthol,—"fel y cyflawnid ynof fi yr hyn sydd yn ol o ddyoddefaint Crist." Ac y mae cofio hyn yn trawsnewid ac yn gwedd-newid anhwylderau bywyd,—o fod yn anffodion troant yn aberthau. Nid yn unig y mae afiechyd er mantais y saint, ond y mae hefyd, fel clefyd Lazarus, "er mantais gogoniant Duw"—cyfle i Dduw i ddangos ei allu a'i ras. Duw ar ei fantais o glefyd a marwolaeth Lazarus! Duw ar ei fantais o'n hafiechyd a'n hangen ni! Digon diflas yw dyoddef er ein mantais

5 fel y gogonedder Mab Duw trwy hynny. A hoff oedd gan
6 yr Iesu Martha, a'i chwaer, a Lazarus. Pan glybu efe gan

---

ein hunain; ond dyoddef er mantais Duw—y mae yn ysbrydoliaeth o'n mewn, ac yn deffro ynom yr ysbryd arwrol, yr ysbryd hunan-aberthol! Duw ar ei fantais o'm hafiechyd i! Dyma egwyddor newydd, ag sydd yn troi selni o fod yn anffawd i fod yn ragorfraint. Llawer sydd wedi ei ysgrifenu gan athronwyr a duwinyddion ar ddirgelwch poen (*the Mystery of Pain*), ond pery yn eu dyfaliadau hwy yn gymaint o ddirgelwch ag erioed; ond dyma un frawddeg o eiddo yr Arglwydd Iesu ag y mae athroniaeth yn hollol, a duwinyddiaeth yn rhanol, wedi ei hebargofi—"nid yw y clefyd hwn i farwolaeth ond er mantais gogoniant Duw"—ag sydd yn erlyn y tywyllwch ac yn saethu goleu haul i wely cystudd, ac i waelod bedd. Nid yn unig y mae dynion, ond y mae Duw, ar ei fantais o boen y cread! Gan hyny, henffych, afiechyd; croesaw, angeu; os yw Duw ar ei enill drwyddynt. Dyoddefwn yn llawen drosto Ef yr hyn a ddyoddefwn yn rwgnachlyd drosom ein hunain. Dyma un o'r adnodau nad yw duwinyddion eto ond wedi bron dechreu pysgota yn ei dyfnder. **Fel y gogonedder Mab Duw trwy hyny.** Trwy beth? Nid yw gramadeg yn penderfynu—trwy glefyd Lazarus neu trwy ogoniant Duw; ond pan y mae rheolau cystrawen yn ffaelu, rhaid i synwyr cyffredin gyflawni y diffyg—trwy y clefyd. "Fel y gogonedder Mab Duw." Fel y tŷn yr Arglwydd Iesu tua'r Groes, arfer lai o ochelgarwch wrth lefaru am dano ei hun. "Mab y Dyn" y galwai ei hun gan amlaf hyd Wyl y Cysegriad, "Mab Duw" yn awr. Y mae am ddadlenu ei ddwyfol bersonoliaeth fel na chai anghredinwyr esgus dros eu pechod. Yr amcan cyffredinol oedd gogoneddu Duw; ond y mae yr amcan cyffredinol yn cael ei neillduoli—daw gogoniant Duw i'r golwg yn ngogoniant ei Fab. Yn marwolaeth Lazarus rhoddir cyfle i Fab Duw i ddangos pwy ydoedd. "Fel (*hina*), i'r pwrpas, y gogoneddid Mab Duw trwy hyny." Beth a olygir wrth ddyweyd fod clefyd Lazarus i'r dyben o ogoneddu Mab Duw? (1) Y cawsai gyfle, fel yr awgrymwyd eisoes, yn marwolaeth Lazarus i ddangos yn eglur y dwyfol ogoniant a drigai ynddo dan len ei gnawd (ii. 11). (2) Y buasai y wyrth o gyfodi Lazarus o'r bedd yn foddion i'w gyfodi yntau i'r Groes, a thrwy y Groes i'r Orsedd. Profa y benod sydd yn dilyn mai dyna *ganlyniad* y wyrth o du dynion, ac mai dyna *ddyben* y wyrth o du Duw.

**ADN. 5. Yn awr yr Iesu a garai Martha a'i chwaer a Lazarus.** Nid yr un gair sydd yma am "garu" ag yn adn. 3. Yno y gair yw *philein*, yma *agapān*. Beth yw y gwahaniaeth? Barna Dr. Dods ac eraill nad oes wahaniaeth rhyngddynt yn y Test. Newydd, ond y defnyddir hwy fel cyfystyron, megis "serch" a "chariad" yn y Gymraeg,—casgliad yr ydym ninau wedi ein temtio fwy nag unwaith i'w dynu. Ond ar y cyfan coeliwn fod cysgod o wahaniaeth. Beth ydyw? (1) Etyb Westcott mai dyna yw *philein*—"serch personol yn seiliedig ar berthynas neillduol"; ac mai dyna yw *agapān*—"y teimlad cyffredinol o barch, ymddiriedaeth sydd yn tarddu oddiar ystyriaeth a gwybodaeth." Etyb Plummer fod "*philein* (Lladin *amare*) yn dynodi gwres teimladol nwydol, sydd yn caru heb ofyn paham, serch cariadon, rhieni, ac yn y blaen"; a bod y gair "*agapān* (Lladin *diligere*) yn dynodi ymlyniad tawel a doeth,

hynny ei fod ef yn glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd,
ddau ddiwrnod. Yna wedi hynny efe a ddywedodd wrth y 7

---

serch cyfeillion." Etyb Green fod y cyntaf yn "darlunio serch cynhes greddfol, a'r ail serch at gymeriad." Tra yn caniatau fod eu deffiniad o *philein* yn gywir, nis gallwn mewn un modd ganiatau cywirdeb eu deffiniad o *agapān*. Os ystyr *agapān* yw "serch at gymeriad" fel y dywed Green, neu "deimlad cyffredinol o barch," a hwnw yn creu "ymddiriedaeth" fel y dywed Westcott, neu "gariad fel sydd rhwng cyfeillion" fel y dywed Plummer, pa fodd y cysonir hyny a iii. 16: "Canys felly y carodd (*agapān*) Duw y byd"? Nid caru cyfeillion oedd hynyna, ond caru gelynion; nid serch at gymeriad, ond serch yn absenoldeb cymeriad; nid teimlad cyffredinol o barch, ond teimlad cyffredinol o dosturi lle yr oedd parch yn anmhosibl. (2) O ganlyniad gorfodir ni i edrych ar *philein* fel yn dynodi hoffder yn seiliedig ar resymau allanol (*objective*), ymserchiad mewn dyn yn rhinwedd ei ragoriaethau, ond y rhagoriaethau naturiol yn fwy amlwg na'r rhagoriaethau moesol; ac ar *agapān* fel cariad yn seiliedig yn fwy ar resymau tufewnol (*subjective*), yn ffynhonellu yn fwy yn ewyllys yr hwn sydd yn caru nag yn nghymeriad yr hwn sydd yn cael ei garu, cariad a'r elfen foesol yn llywodraethu ynddo, ac mewn canlyniad yn fwy difrifol a pharhaol. Yn *philein* yr *object* sydd yn benaf yn y golwg; yn *agapān* y *subject*. Yn gyson â hyn cawn na ddefnyddir *philein* am gariad Duw at ddyn, nag am gariad dyn at Dduw, ond *agapān* bob amser,—cariad yn y diriogaeth foesol; ond defnyddir y ddau am gariad y Mab Ymgnawdoledig at ddynion, a chariad dynion ato yntau ac at eu gilydd. Y mae dynion da yn yr eglwys y gallwn eu hoffi (*philein*) a'u caru (*agapān*); y mae dynion duwiol eraill na allwn eu hoffi, ond er hyny pery yn ddyledswydd arnom i'w caru—caru dynion yn nerth ein hewyllys ein hunain na allwn eu hoffi yn rhinwedd eu hawddgarwch personol eu hunain. "Felly y carodd Duw y byd!"

Tra y cymhwysa y chwiorydd y gair *philein*—serch dynol, naturiol, at gariad Crist at eu brawd, defnyddia Ioan y gair *agapān* i ddesgrifio cariad Crist at y chwiorydd. Paham? (1) I ochel camgasgliad, meddai Meyer, am natur ei serch. Ac nid oedd hyny yn ddiangenrhaid, canys gwyddom i Renan olrhain ing Gethsemane i raddau i serch siomedig. Cywilydd i'r awdwr a ddwg syniadau mor ddaearol i awyrgylch mor ddwyfol bur! (2) Ond gellir ychwanegu fod Ioan am i ni edrych ar ei serch atynt o randiroedd uchaf moesoldeb. Diau genym yr ymhyfrydai yr Arglwydd Iesu yn y teulu duwiol hwn. Mor adfywiadol i'w ysbryd ar ol ei bregethau taer a'i ddadleuon brwd yn Jerusalem y dydd oedd encilio o'r ddinas hyd bentref Bethania, tua dwy filldir i fynu yn y mynyddoedd, i dreulio y nos yn nghymdeithas sanctaidd y brawd a'r ddwy chwaer! Ond y cariad a arweiniodd i gyflawniad y wyrth ydoedd gariad o natur uwch—yr un o ran natur a chariad Duw at fyd colledig.

**ADN. 6. Gan hyny, pan glybu efe ei fod yn glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd ddau ddiwrnod.** Paham yr arhosodd? (1) I brofi eu ffydd, medd Olshausen. Yr oedd yn werth treisio rhyw gymaint ar eu teimladau naturiol os gellid trwy hyny gryfhau eu grasusau ysbrydol. (2) Mŷn Neander, Tholuck, ac eraill, fod ganddo waith pwysig ar ei law ar y pryd, yr hwn ni allai ei adael yn ddisyfyd. Traddodai, o bosibl,

8 disgyblion, Awn i Judea drachefn. Y disgyblion a

---

gyfres o bregethau i breswylwyr Perea megis ag i bobl Jerusalem; fodd bynag, rhwystrid Ef i adael ar unwaith gan amgylchiadau anorfod. Diamheu fod yr oediad yn treisio ei deimladau Ef yn llawn cymaint a theimladau y chwiorydd. (3) Ond cred Meyer, Alford, ac eraill mai disgwyl yr ydoedd am awgrym oddiwrth ei Dad. Nid allasai ddilyn ei dueddiadau naturiol ei hun, onite prysurasai yn ddioed i gynorthwyo y chwiorydd yn eu cyni a'u gofid; rhaid oedd iddo glywed awrlais ei Dad yn taraw cyn symud na gweithredu, ac fe darawai hono pan y deuai yr awr fwyaf ffafriol i gyrhaedd yr amcanion daionus oedd mewn golwg.

**ADN. 7. Yna, wedi hyny, Efe a ddywedodd wrth y dysgyblion.** Y mae "wedi hyny" yn cynwys fod ysbaid o amser rhwng adn. 4 a'r adnod hon: "dau ddiwrnod," meddai Ioan, yn yr adnodau cydrhyngddynt. **Awn i Judea drachefn.** Cyfeiriad at x. 40. Nid "Awn i Bethania" lle yr oedd croesaw cynhes yn eu haros, ond "i Judea" lle yr oedd malais yn cynllunio eu dinystr; a'r crybwylliad hwn am Judea sydd yn achlysuro y ffurf arbenig ar atebiad y dysgyblion yn yr adnod nesaf.

Yr ydym yn awr wedi cyrhaedd y man priodol i ystyried y cysylltiad rhwng cariad yr Iesu at y teulu yn adn. 5, a'i oediad yn myned atynt yn adn. 6. Beth yw swyddogaeth y cysylltair "gan hyny" yn adn. 6? Beth sydd yn dilyn y "gan hyny"? (1) Yn ol y darlleniad Cymraeg a Saesonaeg arferol, "aros dau ddiwrnod." "Gan hyny," gan fod yr Iesu yn caru y teulu, yn lle fod ei gariad yn peri iddo brysuro i'w cynorthwyo yn eu trallod, fel y disgwyliem ni yn mlaenllaw, pâr iddo oedi dau ddiwrnod. (2) Ond mýn Godet, Reynolds, Dods ac eraill mai ffordd ryfedd yw honyna i ddangos cariad; ac o ganlyniad mai yn adn. 7 y mae ei gariad yn amlygu ei hun. Dadleuant fod *y pote men* yn adn. 6 yn gofyn *de* yn adn. 7; ac felly mai *comma* neu *semicolon* a ddylasai fod yn niwedd adn. 6 ac nid *full stop* fel yn y darlleniad arferol. Yn ol hynyna y darlleniad yw—"Gan hyny, pan glybu Efe ei fod yn glaf, Efe a arhosodd, y mae yn wir, yn y lle yr oedd ddau ddiwrnod; yna, wedi hyny, Efe a ddywedodd wrth y dysgyblion, Awn i Judea drachefn." Gan hyny, yn y myned i Judea, ac nid yn yr aros yn Perea, y daeth gweithrediad ei gariad i'r golwg. Esboniad goleu a boddhäol ddigon. (3) Gwell genym ni, ar y cyfan, gyfuno y ddau. Y mae y cariad yn dyfod i'r golwg yn yr "aros" yn gystal ag yn y "myned," yn y chwerw yn gystal ag yn y melus. Creulondeb, medd un dosbarth o feirniaid, ac nid oes neb yn eu plith yn uwch ei gloch yma na Strauss, oedd aros dau ddiwrnod lle yr ydoedd, a thrwy hyny rwygo teimladau y chwiorydd,—caledwch, nid cariad. Ond nis gallwn gydolygu â hwy. Pe *sentimentalism* fuasai cariad, gallasem gredu y prysurai ar unwaith i ddwyn gwaredigaeth; ond *agapê* ydyw—cariad egwyddor ac ewyllys yn hytrach na serch natur a theimlad; gall hwn oedi, os bydd hyny yn ogoniant i Dduw a lles i ddynion, er i hyny gynwys dyoddefaint. Yn ngolwg y cariad hwn nid dyoddefaint yw y peth gwaethaf a all ddygwydd i ddyn ond pechod; am hyny, caniata y cyntaf yn aml er mwyn cael gwared o'r olaf. Y mae Dwyfol Gariad yn hollol gyson âg oediad dau ddiwrnod, ie, â dwy flynedd ac â dwy ganrif. Egwyddor yw cariad yn ei ffurf uchaf, nid

ddywedasant wrtho, Rabbi, yr oedd yr Iuddewon yn awr
yn ceisio dy labyddio di; ac a wyt ti yn myned yno
drachefn? Yr Iesu a attebodd, Onid oes deuddeg awr o'r 9
dydd? os rhodia neb y dydd, ni thramgwydda, am ei fod

---

*sentiment.* Ar yr un pryd, rhaid i'r oediad gael ei ddilyn gan waredigaeth, onite dirywia cariad yn ddifaterwch. Rhaid i'r "aros am ddau ddiwrnod" gael ei ddilyn gan "Awn i Judea drachefn."

**ADN. 8. Rabbi, yr oedd yr Iuddewon yn awr yn ceisio dy ladd di.** Cyfeiriad at viii. 31. Y mae "yn awr" *(nun)*, o'i gysylltu âg amser anmherffaith y ferf *(ezetoun)*, yn dwyn y gorphenol i lawr i'r presenol. "Yr oedd yr Iuddewon *just* yn awr," nid yw eu gelyniaeth wedi cael amser i oeri. **Ac a wyt ti yn myned yno drachefn?** Rhyfeddent y bwriadai ddychwelyd i Judea lle yr oedd ei einioes mor ddiweddar wedi bod mewn enbydrwydd. Profa eu hymresymiad anfoddlonrwydd i ddychwelyd; yn eu bryd hwy ni fuasai hyny amgen na themtio Rhagluniaeth, rhedeg yn ddianghenrhaid i ddannedd perygl.

**ADN. 9. Onid oes deuddeg awr yn y dydd?** Barna Godet i'r Arglwydd Iesu lefaru ix. 4 pan oedd yr haul ar fachlud, tra y llefarodd y geiriau hyn pan oedd yr haul newydd godi. Nid yw profi hynyna o bwys yn y byd i'r dehongliad; eto y mae yn dra thebygol fod y dybiaeth yn iawn o barth i'r ymddiddan hwn. Yr oeddynt ar gychwyn o Bethania yn Perea i Bethania yn Judea; a chan fod taith diwrnod o'u blaen, codasant yn foreu, ac meddai yr Iesu, Onid oes deuddeg awr o'n blaen cyn iddi noswylio, sef o godiad haul hyd ei fachludiad? **Os rhodia neb y dydd ni thramgwydda, am ei fod yn gweled goleuni y byd hwn,** sef goleuni yr haul. Golyga y gair "tramgwyddo" daraw troed wrth gareg rwystr; anfynych y gwneir hyn y dydd, eithr nid mor anfynych y nos. Dyna yr ystyr naturiol: beth yw yr egwyddor foesol? Ni ddengys esbonwyr fwy o gyweinrwydd mewn dim nag yn eu hatebion i'r gofyniad hwn. (1) Dadleua De Wette mai gwaith bywyd a feddylir, y gwaith rhagordeiniedig i ddyn ei gyflawni yn ystod ei oes ar y ddaear. Y mae gan bob dyn ei gyfran benodol o waith i'w orphen cyn noswylio; ac nid oes ganddo ond amser terfynedig i'w gyflawni, deuddeg awr a dim yn rhagor—nis gall chwanegu trydedd awr ar ddeg. Gwaith penodol ac amser penodol—beth sydd yn canlyn? Y rhaid iddo weithio tra yw hi yn ddydd; os na fanteisia ar y deuddeg awr, y cyfleusderau sydd yn ei gyfarfod, i gyflawni pob dyledswydd yn ei phryd, efe a dramgwydda,—syrth ei waith i annibendod, ac yntau i fagl. Dyma gyfleusdra i'r Iesu ogoneddu Duw yn adgyfodiad Lazarus: rhaid cofleidio y cyfleusdra—dirwynai y deuddeg awr i ben yn union, ac nid oedd trydedd ar ddeg. (2) Yn ol Bengel, Hengstenberg, Meyer, a Westcott nid gwaith bywyd ond amser bywyd sydd yn benaf mewn golwg. Yn ol y golygiad cyntaf, deuddeg awr—dim yn rhagor; am hyny rhaid arfer pob diwydrwydd. Yn ol y golygiad hwn, deuddeg awr—dim yn llai; ac felly y mae pob dyn yn nghyflawniad gorchwyl ei fywyd yn anfarwol nes y dirwyna fynu ddeuddeg awr ei hoedl. Tra y rhodia ar lwybr dyledswydd, nis lleddir nes cyflawni o hono ei neges ar y ddaear. Nid damwain yw bywyd ond ffawd; eto ffawd wedi ei phenderfynu gan Dduw. Cyterfydd

10 yn gweled goleuni y byd hwn: Ond os rhodia neb y nos,
11 efe a dramgwydda, am nad oes goleuni ynddo. Hyn a
lefarodd efe: ac wedi hynny efe a ddywedodd wrthynt, Y
mae ein cyfaill Lazarus yn huno; ond yr wyf fi yn myned

---

â pheryglon a gwrthwynebiadau, ond ni thramgwydda yn yr ystyr o syrthio—y mae goleuni Duw ar lwybr ei ddyledswydd. Gan hyny, dyogel oedd i'r Arglwydd Iesu fyned i Judea yn bresenol—yr oedd Duw wedi penodi dydd o ddeuddeg awr iddo, dim llai; nid allasai syrthio yr unfed awr ar ddeg. (3) Ond credwn ni gyda Godet y rhaid cyfuno y ddau olygiad blaenorol cyn y dihysbyddir meddwl yr adnod—amser bywyd a gwaith bywyd. Os amser bywyd yn unig a feddyllr, y mae yr adnod nesaf yn myned yn ddiystyr. Ac felly yr edrychir arni gan Meyer, fel ychwanegiad addurniadol heb un ystyr esboniadol. Ond nid arfer yr Iesu i'w llefaru adnodau gwâg; a chan fod y syniad o waith yn angenrheidiol i ddehongli yn foddhaol yr adnod nesaf, nis gallwn gyda gweddusrwydd priodol wadu ei bresenoldeb yma. Y mae Duw wedi penu i bob dyn ei oes, ac i bob dyn waith ei oes; ac os bydd dyn yn ffyddlawn i'r diweddaf, gofala Duw fod yn ffyddlawn i'r cyntaf. "Os *rhodia* neb y dydd"—nid segura a hepian; "os rhodia *neb*"—y fi, neu y chwi, neu rywrai eraill; "os rhodia neb y dydd ni thramgwydda," fel ag i syrthio cyn ei amser, heb orphen ei waith, "am ei fod yn gweled goleuni y byd hwn," goleuni o fyd arall yn tywynu ar lwybr ei ddyledswydd yn y byd hwn.

**ADN. 10. Ond os rhodia neb y nos, efe a dramgwydda, am nad oes oleuni ynddo**. Y mae yr ystyr naturiol yn eglur ddigon. Gŵyr pawb y dyrysweh o fyned adref o addoliad y nos, heb oleu ser na lloer na haul—araf ein cerddediad am nad oes oleuni yn ein llygaid, a hyny drachefn oblegid nad oes oleuni yn y nen. Ond beth yw yr egwyddor foesol? Yn sicr, nid os ceisia neb weithio ar ol i ddydd bywyd ddarfod, efe a syrthia,—nid oes synwyr mewn ymadrodd fel yna; ond os na fanteisia ar y cyfleusderau sydd yn ei gyfarfod i gyflawni pob dyledswydd yn ei phryd, os esgeulusa ei waith trwy esgeuluso y cyfleusderau, aiff y goleuni sydd ynddo yn dywyllwch a syrthia yntau i brofedigaeth yn ei alwedigaeth. Gan hyny, ystyr hyn oll, o'i gymhwyso at yr Arglwydd Iesu yn yr amgylchiadau dyrys presenol yw—fod llais dyledswydd, hyny yw, llais Duw, yn galw arno fyned i Bethania; o ganlyniad mai dyogel yw myned—dyogelach ufuddhau i ddyledswydd yn ngwyneb perygl nag anufuddhau iddi i osgoi perygl.

**ADN. 11. Hyn a lefarodd efe.** Yn y ddwy adnod flaenorol rhoddodd eglurhad athrawiaethol ar egwyddor weithredol ei fywyd; ac yn y frawddeg nesaf cymhwysa yr egwyddor at ei hanes yn yr amgylchiad presenol. **Ac wedi hyny** —wedi yr eglurhâd— **Efe a ddywedodd wrthynt, Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno.** Nid "fy nghyfaill," ond "ein cyfaill"—yr oeddynt oll wedi mwynhau ei gyfeillach a'i letygarwch. "Huno" yw yr enw a ddyry yr Arglwydd Iesu ar farw (cyd. Matt. ix. 24); ac y mae y gair wedi gadael ei ôl yn ddwfn ar lenyddiaeth a duwinyddiaeth y byd byth wedi'n. Dywedir nad yw y gair yn newydd, na'i gymhwysiad at angeu yn newydd. Darllenwn yn yr H. D. am "ddynion yn

i'w ddihuno ef. Yna ei ddisgyblion a ddywedasant wrtho, 12
Arglwydd, os huno y mae, efe a fydd iach. Ond yr Iesu 13
a ddywedasai am ei farwolaeth ef: eithr hwy a dybiasant

---

huno gyda'u tadau," ac am Dafydd, ar ol gwasanaethu ei genhedlaeth yn ol ewyllys Duw, yn "syrthio ar gwsg," ac am y Salmydd yn dymuno "dihuno ar ddelw Duw" (Ps. xvii. 15), ond y mae ei ddefnyddiad mor anaml nes profi nad oedd yn ddrychfeddwl llywodraethol yn nghrefydd y genedl Iuddewig. Dywedir hefyd y geilw Homer gwsg yn efeilles i angeu, oblegid y cyffelybrwydd ymddangosiadol rhyngddynt, ac y dilynir ef gan awduron Groegaidd eraill—iddynt hwy huno oedd marw. Beth ynte sydd yn newydd yn y syniad yn ngenau Crist? Y "di-huno"—drychfeddwl hollol ddyeithr i'r Groegiaid a'r paganiaid oll; ac y mae y syniad o "ddihuno" yn trawsnewid y syniad o huno—y mae yr adgyfodiad i'r Cristion yn troi marwolaeth o fod yn derfyn ar fywyd i fod yn wedd arall arno; bywyd mewn cyflwr o drawsnewidiad *(transformation)* ydyw—gwirionedd na ddaeth i feddwl bardd nag athronydd paganaidd erioed. Defnyddiai y paganiaid y gair "huno" i guddio angeu—i gadw ei erchylldod o'r golwg; defnyddia Crist ef i ddatguddio angeu—i ddangos nad yw ond bywyd yn ymgodi i ffurf uwch. Ffugr oedd "huno" mewn barddoniaeth i dwyllo y llygaid; ffaith yw "huno" mewn Cristionogaeth, i gysuro y galon. Ie, yr Arglwydd Iesu a wnaeth y gair a'r drychfeddwl yn etifeddiaeth gyffredinol plant dynion, fel mai yr enw arferol heddyw ar gladdfeydd yw *cemeteries*, yr hwn o'i gyfieithu yw "hun-leoedd"—lle i'n hanwyliaid huno yn dawel hyd foreu y codi. Dyma enaint i'n briwiau dyfnaf; a'r Iesu, nid Homer, a barotodd yr enaint! Y clod iddo yn dragywydd! **Ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef.** Nid oes yma swn amheuaeth; nid myned i wneyd *experiment* yr oedd—meddai lawn ymwybyddiaeth o feistrolaeth lwyr ar angeu a'r bedd. Y mae yr Iesu wedi cychwyn ei orymdaith i fynwentydd y byd. I ba le yr wyt yn myned, yr Iesu glân? "Yr wyf fi yn myned i'w dihuno hwynt." Dadebrant a chodant oll yn y man, wedi llwyr ddadluddedu, ac yn barod am ddiwrnod arall o waith,—nid diwrnod o "ddeuddeg awr," ond diwrnod na fachlud haul arno byth. Y fath iaith ar wefus dyn!

ADN. 12. **Os yw yn huno, efe a waredir.** Eu hamcan yw darbwyllo yr Iesu rhag dychwelyd i ganol ei elynion. A chan mai barn meddygon, yn cael ei chadarnhau gan sylwadaeth gyffredin, oedd fod cwsg yn argoel fod *crisis* y clefyd drosodd, a'r tro wedi cymeryd lle, dywedasant, "Os huno y mae, efe a fydd iach," er dangos afreidrwydd ei daith. Tybia Bengel a Luthardt fod y dysgyblion dan yr argraph mai huno yr oedd mewn canlyniad i ddylanwad gwyrthiol yr Iesu—cwsg wedi ei anfon ganddo Ef; ond nid oes dim yn y cyd-destyn yn cyfreithloni y dybiaeth. Ond sylwer mai y gair am "efe a fydd iach" yw *sōthēsetai*—yr un a'r gair am iachawdwriaeth: efe a waredir, efe a achubir,—y mae iachawdwriaeth yn perthyn i gorph yn gystal ag i enaid.

ADN. 13. **Ond yr Iesu a ddywedasai am ei farwolaeth ef; eithr hwy a dybiasant mai am hun cwsg yr oedd efe yn dywedyd.** Mor onest yw Ioan yn adrodd am ei gamgymeriadau ei hun a'i gyd-ddys-

14 mai am hûn cwsg yr oedd efe yn dywedyd. Yna y dywed-
15 odd yr Iesu wrthynt yn eglur, Bu farw Lazarus. Ac y

---

gyblion. Haera Strauss, fodd bynag, fod y camgymeriad hwn o du y dysgyblion yn anghredadwy, ac felly yn brawf mai ffug-hanes sydd ger ein bron. Ond anturiwn ddyweyd, pe buasai Strauss yn y cwmpeini, na fuasai neb yn ddyfnach yn y camgymeriad nag efe. Ond pa fodd y daethant i gamddeall yr Iesu ar yr achlysur presenol? (1) Hawdd yw camddeall pan y mae y camddealldwriaeth a'r dueddfryd yn rhedeg i'r un cyfeiriad. (2) Yn adn. 4 dywedodd yr Iesu na fyddai y clefyd hwn i farwolaeth; dodasant hwythau mewn canlyniad eu meddyliau yn esmwyth nad oedd angeu yn y cwestiwn. Nid mor annaturiol wedi'r cwbl oedd eu hanghrediniaeth.

**ADN. 14. Yna, gan hyny, y dywedodd yr Iesu wrthynt yn eglur.** Y mae i'r gair Cymraeg "yna" ddau ystyr—yna o ran amser, ac yna o ran rhesymeg; ond yn y gwreiddiol y mae dau air *(tote oûn)*, "yna, gan hyny." "Yna" yn dynodi yr amser, "gan hyny" yr ymresymiad. Cyfieithir y gair am "eglur" *(parrhesia)* weithiau yn hyf, ac weithiau yn eglur. Dywedodd yn "eglur," nid mewn ffugr fel yn adn. 11, ond yn ddiffugr. **Bu farw Lazarus.** Barna Neander fod ail genadwri wedi dyfod oddiwrth y chwiorydd, y gyntaf fod Lazarus yn glaf (adn. 4), yr ail yn mhen dau ddiwrnod wedi'n fod Lazarus wedi marw. Ond nid oes un sail i'r dybiaeth am yr ail genadwri. Pa fodd ynte y gwyddai yr Iesu? I'r dysgyblion yr oedd y gofyniad yn hollol afreidiol—yn eu bryd hwy gwyddai hyny fel y gwyddai bob peth arall, mewn ffordd na allasai eu meddyliau hwy ei ddilyn. Ond i ni yn yr oes hon pery y cwestiwn yn llawn dyddordeb—Pa fodd y gwyddai yr Iesu? (1) Etyb Meyer y gwyddai trwy "ganfyddiad ysbrydol" (*spiritual insight*). Gwir y gall canfyddiad ysbrydol benderfynu materion moesol ac ysbrydol; ond nid ffaith foesol nac ysbrydol oedd marwolaeth Lazarus, ond ffaith anianyddol; a pha gydnawsedd sydd rhwng canfyddiad ysbrydol a ffaith anianyddol? (2) Etyb Godet y gwyddai mewn ffordd oruwchnaturiol; ond nid yw yr ateb yn ddigon pendant—ai y goruwchnaturiol prophwydol ynte y goruwchnaturiol dwyfol?

Barnwn y gellir gweled tair haen yn ngwybodaeth yr Arglwydd Iesu. (1) Gwybodaeth ddynol—gwybodaeth o'r un natur, yn cael ei chyrhaedd yn yr un ffordd, â gwybodaeth dynion eraill, ond ei bod bob amser yn rhydd oddiwrth eu cyfeiliornadau a'u camsyniadau hwy. Y mae rhyddid perffaith oddiwrth bechod yn cynwys rhyddid perffaith oddiwrth gyfeiliornad. (2) Gwybodaeth oruwchnaturiol, cyffelyb i wybodaeth y prophwydi o'i flaen a'r apostolion ar ei ol. Gwybodaeth oedd hon yn rhinwedd gweithrediad goruwchnaturiol yr Ysbryd Glân ar ei feddwl. Ai dyma ansawdd ei wybodaeth bresenol am farwolaeth Lazarus? (3) Gwybodaeth ddwyfol, cyffelyb i wybodaeth Duw, ac felly yn gyfran o holl-wybodaeth, ei wybodaeth fel person dwyfol. Perthyn i ba ddosbarth y mae ei wybodaeth yma? Yn sicr nid i'r blaenaf, ac felly caua allan y "canfyddiad ysbrydol"; ac yn ein tyb ni gormod camp i neb dynu y llinell wahaniaethol yn ei hanes rhwng yr ail a'r trydydd. Anmhosibl i neb fedru dyweyd, Gwyddai hyn fel Duw, a gwyddai hynyna fel prophwyd ysbrydoledig gan Dduw. "Mawr yw dirgelwch duwiol-

mae yn llawen gennyf nad oeddwn i yno, er eich mwyn
chwi, fel y credoch; ond awn atto ef. Yna y dywedodd 16
Thomas, yr hwn a elwir Didymys, wrth ei gyd-ddysgybl-

---

deb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd"—agos a phell, amgyffredadwy ac anamgyffredadwy yr un pryd!

**ADN. 15. Ac y mae yn llawen genyf er eich mwyn chwi, fel y credoch, nad oeddwn i yno.** Sylwer fod lleoliad y brawddegau yn y cyfieithiad hwn yn wahanol i'w cyflead yn y cyfieithiad arferol, canys dyma drefn y gwreiddiol. Nid llawenychu yr oedd nad oedd ef yn bresenol i rwystro marwolaeth Lazarus,—nid yn angeu ei gyfaill yr oedd achos ei lawenydd, ond yn y cyfleustra a roddai ei angeu trwy oruchafiaeth arno i gryfhau ffydd y dysgyblion. Ac yr oedd anghen am ei chryfhau cyn gwynebu ohonynt ar brofedigaeth fawr Pen Calfaria! "Fel y credoch." Yr oeddynt yn credu o'r blaen, ond gweithred ydyw credu sydd yn gofyn ei mynychu yn barhaus. Y mae pob gweithred o gredu yn weithred wreiddiol, ac yn sefyll ar ei gwaelod ei hun. Y mae gwybodaeth yn ymganghenu—canghen yn tyfu ar gangen; ond y mae ffydd yn ddiganghenau, tyf hi bob tro o'r gwraidd; oherwydd paham ä dyn yn fedrus mewn gwybod, ond nid ä byth yn fedrus mewn credu. **Ond awn ato ef.** At Lazarus; ond i ba le? Yr oedd Lazarus o ran ei enaid yn y byd tragwyddol, ond o ran ei gorph yn mynwent Bethania. Nid ato ef o ran ei enaid, ond ato ef o ran ei gorph. Y mae cariad yn gwrthod dadelfenu—y mae greddf yn glynu wrth y dyn cyfan, pa un bynag ai yn y byd hwn ai yn y byd arall y mae. "Na renwch ef."

**ADN. 16. Yna y dywedodd Thomas, yr hwn a elwir Didymus.** Thomas oedd yr enw Aramaeg, Didymus yr enw Groeg, y naill yn gyfieithiad llythyrenol o'r llall, ac yn meddwl "Efaill." Pedair gwaith y sonia Ioan am y dysgybl hwn, a theirgwaith allan o'r pedair defnyddia y ddau enw. Paham y gelwid ef yn Thomas, Didymus, Efaill? A phaham y gofala Ioan nodi hyny bob tro? (1) Tybia Hengstenberg, Trench, ac eraill, mai oblegid fod ffydd ac anghrediniaeth fel efeilliaid yn ei fynwes yn ymryson am oruchafiaeth megis Jacob ac Esau yn mru Rebecah. "Na fydd anghredadyn ond credadyn." Felly yn ol y beirniaid hyn yr Arglwydd Iesu a roddodd yr enw arno megis y rhoddodd yr enw Petr ar Simon, a Boanerges ar Iago ac Ioan. Fel y gwelsom, nid yw Ioan yn crybwyll Thomas heb ei alw yn Didymus—paham? Ped er mwyn ei ddarllenwyr Groegaidd y gwnai hyny buasai unwaith yn ddigon; ond gan ei fod yn parhau i wneyd hyny eilwaith a thrachefn, rhaid y cysyllta ystyr cyfriniol â'r enw yn ol ei arfer mewn amgylchiadau eraill (cyd. Simon Petr, Siloam); a beth all yr elfen gyfriniol hono fod ond cydymgais ffydd ac anghrediniaeth am oruchafiaeth dan ei fron? (2) Ond tra yn cydnabod fod llawer o wirionedd yn y dybiaeth am yr anghydfod rhwng ffydd ac anghrediniaeth yn mynwes Thomas, nid oes genym sail ddigonol i gredu mai ei enw newydd Cristionogol ydyw, ond yn hytrach ei enw naturiol i gofnodi y ffaith, yn ol arfer yr henafiaid, mai un o ddau ydoedd yn ei enedigaeth. Gefaill ydoedd; ond pwy oedd y gefalll arall? Gan mai

ion, Awn ninnau hefyd, fel y byddom feirw gyd âg ef.
17 Yna'r Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef wedi bod weithian
18 bedwar diwrnod yn y bedd. A Bethania oedd yn agos i

---

Matthew a gyplysir ag ef bob amser yn yr Efengylau, cesglir mai hwynt-hwy oedd yr Efeilliaid. Andreas a Phetr, Iago ac Ioan, Matthew a Thomas—tri chwpl o frodyr yn dilyn yr Iesu, a'r ddau olaf yn efeilliaid yn gystal ag yn frodyr. Ond cofier—tybiaeth ydyw, yr oreu a ellir wneyd dan yr amgylchiadau, ac nid gwybodaeth. **Wrth ei gyd-ddysgyblion.** Dyma yr unig dro y ceir y term "cyd-ddysgyblion" yn yr Efengylau. **Awn ninau hefyd, fel y byddom feirw gydag ef.** Gyda phwy? (1) Etyb Grotius ac Ewald, gyda Lazarus. Ond gan fod Lazarus eisoes wedi trengu, ni allasai y dysgyblion farw gydag ef. (2) Gan hyny, rhaid mai y meddwl yw, marw gyda'r Iesu. Tybiai Thomas a'i gyd-ddysgyblion yn sicr y llabyddid yr Iesu os dychwelai i Jerusalem a'i chyffiniau. Ond y mae yn benderfynol i ddychwelyd; ac mor sicr ag y dychwela caiff ei ladd; ac os lleddir Ef ni ddihangwn ninau yn ddianaf—awn gydag ef fel y byddwn feirw gyda'n gilydd. Pa nodweddion yn nghymeriad Thomas sydd yn dyfod i'r golwg yma? (1) Nid gwendid ffydd fel y dysga rhai, ond pruddglwyfni naturiol—y duedd i edrych ar ochr ddu y cwmwl yn hytrach nag ar yr ochr wen. Nid yw pruddglwyfni yn argoeli ffydd wàn; yr oedd rhai o'r dynion goreu, duwiolaf a welodd ein cyfundeb ni yn ddynion nodedig am eu pruddglwyf, megis John Evans, Llwynfortun; Morgan Howells; Thomas John, Cilgeran; a Samuel Jones, Caerdydd—ond pwy oedd yn gryfach eu ffydd? Anfri ar Thomas yw ei alw yn amheuwr (*sceptic*). (2) Gwres ei serch. Yr oedd yn foddlon marw gyda'r Iesu a thros yr Iesu; ie, nid oedd bywyd ganddo yn werth ei fyw ond yn nghymdeithas yr Athraw. Gwell oedd ganddo farw gydag Ef na byw hebddo Ef. Pa fodd y gall ffydd wàn a chariad cryf gydsefyll? Nis gallant. Nid ffydd wàn oedd ei eiddo ef, ond ffydd yn tori dros ben ei therfynau—ffydd eisieu gweled pan y dylasai foddloni ar ymddiried. Y mae ffydd trwy weled yn dda, ond y mae ffydd heb weled yn well (xx. 29).

YR IESU YN YMDDIDDAN A'R CHWIORYDD. ADN. 17—32.

**ADN. 17. Felly yr Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef wedi bod weithian bedwar diwrnod yn y bedd.** Y mae y gair "cafodd" (*heuren*) yn golygu caffael mewn canlyniad i ymchwiliad neu ymofyniad. Ar un llaw, gwyddai yr Arglwydd Iesu o draw, yn annibynol ar hysbysrwydd dynol, fod Lazarus wedi marw; ar y llaw arall, ymddengys na wyddai yr adeg yn gymhwys y trengodd, ac mewn canlyniad i ymholiadau cyffelyb i'r eiddo eraill, "cafodd" ei fod wedi marw a'i gladdu er ys pedwar diwrnod. Megis ag yr oedd yn ei berson gyd-gyfarfyddiad o'r natur ddwyfol a'r natur ddynol, felly yr oedd yn ei wybodaeth Ef gyd-gyfarfyddiad o elfenau dwyfol ac elfenau dynol. Nid oedd y goruwchnaturiol ynddo mewn gweithrediad cyson a pharhäus; pe felly, cymerasai le y naturiol. Y rheol yw—gweithreda y goruwchnaturiol lle y mae y naturiol yn annigonol i amcanion goruchel ei fywyd. "Pedwar diwrnod yn y bedd"—sut y gwneir y cyfrif i fyny? Dibyna yr ateb ar safle Bethania (Bethabara) y tu hwnt i'r Iorddonen. (1) Os y Bethania

Jerusalem, ynghylch pymtheg ystâd oddi wrthi: A llawer 19

---

ar gyfer Jericho a feddylir, yna cymerai un diwrnod i'r genhad oddiwrth y chwiorydd gyrhaedd yno, ac ymddengys i Lazarus farw yn fuan wedi cychwyn o'r genhad ar ei daith. Yna arhosodd yr Iesu ddau ddiwrnod yn y lle yr oedd. Yna cymerodd ddiwrnod arall iddo Ef a'i ddysgyblion i deithio i Bethania yn Judea. Gwna hynyna bedwar diwrnod—dau ddiwrnod cyfan a rhan o'r cyntaf a'r olaf; a chan mai arfer yr Iuddewon oedd claddu hyd y gellid yr un diwrnod â'r marw (2 Bren. ix. 34; Act. v. 6, 10), oherwydd poethder yr hin, yr oedd y corph, a siarad yn gyffredinol, wedi bod eisoes bedwar diwrnod yn y bedd. Dyma y cyfrif a fabwysiedir gan Alford, Luthardt, Hengstenberg, Lange, Godet, a Westcott. (2) Ond os Bethania, yn uwch i fynu yr Iorddonen, gerllaw Môr Galilea, a feddylir, y mae yn bosibl fod Bengel, Ewald, Meyer a Watkins yn gywir yn eu tybiaeth mai yr un dydd y marwodd Lazarus ag y dywedodd yr Iesu, "Bu farw Lazarus," ac iddi gymeryd pedwar diwrnod i'r Iesu deithio o Bethania, y pentref gogleddol yn Perea, hyd Bethania, y pentref deheuol yn Judea. Nis gellir penderfynu hyd sicrwydd pa un o'r ddau gyfrif sydd gywir hyd oni phenderfynir hyd sicrwydd safle Bethania (Bethabara).

**ADN. 18. A Bethania oedd yn agos i Jerusalem, ynghylch pymtheg ystad oddiwrthi.** Paham y defnyddia yr Efengylwr y gorphenol "oedd," ac nid y presenol "sydd"? (1) Un ateb, yr hwn a goleddir gan Meyer, Godet, ac Alford, yw mai "oedd" hanesyddol ydyw. Gan mai adrodd hanes y gorphenol y mae, defnyddia amser y gorphenol yn rhinwedd deddf atdyniad mewn gramadeg; o ganlyniad, nid yw y gair "oedd" yn cynwys nad oedd Bethania yn bodoli pan yr ysgrifenai Ioan. (2) Ond dàlia Plummer ac eraill fod gorphenol y ferf "oedd" yn awgrymu fod y pentref wedi ei ddymchwelyd yn amser dinystr Jerusalem yn A.D. 70. Gogwyddwn i dderbyn y golygiad hwn am ddau reswm. Yn gyntaf, yn gymaint a bod y tri efengylwr arall yn ysgrifenu cyn dinystr Jerusalem, yn ddieithriad defnyddiant yr amser presenol yn eu cyfeiriadau at leoedd, gan fod y trefi yn bod ar y pryd. Pe buasent yn bod yr adeg y cyfansoddai Ioan, y mae yn ddigon tebyg y defnyddiai yntau yr un amser—y presenol. Yn ail, gan fod Ioan yn defnyddio y ddau amser yn ei gyfeiriadau at leoedd, y gorphenol wrth sôn am Bethania (yma), a Gethsemane (xviii. 1), a gardd Joseph o Arimathea (xix. 41), a'r presenol wrth sôn am lyn Bethesda (v. 2), y casgliad naturiol yw fod y tri blaenaf wedi eu dinystrio gan y lluoedd Rhufeinig cyn cyhoeddiad ei Efengyl ef, tra yr oedd yr olaf am ryw reswm wedi diangc heb dderbyn niwed yn ngwarchae Jerusalem. Gwir fod pentref yn awr yn y lle, ond pentref Arabaidd ydyw, nid y pentref Iuddewig. "Ynglych pymtheg ystâd oddiwrthi." Y mae y frawddeg yn y gwreiddiol yn dra dyrys yn ei geiriad, yr arddodeiriau megis wedi eu cymysgu. Ni chydymffurfia â Groeg classurol y canrifoedd o'r blaen; ond ymddengys nad yw yn ddyeithr i Roeg y canrifoedd diweddarach (Winer, tudalen 697). Erbyn hyn, yr oedd dylanwad Rhufain yn cael ei deimlo trwy yr holl fyd; ac er mai Groeg oedd yr iaith lenyddol yn Asia Leiaf, eto yr oedd yn anmhosibl iddi ddiangc yn llwyr ddylanwad y Lladin; oherwydd paham y mae cystrawen y Lladin yma wedi lefeinio cystrawen y Groeg. Dyna yr hyn

o'r Iuddewon a ddaethent at Martha a Mair, i'w cysuro hwy
20 am eu brawd. Yna Martha, cyn gynted ag y clybu hi fod
yr Iesu yn dyfod, a aeth i'w gyfarfod ef: ond Mair a eis-

---

a olyga y gramadegwyr wrth ddyweyd mai *Latinism* yw y frawddeg hon—priod-ddull un iaith yn cyfnewid priod-ddull iaith arall, megis ag y gwelir y briod-ddull Saesonaeg yn mrawddegiad mwyafrif awduron Cymreig yr oes hon. Yr oedd "ystad" y Groegiaid yn 606¾ troedfedd, ac yr oedd wyth ystad mewn milldir Rufeinig. Felly pellder Bethania o Jerusalem oedd tua milldir a haner yn ol ein mesuriad ni. Ond paham y noda Ioan y pellder? Oblegid dau reswm. (1) I egluro paham yr oedd "llawer" o Iuddewon Jerusalem yn bresenol yn Bethania ar y pryd. (2) I egluro y gwrthdarawiad yr arweiniodd y wyrth iddo rhwng yr Iesu ag Iuddewon Jerusalem. Pe digwyddasai y wyrth yn Galilea, arweiniasai o bosibl i goroniad yr Iesu; ond gan mai ar bwys Jerusalem y cymerodd le, arweiniodd i'w groeshoeliad.

**ADN. 19. A llawer o blith yr Iuddewon a ddaethant at Martha a Mair.** Nid ydys yn hollol gytun am y gwir ddarlleniad yma. (1) Mŷn Westcott a Hort ddarllen fel yr ydym ni wedi cyfieithu yma, a chydolygir a hwy gan Tregelles ac Alford. (2) Ond mŷn Meyer a Tischendorf ddarllen ychydig yn wahanol—"A llawer o blith yr Iuddewon a ddaethant at y rhai oedd o amgylch Martha a Mair"—sef y galarwyr cyflogedig, medd rhai; y gweision a'r morwynion, medd eraill. Y naill ffordd neu y llall, erys y meddwl yn go debyg.

"Llawer o blith yr Iuddewon." Trwy yr Efengyl hon yr ydym wedi gweled nad enw cenhedlaethol yw yr Iuddewon, ond enw *technical* yn dynodi blaenoriaid swyddogol y genedl neu y "penaethiaid," y rhai drachefn a ymddidolent yn ddau ddosbarth, sef y Phariseaid a'r Sadduceaid; ond gan mai y Phariseaid oedd y blaid luosocaf ac yn penderfynu polisi grefyddol y genedl, hwynthwy sydd yn benaf mewn golwg. Nid pobl gyffredin, ond perthynasau y "penaethiaid," oedd y rhai a ymwelent â'r ddwy chwaer yn eu trallod, a "llawer," o'r rhai hyny,—yr hyn a brawf yn ddiymwad fod teulu Bethania yn aelodau o ddosbarth uchaf cymdeithas, a bod iddynt gydnabod "lawer" yn mhlith y penaethiaid. Cyfrif hyn hefyd, o bosibl, am y coffhâd yn yr adn. 1 fod Lazarus yn drigiannydd yn (*apo*) ac yn enedigol o (*ek*) Bethania: hen frodorion oedd y teulu, ac fel y cyfryw meddent gylch helaeth o gydnabod a chyfeillion. **I'w cysuro hwy am eu brawd.** Yn ein gwlad a'n hoes ni y mae galar yn gysegredig, am hyny tynir cylch o unigrwydd o'i amgylch; ond yn mhlith y dwyreinwyr megis yn mhlith y cenhedloedd Celtaidd ymgasglai llawer at eu gilydd i "gysuro" y galarwyr. Olion o'r hen arferiad ydyw "*wake*" y Gwyddelod ac "wylnos" y Cymry. Dywed Dr. Lightfoot y "neillduid 30 diwrnod i alar. Treulid y tri diwrnod cyntaf i wylo; y saith nesaf i alarnadu; yr ugain nesaf i ymgadw oddiwrth eillio ac ymolchi." (Cyd. Gen. l. 3—10; Num. xx. 9; Deut. xxxiv. 8; 1 Sam. xxviii. 13). Mewn amgylchiadau neillduol, parhâi y galar yn hwy; ond mewn teuluoedd tlodion ni pharhâi ond am wythnos, gan nad oedd y cyllid yn caniatau.

**ADN. 20. Martha, gan hyny, cyn gynted ag y clybu hi fod yr Iesu yn dyfod.** Gwraig fywiog, ddiwyd, brysur, oedd Martha—nis gallasai fod

teddodd yn y tŷ. Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu, 21
Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai farw fy mrawd.

---

yn llonydd hyd yn nod yn nhymor y galar am ei brawd; nid mewn tawelwch, ond mewn gweithgarwch, y caffai hi waredigaeth i'w theimladau cythryblus. Pwy a adroddodd y newydd wrthi? Tybia rhai mai rhyw Iuddew ag oedd wedi gorddiwes yr Iesu ar y ffordd—hoff iawn o gludo newyddion yw pobl y dwyrain; eraill fod un o weision y teulu yn gwylied ei ddyfodiad wrth arch ei feistres; eraill fod yr Iesu wedi anfon cenad i roddi iddi yr hysbysrwydd. "Fod yr Iesu yn dyfod"—nid wedi dyfod, ond yn dyfod, yn yr amser presenol. "*He is coming*," iaith fyw yn gynwysedig o lawenydd a syndod. **A'i cyfarfyddodd ef.** Nid yw y gair "aeth" yn y gwreiddiol, ond wrth reswm y mae yn gynwysedig yn y "cyfarfod." Brysiodd allan, heb gyfranu yr hysbysrwydd i neb arall, i'w gyfarfod Ef; gwell gan barch dwfn a serch cryf gyfarfod yn *brivate* nac yn gyhoeddus. **Ond Mair oedd yn eistedd yn y ty.** Yn y ty, meddai Ioan; ond mŷn yr esbonwyr fel arfer fanylu—yn un o'r ystafelloedd tufewnol. Hwyrach hyny: ond boddlon ni ar sylw cyffredinol Ioan, heb benderfynu ar yr ystafell yr eisteddai ynddi. "Eistedd" y mae Mair yn Luc x. 39, ac eistedd y mae hi yma. Ond gellir cario "eistedd" i eithafion, eistedd pan y dylid gweithio, eistedd ac esgeuluso dyledswyddau. Trefnyddes ty sâl a wnai Mair, tra y mae Paul yn dysgu fod *house-keeping* da yn rhan bwysig o grefydd gwragedd (Titus ii. 5). Eisteddai yn awr i fagu ei galar, mor agos i'r llawr ag oedd modd, ac yswatiai y galarwyr o'i hamgylch. Dyna arfer y wlad, megis y gwelir yn Job ii. 11—13. Nid oes genym sail i ddysgu ei bod yn fwy meddylgar na Martha, ond yr oedd yn fwy myfyrgar—mwy o'r elfen gyfriniol yn ei chrefydd. Nid gwahaniaeth yn eu cynheddfau meddyliol, ond gwahaniaeth yn nhymheredd eu hysbrydoedd. Pa un sydd yn disgleirio fwyaf yn ei chrefydd? Mae yr esbonwyr ar Luc x. 41, 42 yn gyffredin yn priodoli y rhagoriaeth i Mair; ond tuedda lluaws o honynt i roddi yma y flaenoriaeth i Martha. "O'r ddwy chwaer, meiddiaf feddwl," meddai Ryle, "mai Martha sydd yn ymddangos yma i'r fantais oreu. Y mae y fath beth a chael ein llethu a'n syfrdanu yn ormodol gan brofedigaeth fel ag i beidio addurno ein proffes. A oes dim rhyw gymaint o hyn yn ymddygiad Mair trwy y benod hon? Y mae amser i syflyd yn gystal ag i eistedd. Os dangosodd Mair mwy o ras na Martha ar achlysur blaenorol, dangosodd Martha, mi goeliaf, fwy na Mair ar yr achlysur presenol." "Yn nydd adfyd," meddai Mathew Henry, "profodd tymher fyfyriol a thawedog Mair yn fagl iddi, gan ei gwneyd yn llai abl i ymryson â gofid ac yn fwy darostyngedig i iselder ysbryd. Doethineb ynom fydd gwylied yn erbyn temtasiynau a allant fanteisio ar ein tymher naturiol."

**ADN. 21. Martha gan hyny a ddywedodd wrth yr Iesu.** Cyfarfyddasant ar y ffordd y tu allan i'r pentref, ac felly heb fod dan wyliadwriaeth yr Iuddewon, dim ond Iesu a Martha a'r dysgyblion. **Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai farw fy mrawd.** Nid, *pe y daethit ti yma*, pan anfonasom am danat; buasai hynyna yn dangos anfoddogrwydd a thuedd i daflu y bai ar ei ysgwyddau Ef; ond, "pe buasit ti yma!" Dyna, fe ymddengys, oedd yn chwyddo ei thristwch hi a'i

22 Eithr mi a wn hefyd yr awrhon, pa bethau bynnag a
23 ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti. Yr Iesu a

---

chwaer,—y gallasai pethau fod wedi troi allan yn wahanol. Ac onid dyna un elfen chwerw yn nghwpan gofid pob teulu! Pe anfonasem at y meddyg yn gynt, neu y cyrchasem feddyg arall, neu pe nad aethai allan y diwrnod gwlawog oer hwnw, gallasai yr un anwyl fod gyda ni o hyd! Y mae y "gallasai"—y *might have been*—yn dyfnhau ein hiraeth. Ie, hollol naturiol ydyw iaith Martha yn yr adnod hon, ac iaith ei chwaer yn adn. 32. Gwyddent am y gwyrthiau lluosog a gyflawnai yr Iesu, yr oeddynt wedi clywed am y meirw oedd Ef wedi adgyfodi, a theimlent yn sicr y gallasai achub eu brawd o grafangc y clefyd. Ond—yr oedd ar daith!

**ADN. 22. Ac hyd yn nod yr awrhon, mi a wn pa beth bynag a ofynech di gan Dduw, y dyry Duw i ti.** Sylwer ar y gwahaniaeth yn y cyfieithiad hwn oddiwrth y cyfieithiad arferol, a dilys mai dyma y darlleniad iawn. (1) Y mae yma un gair sydd yn dangos nad oedd Martha wedi cyrhaedd syniadau hollol addfed am fawredd y Person oedd o'i blaen. Y gair hwn yw "gofyn" (*aitein*), gair sydd yn golygu gofyn gan yr isradd oddiwrth ei uwchradd, ac felly yn cael ei gymhwyso at ddynion yn gweddio (Matt. vii. 7; xxi. 22; Ioan xiv. 13; Iago i. 5, 6; 1 Ioan iii. 22). Yn ol hyn edrychai hi ar yr Arglwydd Iesu fel yn israddol i Dduw, yn gymeradwy iawn ganddo ond er hyny yn israddol iddo. Y gair a ddefnyddia yr Arglwydd Iesu bob amser am dano ei hun yw, nid "gofyn," ond "gweddio"—*erotān* (Ioan xiv. 16; xvii. 9, 15, 20), gair sydd yn golygu cydradd yn gofyn gan ei gydradd. Gedy Trench y gwahaniaeth rhwng y ddau air ar hynyna; ond dengys Dr. Ezra Abott fod dosbarthiad Trench yn annigonol gan y defnyddir y ddau air—gofyn a gweddio (*aitein* ac *erotān*)—am yr un weithred yn Act. iii. 2 a 3; Matt. xxvii. 58, a Ioan xix. 38. Mawr glodforir Dr. Ezra Abbot am graffder ei feirniadaeth ar y cyfystyron hyn; ond yr oedd y Prifathraw D. Charles Davies wedi gwneuthur yr un feirniadaeth gyda meistrolaeth lwyrach yn yr "Arweinydd"—cyhoeddiad misol at wasanaeth yr Ysgol Sul yn Ngheredigion pan oeddym ni yn ieuangc, cyn i'r un adolygydd Saesonaeg ganfod y diffyg. (2) Ond er nad ydoedd Martha wedi cyrhaedd syniadau addfed am Ddwyfoldeb ei Berson, eto coleddai feddyliau annhraethol fawr am dano fel y dengys y gair "pa beth bynag" (*hosa*). Hyd yn nod yn awr, meddai, er fod pethau wedi troi allan yn ddigon chwithig, eto gelli di lawer; "hyd yn nod yn awr, mi a wn (*oida*)" gyda sicrwydd na all neb ei siglo, "*pa beth bynag* a ofynech di gan Dduw y dyry Duw i ti." Duw, Duw, ddwywaith, ac yn y gwreiddiol ar ddiwedd y ddwy frawddeg, pan y gallasai rhagenw unwaith gyfleu yr un synwyr. Paham? I ddangos y pwyslais. Er y trosglwyddai y rhagenw yr un syniad, ni ddatganai ac ni chynyrchai yr un teimlad. Y mae ailadrodd y gair "Duw" yn dangos fod rhywbeth mawr yn ffurfio yn ei meddwl. Pa beth ydoedd? Y mae arni ofn ei ddyweyd, ie, o bosibl ni allasai ei ddyweyd—ni wyddai pa beth ydoedd am ddyweyd; ond ymbalfala yn nghyfeiriad rhyw fendith fawr nad all roi enw arni. "Mi a wn pa beth bynag—pa beth bynag—a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti." Pa beth bynag—beth yw ef Martha? All hi ddim ei ddeffinio mewn geiriau, ond tafl ei greddfau allan ryw

ddywedodd wrthi, Adgyfodir dy frawd drachefn. Dywed- 24

---

awgrym ——, gan adael i gariad Crist ddehongli, llenwi, cyfieithu i iaith ac i ffaith y *dash* ofnadwy. Ar beth y seiliai y disgwyliad uchel annesgrifiadwy hwn? Ar ei hadnabyddiaeth o'r Athraw, yr hwn oedd wedi deffro rhyw ddymuniadau o'i mewn nad oedd gyfreithlon i'w mynegi mewn geiriau, ac ar yr ateb a roddodd i'r genhad yn adn. 4: "Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw, fel y gogonedder Mab Duw trwy hyny." Yr oedd hi a'i chwaer yn troi a throsi yr ateb yn eu myfyrdodau er ys dyddiau—beth a allasai y meddwl fod? Yr oedd merch Jairus wedi ei hadgyfodi, a mab y weddw o Nain wedi disgyn oddiar yr elor a cherdded adref gyda'i fam: nid yw y clefyd hwn i farwolaeth ond er ——, a ydyw yn myned i gyflawni rhywbeth mawr? Ofnent sibrwd wrth eu gilydd y disgwyliad oedd yn graddol ffurfio yn eu calonau. Merch Jairus yn fyw, y bachgen o Nain yn fyw, Lazarus yn farw, ac eto nid yw y clefyd hwn i farwolaeth ond er ——: beth all cynwys rhyw ymadrodd fel yna fod? Yr oedd rhyw ymdeimlad yn nghyfeiriad adgyfodiad megis yn ymweithio dan eu bron, ac eto ofnent roddi ffurf iddo mewn geiriau hyd yn nod yn nghlyw eu gilydd. Ac onid yw yn rhyfedd nad oeddynt wedi perarogli corph eu brawd! Beth oedd yn eu llesteirio? Nid diffyg arian, nid diffyg enaint fel y dengys yn y benod nesaf. Ai disgwyliad am ei adgyfodiad, yn ol ateb yr Iesu i'r genhad, oedd wedi eu hatal? Ai nid yr enaint, ag oedd wedi ei fwriadu ar gyfer claddedigaeth Lazarus, oedd y nard gwlyb gwerthfawr a dorodd Mair yn y benod nesaf ar ben yr Iesu, gan eneinio ei gorph sanctaidd Ef?

**ADN. 23. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Adgyfodir dy frawd drachefn.** Nid adgyfodaf fi, ond adyfodir. Paham y ffurf oddefol anmhersonol, ac nid y ffurf weithredol, bersonol? (1) Oblegid hwyrfrydigrwydd yr Iesu i ddwyn i mewn y "myfi" ond pan oedd purdeb yr athrawiaeth neu gyfanrwydd yr iachawdwriaeth yn gofyn am hyny. (2) Rhag i'r meddyliau anelwig yn nghalon Martha *brecipitatio* yn rhy gyflym, a thrwy hyny roddi ysgytiad gormodol i'w natur. Beth oedd meddwl yr Iesu? A yw yn cyfeirio at adgyfodiad uniongyrchol Lazarus, ynte at yr Adgyfodiad Cyffredinol yn niwedd y byd fel y deallodd Martha Ef? (1) Amheua Meyer ac Alford y priodoldeb o ddeall "adgyfodi" am ddychwelyd o'r bedd i'r fuchedd ddaearol; a dadleua Hengstenberg yn fwy pendant nad yw y Test. Newydd yn defnyddio y gair "adgyfodiad" am godi o'r bedd yr ochr yma, ond bob amser am godi yr ochr draw,—adgyfodi yw cyfodi o'r bedd, nid i barhau yn y byd gweledig, ond i fodoli yn y byd ysbrydol. Yn ol y golygiad hwn, y mae atebiad Martha yn yr adnod nesaf yn eglurhad teg ar eiriau Crist yn yr adnod hon. (2) Ond er cydnabod nerth yr ymresymiad yma, eto ni allwn lai na theimlo fod yr adnod hon i'w hesbonio yn ngoleuni y cyd-destyn. "Yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef," meddai yr Iesu ar gychwyn ei daith; yn ngholeuni y bwriad yma y rhaid dehongli ei eiriau a'i weithredoedd dilynol, ac felly gorfodir ni i fabwysiadu y golygiad fod yr Iesu yma yn cyfeirio yn bendant, nid at yr Adgyfodiad Cyffredinol yn y dydd diweddaf, ond at y wyrth ag oedd Efe ar fedr ei chyflawni yn ddioed.

odd Martha wrtho, Myfi a wn yr adgyfodir ef yn yr
25 adgyfodiad, y dydd diweddaf. Yr Iesu a ddywedodd
wrthi, Myfi yw yr adgyfodiad, a'r bywyd: yr hwn sydd yn

---

**ADN. 24. Martha a ddywedodd wrtho, Myfi a wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf.** "Mi a wn." Diau fod athrawiaeth yr adgyfodiad yn ei hadau i'w chael yn yr H.D., megis yn Daniel xii. 2, ac yn raddol dadblygwyd hi yn athrawiaeth bendant, gan ei gwneyd yn rhan o grefydd gyfansawdd y genedl. Yn 2 Macc. xii. 43, —160 o flynyddoedd cyn Crist—gwelwn hi yn athrawiaeth gref, llawndwf; ac yn Act. xxiii. 8, flynyddoedd ar ol Crist, nodir hi allan fel un o athrawiaethau arbenigol y Phariseaid. Ond yn ychwanegol at y ffydd genedlaethol, yr oedd Martha yn ddiau wedi derbyn hyfforddiant neillduol yn yr ymddiddanion melus rhwng yr Arglwydd Iesu â'r teulu ar yr aelwyd gartref. Ai ni wyddai am gynwys y bregeth ryfedd a draddododd yn Capernaum, yn yr hon y caiff yr adgyfodiad le amlwg a helaeth? (vi. 40, 44, 54)? Credai Paganiaeth yn anfarwoldeb yr enaid; credai Iuddewiaeth yn anfarwoldeb y corph yn gystal a'r enaid; gafaelodd Cristionogaeth yn y ddau gan eu cylymu wrth berson yr Arglwydd Iesu. Ond pa fodd y dylem edrych ar ateb Martha, fel prawf o arucheledd ei ffydd, ynte fel prawf o siomedigaeth ei serch? Nis gallwn lai na theimlo mai tôn siomedigaeth sydd yma. Nid oedd tynu cysur o'r Adgyfodiad Cyffredinol ond yr hyn yr oedd yr Iuddewon wedi bod yn ceisio ei wneyd yn y ty. Y dydd diweddaf! y mae hwnw mor bell! "Mi a wn pa beth bynag a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti;" ac eto sôn wyt ti am Adgyfodiad Cyffredinol,—y mae arnaf fi eisiau rhywbeth agosach, cynhesach.

**ADN. 25. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd.** Y "Myfi" yn bwysleisiol. Fel pe dywedasai yr Iesu: Yr wyt yn camsynied; nid drychfeddyliau yw Adgyfodiad a Bywyd, ond pethau; ac nid pethau yn hofran yn yr awyr, ond pethau sydd yn cartrefu mewn person; a Myfi yw y person. Nid bendithion ydynt y rhaid i mi erfyn am danynt gan Dduw; myfi yw y bendithion, ac y mae eu cyfraniad i eraill yn dibynu ar fy ewyllys i. Rhagora Cristionogaeth ar bob cyfundrefn arall yn eu gwirioneddau, a gogoniant y gwirioneddau yw, nid eu bod yn ddrychfeddyliau gweigion, ond eu bod oll wedi eu sylweddoli mewn person. Y Person yw y gwirioneddau. Ond paham y rhoddir yr Adgyfodiad o flaen y Bywyd? Paham na ddywedai, Myfi yw y Bywyd a'r Adgyfodiad? (1) Oherwydd yn eu perthynas â phechaduriaid rhaid i'r Adgyfodiad flaenori Bywyd. Gwir hynyna yn ysbrydol—adgyfodi y marw ysbrydol o farwolaeth pechod yn gyntaf, ei lanw â bywyd wedi'n. Gwir hynyna yn anianyddol—adgyfodi y corph o'r bedd sydd yn dyfod gyntaf, ei ddonio a bywyd anfarwol ar ol hyny. Yn ei berthynas a byd euog a llygredig, rhaid i'r Iesu fod yn Adgyfodiad i allu bod yn Fywyd. Yr un modd yn xiv. 6: "Myfi yw y ffordd, a'r gwirionedd, a'r bywyd." Rhaid iddo fod yn ffordd a gwirionedd cyn y gall fod yn fywyd i droseddwyr. (2) Ond os edrychwn ar yr Arglwydd Iesu ynddo ei hun, y mae yn fywyd cyn bod yn adgyfodiad. "Ynddo Ef yr oedd bywyd." "Megis y mae gan y Tad fywyd ynddo ei hun, felly y rhoddes Efe i'r Mab fod ganddo fywyd ynddo ei hun." Ac oherwydd y bywyd sydd

credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw: A phwy bynnag 26
sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dra-
gywydd. A wyt ti yn credu hyn? Dywedodd hithau 27

---

ynddo Ef, y mae Efe yn medru bod yn adgyfodiad a bywyd i eraill. Y bywyd ynddo yw y môr diwaelod a dilanau; yr Adgyfodiad a'r Bywyd yw yr afonydd sydd yn dylifo o'r mor at fyd marw a cholledig; ac o'r lle y daw yr afonydd, yno y dychwelant eilwaith, sef i'r Bywyd annherfynol sydd ynddo yn wreiddiol a hanfodol. Gan hyny, nid gweithred unigol, ddiberthynas, yw adgyfodiad Lazarus, ond "arwydd"—y mae yn gylymedig annatodol wrth egwyddor fawr gyffredinol, yr egwyddor a dderchafa y ddynoliaeth yn ei chyfanrwydd o dir colledigaeth i dir iachawdwriaeth; ac y mae yr egwyddor, nid mewn llyfr, ond yn mherson gogoneddus yr Arglwydd Iesu.

**Yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw.** Marw yn naturiol, a byw yn naturiol ac ysbrydol; marw o ran corph a byw o ran corph ac ysbryd. Nid Gwaredwr *oddiwrth* angeu a'r bedd yw yr Arglwydd Iesu, ond Gwaredwr *o* angeu a'r bedd; nid Gwaredwr oddiwrth brofedigaethau—nid Gwaredwr oddiwrthynt, ond Gwaredwr o honynt. Trwy ffydd daw y pechadur i undeb a môr anfesurol bywyd yn Nghrist; ac er i'r corph farw oherwydd pechod, eto bywyd a fydd y buddugoliaethwr yn y diwedd. Dyma y frawddeg sydd yn cyfateb, ac felly sydd yn egluro, y gosodiad blaenorol, "Myfi yw yr Adgyfodiad."

**ADN. 26. A phwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd.** (Cyd. vi. 51 a viii. 51). Byw yn naturiol yn undeb yr enaid a'r corph a'u gilydd; pwy bynag sydd yn byw felly, ac yn credu yn Nghrist, ni bydd marw yn dragywydd. Y mae y geiriau *ou mê apothanē eis ton aiōna* yn amwys, ac felly gellir eu deall mewn dwy ffordd. (1) Ni bydd marw yn *dragywydd*, h.y. bydd marw am dymhor ond nid am byth, enilla fywyd fuddugoliaeth ar angeu. Y mae y darlleniad yna yn gwneyd synwyr rhagorol, ac yn cyfateb yn hollol i'r sefyllfa yn Bethania ac i sefyllfa pethau o ran ymddangosiad trwy yr oesau. (2) Ffordd arall yw rhoddi y pwyslais ar "marw"—ni bydd *marw* yn dragywydd, ni bydd marw mewn un modd byth bythoedd—y ddau air nacäol yn ol anianawd y Groeg, fel y Gymraeg, yn cryfhau eu gilydd. Y meddwl, gan hyny, yw—ni bydd marw yn ystyr ysbrydol y gair, yn ei ystyr ddyfnaf; ni syrth i afael yr ail farwolaeth, yr hon yw yr unig farwolaeth wirioneddol. Felly cyll y gair "marw" ei golyn; ac angeu heb golyn, nid angeu mohono. Felly cyfateb y frawddeg hon i'r gosodiad, "Myfi yw y bywyd." Iesu Grist yn ei gymeriad dyblyg fel Adgyfodiad a Bywyd yn gongcwerwr ar Angeu yn ei gymeriad dyblyg—angeu corph ac angeu enaid. Yr Iesu yn llanw gwagle colledigaeth dyn! **A wyt ti yn credu hyn?** Nid credu yn yr Adgyfodiad Cyffredinol, ac nid credu fod adgyfodiad a bywyd yn rhoddion a ddyry Duw i mi mewn ateb i weddi megis ag i greadur, ond yn rhoddion Duw yn anwahanol gysylltiedig â fy mherson i? Gall adgyfodiad a bywyd fod yn rhoddion Duw i brophwyd (2 Bren. iv. 32—36) neu apostol (Act. xx. 9—12) mewn atebiad i weddi; ond nid rhoddion o'r tu allan ydynt i Grist—Efe yw y naill a'r llall; Efe a neb arall; ac hebddo Ef buasai eu sylweddoliad yn

wrtho, Ydwyf, Arglwydd: yr wyf fi yn credu mai ti yw
28 Crist, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r byd. Ac wedi
iddi ddywedyd y pethau hyn, hi a aeth ymaith, ac a alwodd

---

hanes y byd yn anmhosiblrwydd. Nis gall Duw eu rhoddi ar wahan oddiwrth Ef—Efe yw yr unig sianel ar hyd yr hwn y dylifant i'n byd ni. A wyt ti, Martha, yn credu hyn? Nid y gallaf adgyfodi a bywhau y meirw—gallodd y prophwydi wneyd hyny o fy mlaen, a gall yr apostolion wneyd hyny ar fy ol, ond mai fy eiddo priod i yw y naill a'r llall, ac mai benthyg ydynt i bawb eraill? Fy meddiant gwreiddiol i ydynt, ie, myfi yw y naill a'r llall. Mae fy mherthynas i â hwy ac â Duw yn wahanol i berthynas pawb eraill—a wyt ti yn credu hyn? Isradd i Dduw ydoedd yn ol barn Martha fel ei datgenid yn y gair *aitein;* amcana Crist yma ei harwain i synied am dano fel "cydradd a Duw."

**ADN. 27. Ydwyf, Arglwydd; yr wyf fi wedi credu mai ti yw y Crist, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r byd.** "Ydwyf, Arglwydd"—ydwyf beth? Etyb rhai fod yr "Ydwyf" yn cyfeirio at y gyffes a wna hi yn y gweddill o'r adnod; ond gwell yn ddiau yw cymeryd yr "Ydwyf" fel yn cyfeirio at yr hyn a ddywedodd yr Iesu yn y ddwy adnod flaenorol yn gystal ag at yr hyn a ddywed hi yn yr adnod hon. Credai yr hyn a ddywedodd yr Iesu am dano ei hun, cred hefyd yr hyn a ddywed hi ei hunan am dano yn yr adnod hon. "Yr wyf wedi credu" ac yn parhau i gredu. Meddyliai mor uchel am dano fel nas gallai feddwl yn uwch, nid oedd dim yn ormod ganddi i gredu am dano. "Mai ti yw y Crist"—y Messiah, swyddog uchaf Duw, ei genhad anrhydeddusaf. "Mab Duw:" golyga hyn y berthynas agosaf â Duw ag oedd ddichonadwy. Mab Duw yn mha ystyr? Nid oedd Martha wedi dadansoddi y gwirionedd. Mab theocrataidd Duw, medd rhai. Ie, credai hyny. Mab *metaphysical* Duw, medd eraill. Ie, credai hyny, os oedd hyny yn uwch na mab theocrataidd. Ni wyddai beth a gynwysai y term, medd esbonwyr. Gwir; ac nid yw yr esbonwyr chwaith yn gwybod yr hyn a gynwysa. Credai ei fod yn Fab Duw yn mhob ystyr dda, ac yn mhob ystyr dda yn y ffurf uchaf arnynt. Ni allasai ddychymygu am un berthynas agosach a Duw nag a fodolai rhwng yr Arglwydd Iesu ag Ef. Nid Cyffes Rheswm sydd yma ond Cyffes Ffydd, seiliedig ar brofiad crefyddol; ond dyna sydd yn hynod—ni allodd Cyffes Rheswm daraw nodau uwch yn y raddfa na'r rhai hyn. Onid oedd yn wraig o gynheddfau cryfion ac o brofiad dwfn i allu cyfansoddi y fath Gyffes ddifyfyr? "Yr hwn sydd yn dyfod i'r byd." Nid yw hyn yn golygu nad oedd wedi dyfod, ond dyna yr enw desgrifiadol o'r Messiah yn yr oes hono, sylfaenedig ar ffyddlondeb Duw i'w addewid. Ni ddefnyddir ef unwaith yn yr efengylau Synoptaidd, ond yn aml yn yr efengyl hon (i. 9; iii. 19; vi. 14; ix. 39; xii. 46; xvi. 28; xviii. 37).

**ADN. 28. Ac wedi iddi ddywedyd y peth hwn, hi a aeth ymaith.** Paham yr aeth ymaith? (1) Un ateb yw mai am fod yr Iesu wedi ceisio ganddi i alw ei chwaer, yr hyn yn ddiau sydd yn wirionedd. (2) Ond dan yr ateb yna, y mae ateb arall dyfnach, sef fod yr ymddiddan wedi cyrhaedd ei uchafnod o'r ddwy ochr—yr oedd yr Iesu wedi gwneyd iddi hi y datguddiad uchaf oedd bosibl, ac y mae hithau wedi gwneuthur iddo

yn ddirgel ei chwaer Mair, gan ddywedyd, Fe ddaeth yr
Athraw, ac y mae yn galw am danat. Cyn gynted ag y 29
clybu hi, hi a gododd yn ebrwydd, ac a ddaeth atto ef.
(A'r Iesu ni ddaethai etto i'r dref, ond yr oedd efe yn y 30
man lle y cyfarfuasai Martha âg ef.) Yna yr Iuddewon y 31
rhai oedd gyd â hi yn y tŷ, ac yn ei chysuro hi, pan welsant

---

Ef y gyffes uchaf oedd ddichonadwy; a chan fod ei ddatguddiad Ef a'i chyffes hi yn berffaith gyfateb i'w gilydd, nid oedd dim yn rhagor i'w ddywedyd. "Wedi iddi ddywedyd y peth hwn"—nid y pethau hyn, fel yn y cyfieithiad arferol, ond "y peth hwn"; yr oedd yr holl bethau wedi eu cyd-gasglu i'r un peth hwn—y peth oedd yn rhwymo datguddiad ar un llaw, a ffydd gyfatebol ar y llaw arall, mewn un cyffes gynwysfawr. **Ac a alwodd ei chwaer Mair, gan ddywedyd yn ddirgel.** O ran gramadeg gall yr adferf "dirgel" berthyn i'r galw neu y dywedyd—galw yn ddirgel neu ddywedyd yn ddirgel; ond gan y dygwydd y ddwywaith arall y defnyddir ef yn y Test. Newydd o flaen, ac nid ar ol, y ferf y perthyn iddi, doeth yw ei gymeryd yma yr un modd. O ganlyniad y meddwl yw i Martha ddychwelyd i'r tŷ, galw ar Mair i ddyfod am funyd o'r neilldu, a sibrwd yn ddirgel wrthi, **Fe ddaeth yr Athraw, ac y mae yn galw am danat ti.** Paham y sibrydodd yn ddirgel? Am ddau reswm. (1) Oherwydd fod y tŷ yn llawn o Iuddewon, llawer o honynt yn elyniaethol i'r Iesu, ac nid oedd am gyhoeddi ei ddyfodiad yn eu clywedigaeth hwy. (2) Oblegid fod yr Iesu yn dymuno cael ymddiddan yn *brivate* â Mair megis ag y cafodd â Martha, heb bresenoldeb yr Iuddewon. "Fe ddaeth yr Athraw"—nid y Rabbi, yr hwn oedd deitl o seremoni, ond yr Athraw *(ho didaskalos)*, yr un gair ag a ddefnyddir am Nicodemus yn iii. 10. "Y dysgawdwr": ymddengys mai dyna yr enw a arferent yn y teulu i ddynodi yr Arglwydd Iesu. Llawer awr a dreuliasant yn ei gymdeithas, yn gwrandaw ar y geiriau grasusol a ddylifent dros ei wefusau—Efe yn traethu yn ymddiddanol ar wirioneddau mawrion teyrnas nefoedd, yn egluro iddynt yr Ysgrythyrau, ac yn ateb y cwestiynau a ofynent ar y dyrys-byngciau a gythryblai eu calonau.

**ADN. 29. Cyn gynted ag y clybu, hi a gododd yn ebrwydd**—yr *aorist tense*, **ac a ddaeth ato ef**—yr amser anmherffaith. Y cyntaf yn dynodi gweithred gyflym derfynol, y llall weithred a pharhâd ynddi.

**ADN. 30. A'r Iesu ni ddaethai eto i'r dref.** Paham na ddaeth i'r dref? (1) Barna Calfin na ddaeth ar awgrym Martha, rhag peryglu o hono ei fywyd, oblegid presenoldeb Iuddewon Jerusalem. (2) Ond feallai mai y prif reswm yw y chwenychai gyfarfyddiad *private* â Mair megis ag a'i chwaer. **Ond yr oedd efe yn y man lle y cyfarfuasai Martha ag ef.** Yr un ochr i'r pentref â'r bedd, gan y bwriadai fyned at y bedd i gyflawni y wyrth. Gwrthwynebir hyn gan rai am y rheswm na wyddai pa le yr oedd y bedd (adn. 34). Digon gwir; ond os na wyddai pa le yr oedd y bedd, gwyddai amcan pa le yr oedd y fynwent, gan yr ymwelai yn fynych â'r pentref.

**ADN. 31. Yna yr Iuddewon y rhai oedd gyda hi yn y ty, ac yn ei chysuro hi.** Yr oeddynt yn ei chysuro ar y pryd—yn y weithred.

Mair yn codi ar frys, ac yn myned allan, a'i canlynasant hi,
gan ddywedyd, Y mae hi yn myned at y bedd, i wylo yno.
32 Yna Mair, pan ddaeth lle yr oedd yr Iesu, a'i weled ef, a
syrthiodd wrth ei draed ef, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd,
33 pe buasit ti yma, ni buasai fy mrawd farw. Yr Iesu gan

---

**Pan welsant Mair yn codi ar frys ac yn myned allan, a'i canlynasant hi, gan ddywedyd, Y mae hi yn myned at y bedd i wylo yno**. Defnyddir dau air yn y benod hon am "wylo": un *(dakruein)* yn golygu colli dagrau, y llall *(klaiein)* yn golygu nadu, dolefain, ubain. Y gair diweddaf a ddefnyddir yma—"Y mae hi yn myned at y bedd i ddolefain yno," crio yn uchel mewn oernadau wylofus, yn ol arfer y Dwyrain. Ein harfer ni yn y wlad hon yw celu teimlad, eu harfer hwy yw gwneyd arddangosiad o hono. Trefnid claddedigaethau yn y gwledydd dwyreiniol mewn ffordd i fagu yn hytrach na rheoleiddio teimlad, cyflogid galarwyr i ffugio teimlad ac i efelychu tristwch. Yr un gair a ddefnyddir am Rachel yn "wylo" am ei phlant (Matt. ii. 18)—codi ei llais mewn alaeth; ac am Petr ar ol y gwadu deirgwaith yn myned allan ac yn "wylo" yn chwerw dost (Marc xiv. 72)—ebychai yn uchel nes deffro yr adsain; ac am y weddw o Nain (Luc vii. 13) yn cwynfan yn uchel nes deffro cydymdeimlad y Gwaredwr.

**ADN. 32. Yna Mair . . . a syrthiodd wrth ei draed ef.** Ni wnaeth Martha hyny,—nid yr un ffordd sydd gan wir grefydd i ddangos ei hun yn mhawb. Crefydd teimlad oedd yr eiddo Mair, ond crefydd ymarferiad oedd yr eiddo Martha; ond gwnai yr olaf lawn cystal merthyr a'r gyntaf—hi losgai dros y Ceidwad yn llawn mor danbaid. A yw ymgrymiad Mair yn cynwys addoliad? Ni chrybwyllir hyny, ond gogwydda Calfin i gredu ei fod. Yn hyn cenfydd rhai esbonwyr ragoriaeth Mair ar Martha; meddyliai y ddiweddaf yn uchel am yr Iesu, eithr nid yn ddigon uchel i'w addoli—un yn ffafr Duw ydoedd, ond heb fod ei hunan yn Ddwyfol. Ond am Mair—y mae Ef yn ei theimlad hi yn ogyfuwch â Duw, nis gall feddwl am neb uwch na dim mwy, iddi hi y mae yn wrthrych teilwng addoliad. Ond o braidd y caniata yr hanes i ni dynu llinell wahaniaethol mor lydan rhwng y ddwy chwaer—meddai y ddwy wir grefydd, yr hon yn mhawb sydd yn hanfodol yr un. **Gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, pe buasit ti yma ni buasai fy mrawd farw.** Yr un frawddeg sydd ar wefusau y ddwy chwaer, yn profi mai dyna faich eu hymddiddan â'u gilydd. Nid cerydd ydyw, ond *regret.* Ac eto y mae ychydig o wahaniaeth yn y gwreiddiol rhwng y frawddeg ar wefus Martha ac ar wefus Mair; nid yw y ddwy ferf yn yr un amser, ac yn y llawysgrifau goreu y mae y rhagenw yn newid ei le, er mwyn pwyslais ychwanegol. "Fy mrawd," ebe Martha; "fy mrawd i," meddai Mair,—y mae angherddolach teimlad yn dyfod i'r golwg, megis pe yr hawliai berthynas agosach âg ef. Teimlai megis pe buasai darn o'i chalon wedi ei dori ymaith. Ac yna torodd allan i "wylo"—ni allasai yngan gair yn rhagor.

hynny, pan welodd hi yn wylo, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyd â hi yn wylo, a riddfanodd yn yr yspryd, ac a

---

CYFLAWNIAD Y WYRTH. ADN. 33—46.

**ADN. 33. Yr Iesu gan hyny pan welodd hi yn wylofain, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyda hi yn wylofain.** Y gair yma eto yw *klaiein*—nid wylo yn ddistaw, ond wylofain yn uchel. Torodd Mair allan i alarnadu; a'r Iuddewon, i raddau mewn cydymdeimlad, ac i raddau fel effaith defod y wlad, a dorasant allan i alarnadu gyda hi. Llenwid yr awyr gan swn galar a gwae; a chan fod wylofain yn *gatching*, effeithiodd yn fawr ar dymherau yr Arglwydd Iesu, fel y dengys y cysylltair "gan hyny." "Gweled" ei galar hi a'i chyfeillesau oedd achos cyffro meddyliol y Gwaredwr. **A ruddfanodd yn ddigllon yn yr Ysbryd.** Y mae y frawddeg hon wedi achlysuro llawer o amrywiaeth barn yn mhlith esbonwyr. Yr anhawsder cyntaf yw penderfynu ystyr gywir y gair gwreiddiol (*embriaomai*), yr hwn a gyfieithir yn y Gymraeg yn "ruddfan," ac yn y Saesonaeg Awdurdodedig a Diwygiedig yn "*groan*." Ni ddefnyddir y gair o gwbl yn nghyfieithiad Groeg y Deg a Thrigain, a dim ond teirgwaith yn y Test. Newydd heblaw y benod hon; sef yn Matt. ix. 30, ("Efe a orchymynodd iddynt trwy fygwth"), ac yn Marc i. 43, ("Ac wedi gorchymyn iddo yn gaeth"), ac yn Marc xiv. 5 ("A hwy a furmurasant yn ei herbyn hi"). Yn y tair enghraipht gwelwn deimlad cynhyrfus, penderfynol, yn ymylu ar ddigllonedd. Yn awr, beth yw ystyr yr un gair yn yr adnod dan ein sylw? (1) Barna Calfin, Grotius, Tholuck, ac Olshausen mai arwyddocau tristwch dwfn y mae, yn cael ei gynyrchu gan yr wylofain torcalonus o'i amgylch,—gofid cynhyrfus yn yr olwg ar gyni a thrueni y byd. Dilys genym fod hyn yn wir mor bell ag y cyrhaedda, ac y mae yn cyrhaedd yn mhell iawn; ond y mae yn amheus genym a ydyw yn dihysbyddu holl gynwys y gwreiddiol. (2) Dealla y Tadau Groegaidd y gair bron yn ddieithriad fel yn dynodi teimlad digofus, a dilynir hwy gan Luthardt, Meyer, Godet, Westcott, a mwyafrif mawr yr esbonwyr diweddar. Nid yr elfen alarus, ond yr elfen ddigofus, sydd amlycaf. Gruddfanodd yn yr ysbryd, nid gan ofid, ond gan ddigllonedd. (3) Ond credwn ni gyda Lange ac eraill mai teimlad cyfansawdd a ddesgrifir yma—gofid yn tarddu o gydymdeimlaud â'r amgylchiadau annymunol o i amgylch, a digllonedd yn erbyn yr elfenau anghydnaws a ganfyddai yn yr arddangosiad terfysglyd hwn o deimlad. Ond pa fodd y mae i ni ddeall iddo "ruddfan gan ddigllonedd *yn yr ysbryd*"? Y mae yr "ysbryd" yma yn y *dative case*; ond pa un ai y *dative* gwrthrychol ynte y *dative* offerynol neu leol? Yn mhob enghraipht arall y *dative* gwrthrychol sydd ar ol y ferf neillduol hon, a mỳn Chrysostom, ac eraill y rhaid deall yr ymadrodd yma yn gyson â'r defnyddiad o hono yn yr enghreiphtiau hyny. (1) Gan hyny, barna Chrysostom, ac nid yw Alford yn gwahaniaethu llawer, mai gwrthrych digllonedd yr Arglwydd Iesu yw ei "ysbryd" ei hun, y teimlad wylofus ag oedd yn chwyddo dan ei fron. Gorchymynodd yn gaeth neu trwy fygwth i'w deimladau dynol beidio berwi yn ormodol o'i fewn; ffrwynodd gyda ffyrnigrwydd ei natur ddynol ei hun pan oedd hono ar dòri dros derfynau gweddeidddra yn natganiad ei theimladau. Beia rhai yr eglurhad hwn oblegid y cwtoga ryddid y natur ddynol; ond ni welwn ni

ddim ynddo yn anghyson â chrediniaeth drwyadl yn nghyflawnder dynoliaeth y Gwaredwr. Pan oedd y natur ddynol ar golli ei chydbwysedd *(equilibrium)* yn nghefnllif cydymdeimlad, wele yr Iesu trwy benderfynolrwydd di-ildio ei ewyllys yn ei ffrwyno, gan ei chadw o fewn y terfynau priodol. Nid yw gwrthddadl Godet yn tycio, iddo yn yr adnod nesaf ond un roddi ffordd i'r teimlad. Do, mor belled ag oedd weddus trwy ddyhidlo dagrau distaw fel gwlithwlaw Mehefin; naddo, mor bell ag i fyned dros ben terfynau dwyfol weddusrwydd. (2) Ar yr un llinellau, ond gyda thipyn o wahaniaeth, y rhed eglurhad Cyril; tra wrth ei "ysbryd" y dealla Chrysostom ei ddynoliaeth, dealla Cyril ei Dduwdod—y Duwdod yn ffrwyno y dyndod o'i fewn. "Pan y dechreuodd galar gynhyrfu o'i fewn," meddai Cyril *(Frag. in Joan.)*, "ac yr oedd ei gnawd sanctaidd ar fin dagrau, ni oddefodd iddo weithrediad rhydd, megis y mae yn arfer genym ni, ond yr oedd draisgar yn yr Ysbryd, h.y. Efe mewn rhyw ffordd a geryddodd ei gnawd ei hun; ac yntau (sef y cnawd), yn methu goddef ataliad y Duwdod oedd mewn undeb âg ef, a grynodd,—canys hynyna, mi goeliaf, yw ystyr yr ymadrodd, 'Efe a ymgynhyrfodd.'" Felly rhydd Cyril i'r ymadrodd, "yn ei ysbryd," yr un ystyr ag sydd iddo yn ysgrifeniadau Paul (Rhuf. i. 4), sef y Natur Ddwyfol. (3) Ar y dybiaeth mai y *dative* gwrthrychol sydd yma, gwna Westcott ddau ddyfaliad. *(a)* Mai achos y terfysg meddyliol yn mynwes yr Iesu oedd ymgiliad ei ysbryd oddiwrth yr ysgarmes âg angeu ar lân bedd ei gyfaill. cyffelyb o ran natur, eithr nid o ran graddau, i'r teimlad a barodd iddo weddio yn Gethsemane, "Os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio." Gan hyny, y mae yr Iesu yn ngrym ofnadwy ei ewyllys yn gorchymyn yn gaeth i'r natur ddynol beidio encilio o'r frwydr; casgla holl egnion ei bersonoliaeth ddwyfol i un penderfyniad mawr terfynol—nodweddir ei ewyllys gan ddwyfol *sternness*. *(b)* Neu mai achos y cyffroad o'i fewn oedd awyddfryd gormodol ei natur ddynol i ruthro i'r gâd, math o ddiffyg amynedd i ddechreu yr ymladdfa a gorchfygu y gelyn megis y gwelir weithiau mewn byddin ar faes y gwaed. Ond atalia yr Iesu yr awyddfryd gormodol a genfa ac a ffrwyn, cerydda y gor-awydd, iddo gael hamdden i ddangos ei gydymdeimlad, ac iddo glywed awrlais ei Dad yn taraw.

Cred eraill, fodd bynag, gyda thebygolrwydd mwy mai y *dative* lleol sydd yma—"Efe a ruddfanodd yn ddigllon yn yr ysbryd," yr ysbryd yn dangos y cylch yn yr hwn y cymerodd y cythruddiad le. Y mae hyn yn gyson a gosodiad adn. 38 iddo ruddfanu yn ddigllon "ynddo ei hunan": yr unig wrthddadl yw fod y ferf mewn canlyniad yn anwrthrychol tra yn mhob enghraipht arall y mae a'i gwrthrych yn ei chanlyn. "Yn ei ysbryd" (*pneuma*), nid yn ei enaid (*psuche*). Maentumia Meyer y gallasai Ioan ysgrifenu enaid (*psuche*) gyda yr un priodoldeb; ond dalia Godet na allasai, am fod y gair "ysbryd" yn arwyddo eisteddle y teimladau crefyddol, tra nad yw y gair "enaid" yn dynodi ond eisteddle y teimladau naturiol. "Ysbryd" yw y gair a ddefnyddir mewn cysylltiad a bradwriaeth Judas (xiii. 31; Marc viii. 12), tra mai "enaid" yw y gair mewn cysylltiad a dyoddefaint corphorol y Groes (xii. 27). O ganlyniad yn y rhan hono o ddyn sydd uwchlaw nwydau y cymerodd y cythrwfl le—nid digllonedd nwydol mohono, ond digllonedd egwyddorol, yn cyfodi o wrthwynebrwydd anian neu natur. Cynhyrfai ei ysbryd; ond cynhwrf dwfr gloew mewn phiol risialaidd ydoedd—nid oedd dim sorod i'w lwydo. Y mae cynhwrf tufewnol

gynhyrfwyd; Ac a ddywedodd, Pa le y dodasoch chwi ef? 34

---

ynom ni yn aflonyddu y gwaddod yn ngwaelod ein natur; ond parhaodd Ef yn loew drwyddo er y cyffro o'i fewn. "Nid nwydau," meddai Bengel, "oedd teimladau yr Iesu, ond terfysgiadau gwirfoddol ag oedd yn hollol dan ei lywodraeth; ac yr oedd y cynhwrf presenol yn llawn o drefn ac o'r rheswm uchaf."

Y fan hon cyfyd gofyniad arall, Yn ol yr esboniad hwn, beth oedd achos y gruddfan digllon? (1) Mỳn Theodore o Mopsuestia ac eraill mai anghrediniaeth yr Iuddewon oedd yn bresenol, ac hyd yn nod diffyg crediniaeth yn y ddwy chwaer. (2) Dadleua Meyer mai wylofain rhagrithiol yr Iuddewon; nid oedd dim diffuantrwydd yn eu dagrau—gwthiai rhagrith ei hunan hyd at ystafell y marw a glàn y bedd. Rheswm cryf, ac ategir ef gan y wylofain mawr yn nechreu yr adnod. (3) Awstin, Luthardt, ac eraill mai yr olwg ar ganlyniadau andwyol pechod, yn foesol ac anianyddol,—yr hafog dychrynllyd y mae wedi ei weithio yn mhlith dynion. Trueni y teulu yn Bethania a'r teulu dynol yn gyffredinol mor resynus nes cyffroi holl natur sanctaidd y Duwddyn, a deffro ei lidiowgrwydd yn erbyn yr achos oedd y tu cefn i'r cyfan, sef pechod, a'r achos oedd y tu cefn i'r pechod, sef y diafol. Os cyfunir y ddau olaf, byddwn o bosibl mor agos i'r gwirionedd ag y medr dyfaliad gyrhaedd. **Ac a gynhyrfodd ei hun.** Nid a gynhyrfodd, ond a gynhyrfodd ei hun, i ddangos gweithrediad ei ewyllys. Yn y frawddeg flaenorol, yr oedd llais y ferf yn arwyddo fod achos y cynhwrf y tu allan; ond yma y mae llais y ferf yn dangos fod achos y cynhwrf y tu fewn. Yn y frawddeg flaenorol achos allanol i gynhwrf tufewnol; yn y frawddeg hon, achos tufewnol i gynhwrf allanol. "Cynhyrfodd ei hun"—crynodd ei gorph yn mhob aelod o hono; ond yr oedd gwirfoddolrwydd hyd yn nod yn ei gryndod. Pâr teimladau cryfion i'r corph grynu yn mhob gewyn a gwythïen. Crynodd yr Iesu, nid gan ofn, ac nid gan lawenydd, ond gan yr iâs ofnadwy a aeth trwyddo yn nghasgliad ynghyd ei egnion dwyfol a dynol i ffurfio penderfyniad diysgog i orchfygu teimladau naturiol yn nghyflawniad y gwaith goruwchnaturiol a roddod y Tad iddo i'w wneuthur. Yr oedd ei natur ar ymhoelyd, ac yntau ar ddibyn colli ei hunan-lywodraeth; ac fel gyrwr cerbyd, mewn munyd frawychus, pan y mae y meirch ar ddiangc o dan ei lywodraeth, casglodd ei holl egnion at eu gilydd i un penderfyniad ofnadwy, a chrynodd pob aelod gan nerth y *shock*. Nid esbonwyr beirniadol a geiriadurol, nac hyd yn nod esbonwyr athronyddol, yw y goreu yma, ond esbonwyr ag y mae yn eu natur elfen gref o farddoniaeth sancteiddiedig.

**ADN. 34. Ac a ddywedodd, Pa le y dodasoch chwi ef?** Dyma yr unig enghraipht o'r Iesu yn gofyn am hysbysrwydd, er feallai yr awgrymir hyny yn "nghael" adn. 4. Paham yr hola yn awr? (1) Cred Hengstenberg a Stier mai er cynyrchu yr effaith briodol ar y gwyddfodolion. (2) Ond ar y cyfan doethach yw ateb Meyer, mai er mwyn hysbysrwydd. Lle y mae teimladau mor bur ac uchel nid oes tuedd na hamdden i ofyn cwestiynau er mwyn ymddangosiad. **Hwy a ddywedasant wrtho, Tyred a gwel.** Y ddwy chwaer, yn fwyaf tebyg: os felly, dychwelodd Martha o'r ty gyda Mair at yr Iesu.

35 Hwy a ddywedasant wrtho, Arglwydd, tyred a gwel. Yr
36 Iesu a wylodd. Am hynny y dywedodd yr Iuddewon,

---

**ADN. 35. Yr Iesu a wylodd.** Y gair am "wylo" yma yw, nid *klaiein*, fel yn adn. 33, yn golygu wylofain, ond *dakruein*, yn golygu colli dagrau yn ddistaw. Yr adnod feraf, ac ar ryw gyfrifon yr adnod gyfoethocaf, yn yr holl Feibl. "Yr Iesu a wylodd." *Full stop* o'i blaen, a *full stop* ar ei hol, heb un cysylltair i'w chylymu wrth ddim arall. Saif yn ei hunigedd, ar ei gwaelod ei hun, fel cofgolofn. Arhosodd Ioan cyn ei hysgrifenu, fel y dengys y *full stop* o'i blaen; arhosodd ar ol ei hysgrifenu, fel y dengys y *full stop* ar ei hol. Yna safodd i syllu mewn addoliad arni, a gadawodd hi yn ei mawredd a'i symlrwydd i ninau edrych arni a rhyfeddu. Dim ond tair gwaith y darllenwn i'r Iesu wylo —nid dyn llaith, llwfr mohono, yn barod i wylo ar bob amgylchiad, eithr dyn dewr, hunan-feddiannol; o'r graig galetaf y rhed y dwfr gloewaf. (1) Y tro cyntaf yma—dagrau o gydymdeimlad, dagrau distaw, heb ddim arddangosiad. (2) Yr ail dro yn Luc xix. 41: "Ac wedi iddo ddyfod yn agos, pan welodd y ddinas, efe a wylodd drosti"—*klaiein*, yr un gair ag a ddesgrifia wylo Mair a'r Iuddewon, wylofain; *he sobbed aloud*, fel plentyn ar dori ei galon. Yr Iesu glân yn *sobbio* yn uchel, nes clywed o bawb, wrth feddwl am yr alanas oedd ar orddiwes Jerusalem, a'r ddamnedigaeth oedd yn aros ei thrigolion yn yr arall fyd. Fel gwladgarwr carai y brif-ddinas; fel Ceidwad dyheuai am ddyogelwch yr eneidiau o'i mewn. Dagrau Gwladgarwr a Cheidwad! (3) Y drydedd waith yn Gethsemane, megis y desgrifir yn Heb. v. 7: "Yr hwn, yn nyddiau ei gnawd, gwedi iddo trwy lefain cryf a dagrau, offrwm gweddiau ac erfyniau." Nid oes genym hanes am hyn yn y Pedair Efengyl, ond diau ei fod yn un o'r lluaws efengylau boreuol (Luc i. 1—4); felly priodol y cyfeiriad yn litani Eglwys Groeg at ei "ddirgel ing" *(unknown agony)*. Dagrau Iachawdwr mewn dychryn dan faich pechod y byd! Ond gan y gwyddai ei fod yn cerdded tua'r bedd i adgyfodi Lazarus, paham yr wylai yn awr? (1) Etyb y beirniaid anghrediniol mai dagrau gwneyd oeddynt, *show-tears*, heb un teimlad gwirioneddol odditanynt. Dagrau chwareyddol *(theatrical)*, ebe Baur; dagrau annaturiol, meddai Keim. I ni y mae caledwch beiddgar y beirniaid hyn yn fwy anamgyffredadwy nag hyd yn nod ddagrau y Ceidwad. (2) Ond nid yw adnabyddiaeth ddyfnach yn canfod anhawsder anorfod, canys y mae galar yn *gatching*. Oni wyddom oll beth yw clywed am farwolaeth cyfaill, derbyn dolur dwfn gan y newydd, ac eto heb golli dagrau? Ac oni wyddom, ar ol myned i'r ty a gweled y weddw a'r plant yn wylo, beth yw ymuno â hwy er ein gwaethaf? Ioan sydd yn ymhelaethu fwyaf ar Dduwdod yr Arglwydd Iesu, ac eto efe sydd yn profi ei ddyndod grytaf. Gwawdia anffyddiaeth y Duw hwn, "Duw mewn dagrau"; ond gwyddom ni mai yn nheimladrwydd Duw y gwreiddiodd iachawdwriaeth y byd.

**ADN. 36. Yr Iuddewon gan hyny oedd yn dywedyd, Wele, fel yr oedd yn ei garu ef.** Y ddwy ferf yn yr amser anmherffaith. Yr oeddynt yn dywedyd, ac yn ail-ddywedyd—*They kept saying.* Dyma y dosbarth teg a ffafriol, y rhai nad oeddynt wedi eu dallu gan ragfarn.

Wele, fel yr oedd yn ei garu ef. Eithr rhai o honynt a 37
ddywedasant, Oni allasai hwn, yr hwn a agorodd lygaid y
dall, beri na buasai hwn farw chwaith? Yna yr Iesu 38
drachefn a riddfanodd ynddo ei hunan, ac a ddaeth at y

---

**ADN. 37. Eithr rhai o honynt a ddywedasant, Oni allasai hwn, yr hwn a agorodd lygaid y dall, beri na buasai hwn farw chwaith?** Pa deimlad a gymhellai y rhai hyn? (1) Cred Chrysostom, a dilynir ef gan Olshausen, Tholuck, a Hengstenberg, mai mewn natur dda y llefarent, am na allent gysoni gallu gwyrthiol yr Iesu â'r ffaith iddo adael i'w gyfaill Lazarus farw. (2) Ond cred Bengel, Calfin, Luthardt, a Godet, gyda mwy o briodoldeb, mai lleferydd calon ddrwg anghrediniol sydd yma. Ar un llaw, ymresymant oddiwrth y wyrth ar y dyn dall i ddiffyg cariad at Lazarus yn yr Iesu; ar y llaw arall, ymresymant oddiwrth ei anallu i atal marwolaeth Lazarus at ei anallu i agor llygaid y dall. Mor gywrain troellau y sarph yn mhob oes! Ond paham y cyfeiriant at agoriad llygaid y dall ddeufis neu dri yn ol, ac nid at adgyfodiad merch Jairus neu fab y weddw o Nain, gan ddywedyd, Oni allasai yr hwn a adgyfododd ferch Jairus a'r bachgen o Nain beri na buasai Lazarus farw chwaith, gan fod y gyffelybiaeth yn drylwyrach? Ateb Strauss yw fod eu distawrwydd am y ddwy wyrth hyny yn profi na wyddent am danynt; ac os na wyddent am danynt, nad oeddynt wedi eu cyflawni. Ond yn sicr gellir rhoddi ateb mwy boddhäol. (1) Cred Luthardt a Westcott na wyddai yr Iuddewon hyn, o bosibl, am y ddau adgyfodiad yn Galilea; ond pell ydynt o dynu casgliad Strauss fod hyny yn brawf na wyddai neb am danynt, ac felly mai ffug-hanesion diweddarach ydynt. (2) Etyb Alford, os oeddynt wedi clywed am danynt, nad oeddynt yn credu yn ei gwirioneddolrwydd; a bod eu hanghrediniaeth yn rheswm digonol dros eu distawrwydd am danynt. (3) Ond y mae mwy o nerth yn eglurhad Tholuck a Meyer nad oedd y drychfeddwl wedi gwawrio eto ar eu meddyliau fod yr Iesu yn myned i adgyfodi Lazarus, yn gymaint a'u bod mewn dygn anwybodaeth am ei amcan a chynwys ei ymddiddanion â'r chwiorydd; a chan nad oedd y syniad o adgyfodiad gerbron eu meddyliau, yn naturiol ni feddyliasant am y ddau adgyfodiad blaenorol. Gallent wybod am danynt; ond nid oedd dim wedi digwydd i ddwyn i'w cof eu cyffelybrwydd i adgyfodiad Lazarus, gan nad oedd yr olaf wedi cymeryd lle eto. Y mae yr eglurhad hwn yn ddigon i gyfrif am eu cyfeiriad at y wyrth ar y dyn dall, a'u distawrwydd am y ddwy wyrth arall, sef mai y wyrth ar y dall oedd gryfaf yn eu cof, oblegid mai y hi oedd yr unig wyrth a fu yn fater ymchwiliad cyhoeddus (*official investigation*) gan y swyddogion eglwysig. Rhoddodd yr ymchwiliad hwn iddi arbenigrwydd a chyhoeddusrwydd na pherthynai i'r gwyrthiau eraill; naturiol, gan hyny, oedd i Iuddewon Jerusalem gyfeirio ati.

**ADN. 38. Yr Iesu, gan hyny, a ruddfanodd yn ddigllon ynddo ei hun.** Dyma yr ail waith i'w ysbryd ferwi gan ddigllonedd, a dangosodd ei deimlad mewn un *splash* ddychrynllyd, pa un ai swn bygythiol neu symudiad corphorol nis gellir penderfynu. Paham yr ail gynhyrfiad hwn? (1) Y mae y rheswm, hwyrach, i'w gael yn anghrediniaeth yr Iuddewon yn yr adnod flaenorol. Gwrthddadleuir nad oedd yr Iesu wedi

bedd. Ac ogof oedd, a maen oedd wedi ei ddodi arno.
39 Yr Iesu a ddywedodd, Codwch ymaith y maen. Martha,
chwaer yr hwn a fuasai farw, a ddywedodd wrtho,

---

clywed eu sylwadau trahaus, gan mai wrth eu gilydd y siaradent ; ac y mae hyny yn ddigon tebyg ; ond nis gellir meithrin dirmyg yn y fynwes heb i hwnw daflu ei gysgod du ar y wedd, ie, yr oedd presenoldeb anghrediniaeth i natur mor lednais a *sensitive* a'i eiddo Ef fel chwa ddeifiol y dwyrain i rosyn teg—cyffrodd ynddo ei hun. (2) Ond tra yn caniatau hynyna, eto nid ymddengys ei fod yn ddigonol i gyfrif am ei ochenaid ddofn a phoenus. Felly cawn yr adnod yn cysylltu y cynhyrfiad brawychus hwn a'r hyn sydd yn dilyn—**ac a ddaeth at y bedd.** Ai nid oedd ei ddynesiad at y bedd, tybed, yn un elfen yn ei gynhyrfiad? Yr oedd agosrwydd y bedd, lle yr oedd i gyflawni ei wrhydri mawr, yn sicr o anfon cryndod trwy ei holl natur. Nid myned at y bedd fel edrychydd oedd Efe, ond fel arwr i'r ymrysonfa a Brenhin y Dychryniadau. Gwyddai yn mhellach nad oedd yr ymladdfa hon ond rhagarweiniad i "ymladdfa bryn Golgotha"; ai rhyfedd iddo grynu i waelodion ei fod? **Ac ogof oedd, a maen wedi ei ddodi arni.** Beddau y tlodion oeddynt yn debyg i feddau y wlad hon, tyllau yn y ddaear (Luc xi. 44—"beddau anamlwg a'r dynion a rodiant arnynt heb wybod"). Arwydd ddigamsyniol o sefyllfa gymdeithasol anrhydeddus a chydmarol oludog oedd ogof yn fedd—naill ai ogof naturiol (Gen. xxiii. 9) neu naddedig yn y graig (Es. xxii. 16; Matt. xxviii. 60). Drachefn, yr oedd dau fath o feddau ogofäol. Un math oedd agorfa yn y graig a mynedfa gul i mewn iddi, ar lefel y ddaear y tu allan. Yna yr oedd rhych yn rhedeg gyda gwyneb y graig i dreiglo maen crwn ar hyd-ddi nes cau genau yr ogof, er cadw allan yr anifeiliaid rheibus. Bedd felly oedd bedd Joseph o Arimathea, yn ei ardd ei hun, yn yr hwn y claddwyd yr Iesu, canys gofyn y gwragedd, "Pwy a dreigla ymaith (*roll away*) y maen oddiwrth ddrws y bedd?" Y math arall oedd ogof wedi ei chloddio yn y ddaear, a muriau oddiamgylch yn dal i fynu y nenfwd, cyffelyb i *vaults* y wlad hon. Gogwyddir ni i feddwl mai ogof felly oedd bedd Lazarus,—yn gyntaf, oblegid y dywedir fod y maen wedi ei ddodi "arni;" ac yn ail, oherwydd dywed yr Iesu, nid "treiglwch ymaith y maen," ond "codwch ymaith y maen." Wrth gymeryd yr arddodair a'r parwyddair gyda'u gilydd, nis gellir gochel ein casgliad am natur y bedd. Y mae y bedd a ddangosir gan fynachod Eglwys Groeg fel yr eiddo Lazarus yn cyfateb i'r desgrifiad hwn, ac iddi 26 o risiau yn arwain i'w gwaelod. Ond gan fod y bedd hwn yn y pentref, barna henafieithwyr fod y cyflead yn gamarweiniol, yn gymaint na chaniatâi yr henafiaid i gladdu y tu fewn i bentref neu dref—esiampl dda i'r oes hon.

ADN. 39. **Yr Iesu a ddywedodd, Codwch ymaith y maen.** Diau i'r archiad ddisgyn fel taranfollt ar y gwyddfodolion oll—pa beth oedd Ef yn fwriadu ei wneyd? Er fod y ddwy chwaer wedi derbyn awgrymiadau, eto nid oeddynt wedi sylweddoli ei fwriad yn ei neillduolion; ac y mae ei orchymyn i ymyraeth â'r bedd yn rhoddi *shock* iddynt. **Chwaer yr hwn a fuasai farw, Martha, a ddywedodd wrtho.** Nid, "Martha, chwaer yr hwn a fuasai farw," canys nid oedd anghen ail-ddywedyd pwy oedd Martha; ond "chwaer yr hwn a fuasai farw, Martha"—i

Arglwydd, y mae efe weithian yn drewi: herwydd y mae
*yn farw* er ys pedwar diwrnod. Yr Iesu a ddywedodd 40

---

ddynodi dau beth ; yn gyntaf, mai nid Mair, am yr hon yr ysgrifenwyd ddiweddaf, ond Martha, a wnaeth y sylw ; ac yn ail, fod ei theimladau hi, fel chwaer i'r ymadawedig, yn derbyn dolur, ac felly fod ganddi esgusawd dros ymyryd. Rhyfedd genym na fuasai y Cyf. Diw. wedi dilyn yma drefn y gwreiddiol. **Arglwydd, y mae efe weithian yn drewi ; herwydd y mae yn farw er ys pedwar diwrnod.** Paham y dywedai hyn? (1) Tybia Alford, Stier, Hengstenburg, a Godet yr aroglai y drygsawr o'r tu allan. Yn ein bryd ni y mae y dybiaeth yn annhebygol, yn annaturiol, ac yn ddisail. Ond llawn mor ddisail yw tybiaeth Trench ac eraill fod gallu gwyrthiol yr Arglwydd Iesu wedi hofran o amgylch y corph i atal llygredigaeth i ddechreu ei waith arno, am y rheswm y buasai adgyfodi corph ag oedd eisoes yn llygredig yn "*monstrous.*" Ond pa le y gorwedd y *monstrosity?* Gwneyd y marw yn fyw oedd yr anhawsder, nid gwneyd yr aflan yn bur. (2) Barna Meyer a Westcott, gyda llawer mwy o briodoldeb, mai casgliad naturiol ydyw oddiwrth y ffaith ei fod yn farw er ys pedwar diwrnod, a hyny mewn hinsawdd ag oedd yn prysuro llygredigaeth. Y mae tybiaeth gyfreithlawn Martha wedi tywys amryw esbonwyr o fri i dynu casgliad pellach, sef fod y corph heb ei berarogli ; ac mai hyn o bosibl a gyfrifa am yr "enaint nard gwlyb gwerthfawr" sydd yn meddiant Mair yn y benod nesaf. Y mae yn ddiamheuol sicr nad oedd yr Hebreaid, fel yr Aiphtiaid, yn perarogli *(embalm)* cyrph,—yn cymhwyso atynt ddefnyddiau fferyllawl i gadw y cnawd rhag dadelfenu i'w lwch cynhenid, gan yr ymddengys fod hyny yn groes i'w crefydd (Gen. iii. 19). Ni ddarllenwn ond am un brenhin a beraroglwyd yn ol y dull Aiphtaidd, sef Asa ; "Claddasant ef yn ei feddrod ei hun, a rhoddasant ef i orwedd mewn gwely a lanwasid â pheraroglau o amryw rywogaethau, wedi eu gwneuthur trwy waith apothecari" (2 Chron. xvi. 14). Ffordd yr Iuddewon o berarogli oedd eneinio y corph ag enaint persawrus a'i amgylchynu a *spices*, fel y buasai i'r perarogl ladd drwg-arogl y corph—ni atelid y llygredigaeth ond gwrthweithid y drygsawr (xix. 40). Y casgliad naturiol, gan hyny, yw nad oedd corph Lazarus wedi ei berarogli. Ond paham, gan fod y teulu yn perthyn yn gymdeithasol i'r dosbarth hwnw a arferent berarogli? A ellir gweled yma ffydd y ddwy chwaer, seiliedig ar adn. 4, yn ymbalfalu yn nghyfeiriad yr Adgyfodiad?

Pa beth y gynhyrfodd Martha i wneyd y sylw? (1) Barna Hengstenburg mai dymuno yr ydoedd i osod allan yn glir o flaen meddwl yr Athraw y gorchestwaith oedd o'i flaen, fel pe buasai cyfodi y marw yn mhen pedwar diwrnod yn anhawddach na'i adfywio yn mhen pedair awr. Gwyddom y credai y Groegiaid fod enaid y person ymadawedig yn parhau i hofran o gwmpas ei dabernacl o glai am dridiau, fel pe yn disgwyl gwahoddiad i ddychwelyd i'w hen breswylfod, ond y cymerai ei hedfa y pedwerydd dydd i Hades, ac felly i sefyllfa anadferadwy. Dysga Lightfoot y ffynai cyffelyb gred yn mhlith yr Iuddewon, a bod Martha yn cyfeirio at y syniad yna, fel pe y dywedasai, "Y mae yn awr yn rhy ddiweddar, y mae yn bedwerydd dydd, y mae

wrthi, Oni ddywedais i ti, pes credit, y cait ti weled
41 gogoniant Duw? Yna y codasant y maen lle yr oedd y
marw wedi ei osod. A'r Iesu a gododd *ei* olwg i fynu, ac
a ddywedodd, Y Tad, yr wyf yn dïolch i ti am i ti wrandaw
42 arnaf. Ac myfi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrandaw bob
amser: eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch, y
43 dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i. Ac

---

yr ysbryd wedi ehedeg yn rhy bell." (2) Ond mwy rhesymol yw ymresymiad Luthardt, Trench, a Godet mai methiant sydd yma yn ffydd y chwaer. Yn adn. 26, gwnaeth yr Iesu ddatguddiedigaethau gogoneddus iddi, a gofynodd, "A wyt ti yn credu hyn?" Hithau a atebodd, "Ydwyf, Arglwydd." Ond yn awr pan yn gweled y *process* diffygia ei ffydd. Haws credu mewn gwirioneddau cyffredinol na gwirioneddau neillduol.

**ADN. 40. Oni ddywedais i ti, pes credit, y cait ti weled gogoniant Duw?** Profa y gofyniad hwn mai gwendid ffydd oedd wrth wraidd eu hymyriad. Pa bryd y dywedodd yr Iesu wrthi? Trwy enau y genhad yn adn. 4. Ofnai ei hanghrediniaeth weled llygredigaeth; ond os credai, cai weled, nid llygredigaeth ei brawd, ond gogoniant ei Duw.

**ADN. 41. Yna y codasant y maen.** Nid yw gweddill y frawddeg yn y Cyfieithiad Cymraeg yn y llawysgrifau hynaf, ac o ganlyniad gadewir hi allan yn y Cyf. Diw. Nid treiglo ond codi y maen—y maen *ar* y fynedfa ac nid yn *erbyn* y fynedfa. **A'r Iesu a gododd ei olwg i fyny.** Yr un gair (*airein*) ag am godi'r maen. Cododd y bobl y maen, a chododd yr Iesu ei lygaid—eu dyrchu tua'r nefoedd. Dyna y dull arferol gynt o weddio, nid cau llygaid a gostwng pen fel yn ein gwlad ni, ond agor llygaid a'u dyrchu tua'r nef. **Ac a ddywedodd, Y Tad.** Nid Ein Tad, ond Y Tad. **Yr wyf yn diolch i ti am i ti wrandaw arnaf.** Gweddi o ddiolchgarwch, nid o erfyniad; ac eto cyfeirir ynddi at weddi o erfyniad ag yr oedd y Tad wedi ei hateb yn ymwybyddiaeth y Mab. Pa weddi oedd hono? Nid yw ar gadw. Pa bryd yr offrymwyd hi? (1) Etyb rhai, megis Bengel, Alford, Westcott, mai yn ganlynol i glywed y newydd am farwolaeth Lazarus, yn ystod y ddau ddiwrnod oediad yn Perea. Erfyniodd ar ei Dad am adferiad bywyd i'w gyfaill, a chafodd sicrwydd yn ei brofiad fod ei weddi yn gymeradwy. (2) Crêd Calfin ac eraill mai gweddio yr oedd yn y cynhwrf ysbryd yn adn. 33 a 38—atolygu ar Dduw am nerth i gonewerio angeu a'r bedd. (3) Ond tra nad ydym yn gwadu gweddi ffurfiol o du yr Iesu ar ran Lazarus, eto yr oedd hanfod ei weddi yn y cymundeb didòr oedd rhwng y Mab ymgnawdoledig yn ei swydd Gyfryngol â'r Tad, yn ol v. 19, 20. Dyna yw hanfod gweddi,—hydreiddiad yr ewyllys ddynol gan yr ewyllys ddwyfol (1 Ioan iii. 22).

**ADN. 42. Ac mi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrandaw bob amser.** Y "myfi" yn bwysleisiol. Yr oedd yr Iesu yn byw uwchlaw amheuaeth, meddai hyder digryn yn mharodrwydd Duw i ateb gweddi, ac yr oedd hyder digryn yn cyfranu sefydlogrwydd disigl i'w gymeriad. **Eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch y dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i.** Tybia rhai iddo ostwng ei lais yma fel na

wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd â llef uchel, Lazarus,

---

chlywid Ef ond gan y dysgyblion. Y mae hyny yn bosibl, eithr nid oes genym fodd i benderfynu. Ond pa fodd yr oedd y weddi yn foddion i ddwyn y dyrfa i gredu? Onid y wyrth a ganlynai oedd y moddion addasaf i effeithio eu hargyhoeddiad? Nage, ar ei phen ei hun. Yr oedd yr Iesu wedi cyflawni gwyrthiau lawer o'r blaen, ond ni chynyrchwyd ffydd yn y genedl—esbonient hwy trwy haeru mai trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid, y cyflawnai hwynt, troent hyd yn nod y gwyrthiau yn brofion o ddiefligrwydd ei gymeriad. Ond yn awr apelia yr Iesu at y Tad yn eu clywedigaeth: os adgyfodir Lazarus, rhaid mai o Dduw y derbyn ei gommissiwn, ac nid o ddiafol. Rhyfedd ei ymdrech i ddwyn y genedl i gredu ynddo fel y Messiah, anfonedig Duw!

**ADN. 43. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd a llef uchel, Lazarus, tyred allan.** Barna Origen, a dilynir ef gan eraill, fod Lazarus wedi ei fywiocau eisoes, fod ei fywhad yn gydamserol a'r weddi erfyniol y cyfeirir ati yn adn. 41, ac nad oedd ond disgwyl y wŷs i ddyfod allan. Ond ni welwn ni ddim yn y cyd-destyn i gyfiawnhau y golygiad—yn awr, yn yr adnod hon, y cymer y bywhâd le. "Efe a lefodd a llef uchel"—rhoddodd floedd fawr adseiniol. Yn vii. 37 y gair am lefain yw *cragein*—dyrchu ei lais yn gryf, llefaru yn hyglyw mewn cyweirnod uchel. Yma y gair yw *kraugagein*, gair cryfach, ac yn golygu bloeddio. Defnyddir ef am swn torf yn xii. 13; xviii. 40; xix. 6, 12, 15; ond yma yn unig y cymhwysir ef at yr Arglwydd Iesu. Ond paham y bloeddiodd yr Iesu yn awr? (1) Barna rhai mai er mwyn i'r holl dyrfa glywed. Ond oni chlywent y weddi heb yr uchelfloedd? (2) Eraill a gredant mai er mwyn gweyd yn eglur y gwahaniaeth rhyngddo ei hun a'r swyngyfareddwyr, y rhai a fymient eu swynion mewn silliau aneglur. (3) Eraill mai er mwyn i'r llais dreiddio i dragwyddoldeb i gael gafael yn ysbryd ymadawedig Lazarus. Ond nid nerth llais, eithr grym ewyllys, a ffeindiodd hwnw yn y byd anweledig ac a'i harweiniodd yn ol i'r byd hwn. (4) Nid ychwaith er mwyn cario allan y gyffelybiaeth o hun. "Y mae Lazarus yn huno, ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef." Yn awr, gan hyny, rhydd floedd i'w ddihuno, fel gwr yn deffro ei gyfaill. Ond annaturiol tybied fod yr Iesu yn awr yn gorphen cydmariaeth a lefarodd bedwar diwrnod yn ol—y mae yr eglurhad yn rhy *theatrical*. (4) Rhaid, o ganlyniad, fod y rheswm am yr uchelfloedd yn y cyfuniad o deimlad angherddol ar un llaw, a dwyfol awdurdod ar y llaw arall. Rhaid i deimlad cryf gael mynegiad cyfatebol; yn ysbrydol yn gystal ag yn anianyddol y mae egnion wedi eu crôni yn rhwym o dywys i *explosion*. Heblaw hynyna, llefara fel un ag awdurdod ganddo, nid yn unig ar y byw, ond ar y meirw hefyd. Bloedd oedd hon a drafaeliodd trwy ddeufyd. Dyma allu, dyma angherdd, dyma urddas! **Lazarus, tyred allan.** Da iddo ei enwi, meddai Awstin yn darawiadol ddigon, onite codasai yr holl feirw. "Tyred allan." Ond yn y gwreiddiol nid oes yr un ferf. "Yma, allan!" "*Here, out!*" Cydmarer yr hanes yma a 1 Thes. iv. 16: "oblegid yr Arglwydd ei hun," sef yr Arglwydd Iesu, "a ddisgyn o'r nef gyda bloedd," &c.—*with a shout*. Ac nid rhyw floedd, ond cad-floedd, bloedd cadfridog yn galw ei fyddin i'r frwydr. Y mae adgyfodiad Lazarus yn *rehearsal* o'r Adgyfodiad Cyffredinol.

44 tyred allan. A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan, yn
rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo: a'i wyneb oedd
wedi ei rwymo â napcyn. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt,
Gollyngwch ef yn rhydd, a gadêwch iddo fyned *ymaith*.

---

ADN. 44. **Allan y daeth yr un a fuasai farw.** Mor fywiog yw y desgrifiad. "Lazarus, yma, allan. Allan y daeth y dyn marw." Ond nid yw yr efengylwr yn treio darlunio syndod a dychryn y dorf. Diau y buasai awdwyr nofelaidd yn ymhelaethu ar yr olygfa ryfedd. **Yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo.** Golyga y gair gwreiddiol *(keiriais)* y *bands* a rwymid am y llieiniau a orchuddient y marw. **A'i wyneb wedi ei rwymo a napcyn** (xx. 7; Luc xix. 20; Act. xix. 12). Ffordd arferol yr Aiphtiaid, fel y profa y *mummies*, oedd amgylchu y talcen a'r ên a napcyn, gan adael y llygaid a'r genau yn ddiorchudd, a dilys mai dyna hefyd y dull Iuddewig. Yma cyfyd gofyniad, Os oedd ef yn rhwym ei draed a'i ddwylaw, pa fodd y gallodd ddyfod allan? (1) Mŷn Awstin, Lightfoot, a Stier fod yma wyrth newydd, gwyrth o fewn gwyrth. Ond y mae yn groes i'r arfer ddwyfol o weithio i luosogi gwyrthiau yn ddiangenrhaid—dengys y goruwchnaturiol ei hun yn unig lle y mae y naturiol yn methu. (2) Felly y mae tebygolrwydd yn nyfaliad Olshausen fod yr aelodau wedi eu hamwisgo ar wahân yn ol arfer yr Aiphtiaid, ac yn nyfaliad Tholuck, Meyer, ac eraill fod yr amdo wedi ei rwymo yn llac am dano, gan mai amcan y rhwymo oedd cadw y *spices* i mewn, os defnyddid *spices* o gwbl, yr hyn yn yr amgylchiad presenol sydd yn dra amheus. **Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd.** Yr oedd Efe wedi gwneuthur ei ran, gallent hwy ddatod y rhwymau. **A gadewch iddo fyned ymaith,**—fyned adref. Nid doeth oedd iddo aros yn y dorf yn hir yn wrthrych cywreinrwydd. Mor swta y derfydd yr hanes. Dim gair o brofiad Lazarus yn yr angeu a'r arall fyd. Pedwar diwrnod yn nhragwyddoldeb, a dim sill am a welodd, a glywodd, ac a deimlodd! Nodweddir yr hanes gan ddwyfol dawedogrwydd; ac eto y fath gyfle i Gnostic o'r ail ganrif i gyhwfanu ei ddamcaniaethau. Beth ddaeth o Lazarus ar ol hyn? Marw drachefn, marw ddwywaith yn lle marw unwaith. Nid rhyfedd fod rhai esbonwyr yn olrhain terfysg meddyliol yr Arglwydd Iesu i'r angharedigrwydd a wneid â Lazarus wrth ei alw yn ol o'r fuchedd dragwyddol i'r byd drwg presenol. Ond pa fodd y gellir profi iddo farw drachefn? Oblegid y dysg'r ni yn bendant mai yr Iesu yw y "cyntafanedig oddiwrth y meirw," a "blaenffrwyth y rhai a hunasant" (Col. i. 18; 1 Cor. xv. 20). Adgyfodwyd Lazarus ac eraill o'r bedd o'i flaen Ef; ond daethant hwy allan yr un ochr ag yr aethant i mewn. Yr Arglwydd Iesu oedd y cyntaf i fyned i mewn yr ochr hyn ac i gyfodi yr ochr arall, i fyned i mewn yr ochr nesaf i amser ac i gyfodi yr ochr nesaf i dragwyddoldeb,—y cyntaf yn hanes y byd i adgyfodi i beidio marw mwy. Rhaid oedd i Lazarus farw ddwywaith, myned trwy y porth cyfyng ddwywaith! Nid rhyfedd y dywed traddodiad, ar ol iddo ofyn i'r Iesu a fuasai yn rhaid iddo farw drachefn a chael ateb cadarnhaol, na wênodd byth wedi'n. Dyn difrifol, wedi treulio pedwar diwrnod yn nhragwyddoldeb, wedi bod trwy borth angeu ac yn ol, ac i fyned trwyddo drachefn! Oh, y fath brofiad, ac eto dwyfol dawedogrwydd yn nodweddu y cyfan!

Yna llawer o'r Iuddewon, y rhai a ddaethent at Mair, ac 45
a welsent y pethau a wnaethai yr Iesu, a gredasant ynddo
ef. Eithr rhai o honynt a aethant ymaith at y Phariseaid, 46
ac a ddywedasant iddynt y pethau a wnaethai yr Iesu.
Yna yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid a gasglasant 47

---

EFFEITHIAU Y WYRTH. ADN. 45—57.

**ADN. 45. Llawer gan hyny o'r Iuddewon, sef y rhai a ddaethant at Mair . . . . a gredasant ynddo Ef.** Gan mai â "llawer," ac nid â'r Iuddewon, y cytuna rhangymeriad y ferf "dyfod," gorfodir ni i fabwysiadu y darlleniad hwn. Yn ol hyn credodd yr holl Iuddewon a welsant y wyrth, parwyd argyhoeddiad yn eu meddyliau oll. Ond beth oedd natur eu ffydd? A wywodd hi cyn y Croeshoeliad? A adfywiodd hi ar ol y Pentecost? Nid oes ateb; ond gwyddom mai siomedig y try allan bob amser ffydd sydd a'i sail mewn gwyrth, ac nid mewn daioni (ii. 23—25).

**ADN. 46. Eithr rhai o honynt a aethant at y Phariseaid, &c.** Rhai o bwy? (1) Etyb Plummer mai rhai o'r Iuddewon nad oeddynt yn bresenol i weled y wyrth, ond a glywsant am dani, yn gymaint a bod yr oll oedd yn bresenol wedi credu. (2) Mŷn Stier, Godet, a Westcott mai rhai o Iuddewon y pentref, ag oedd wedi dilyn yr orymdaith at y bedd ac yn sefyll y tu allan i'r cylch teuluaidd, ond a welsant y wyrth. Ond paham y rhai hyny yn fwy na'r lleill? Os oedd y wyrth yn ddigon i argyhoeddi Iuddewon Jerusalem y rhai a ddaethant at Mair, paham nad argyhoeddodd Iuddewon Bethania, gan eu bod hwythau hefyd yn llygaid-dystion o honi? (3) O ganlyniad, gorfodir ni i fabwysiadu esboniad Origen, Meyer, ac eraill mai rhai o'r "llawer" a gredasant yn yr adnod flaenorol a ddynodir yma. Ond beth oedd eu rheswm dros fyned i adrodd yr hanes wrth y Phariseaid? (1) Barna Meyer mai amcan daionus oedd ganddynt, sef darbwyllo y Phariseaid i gredu hefyd. (2) Maentumia Luthardt mai pobl mewn cyfyngder meddyliol oeddynt, heb arfer barnu drostynt eu hunain, ac yn ofni y canlyniadau; ac felly iddynt fyned at y Phariseaid, cynrychiolwyr uniongrededd, am gyfarwyddyd yn mhyngciau eu ffydd. (3) Ond tueddwn ni i gredu gyda Godet a Lange mai amcan maleisus a'u cymhellodd. Yr oedd yr argraph gyntaf a gynyrchodd y wyrth arnynt yn ffafriol; ond wedi cael amser i ystyried dychrynasant rhag y canlyniadau, ac aethant a dywedasant wrth y Phariseaid. Pe amcan clodwiw oedd ganddynt, y cysylltair "ac" a ddefnyddiai Ioan yn nechreu yr adnod; ond gan mai y dadgysylltair "eithr" a ddefnyddir, awgryma yn glir mai amcanion gwrthwynebol i ffydd oedd ganddynt mewn golwg. Gwelasant y wyrth, ac aethant ymaith i glecian! Anmhosibl difrifoli rhai pobl; methodd gwyrth yr Adgyfodiad yn Bethania a chynyrchu sobrwydd meddyliol yn y bobl hyn. Oh ddyfnder pechod! Oh olud gras!

**ADN. 47. Yna yr Archoffeiriaid a'r Phariseaid.** Am y ddwy sect, y Sadduceaid a'r Phariseaid, gwel ar i. 19. Deddf Moses oedd i'r archoffeiriad aros yn ei swydd trwy gydol ei oes, os cadwai ei gymeriad yn ddifrycheulyd; ac felly un archoffeiriad a allasai fod a rhaid oedd i

gynghor, ac a ddywedasant, Pa beth yr ydym ni yn ei
wneuthur? canys y mae y dyn yma yn gwneuthur llawer
48 o arwyddion. Os gadawn ni ef fel hyn, pawb a gredant
ynddo; ac fe a ddaw y Rhufeiniaid, ac a ddifethant ein lle

---

hwnw fod o deulu Aaron. Ond torodd y Groegiaid yn nghyntaf, a'r Rhufeiniaid ar eu hol, ar y drefn osodedig; meddai y rhaglawiaid tramor awdurdod i benodi y sawl a fynent i'r swyddi uchaf, ac i'w diswyddogi pryd y mynent. Hysbysir ni gan Josephus i tua 28 o bobl lanw y swydd offeiriadol mewn 107 o flynyddoedd; a chrybwylla i Valerius Gratus, rhagflaenor Pontius Pilat yn y rhaglawiaeth, ddiswyddo Annas (yr un enw ag Ananias), gan osod yn olynwyr iddo Ismael, Eleazar (mab Annas), Simon, a Chaiaphas (mab-yn-nghyfraith Annas). Gan hyny, dyma bump o archoffeiriaid yn cydoesi, yn perthyn i sect y Sadduceaid, ac wrth bob tebyg yn aelodau o'r Sanhedrin. O'r adeg hon yn mlaen yr archoffeiriaid Sadduceaidd, fel y swyddogion cyfrifol i'r llywodraeth Rufeinig am iawn ymddygiad y genedl Iuddewig, sydd yn cymeryd y blaen yn yr erledigaeth ar yr Arglwydd Iesu, ac ar yr Eglwys Gristionogol yn llyfr yr Actau. **A gasglasant gynghor.** Cynghor heb y fanod. Gyda y fanod dynoda y Sanhedrin; heb y fanod dynoda o bosibl eisteddiad anffurfiol *(sessions)* o'r Cynghor. **Ac a ddywedasant, Pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur?** Nid, Pa beth a wnawn ni *(ti poiēsomai)*, fel yn Act. iv. 16,—golygai hyn fod ganddynt amser i ystyried y mater yn hamddenol; ond pa beth yr ydym ni yn ei wneuthur? Golygir y rhaid gwneuthur rhywbeth yn ddioed. Diau fod "*urgent*" ar y cylchlythyr a alwai yr aelodau yn nghyd. **Canys y mae y dyn yma yn gwneuthur llawer o arwyddion.** Nid ydym *ni* yn gwneuthur dim, ond y mae y dyn hwn—"y dyn hwn" mewn dirmyg—yn llawn gweithgarwch, cyflawna lawer o arwyddion. Nid ydynt mwyach yn gwadu y **gwyrthiau nac yn eu hesbonio ymaith.**

**ADN. 48. Os gadawn ni ef fel hyn pawb a gredant ynddo.** Prawf fod y wyrth olaf hon wedi gwneyd argraph ddofn ar bob dosbarth o'r boblogaeth. Yr oedd y wlad mewn ystad o *ferment*. **Ac fe a ddaw y Rhufeiniaid, ac a ddifethant ein lle a'n cenedl hefyd.** Hyd yn hyn seilient eu cyhuddiadau yn erbyn yr Iesu ar grefydd—cyhuddiadau crefyddol oeddynt, ac nid oeddynt wedi tycio; yn awr cyfnewidiant eu safle, ar ol cyd-ymgynghoriad yn ddiau rhwng blaenoriaid y ddwy sect,—sylfaenant eu cyhuddiadau ar wleidyddiaeth. "Pawb a gredant ynddo" fel y Messiah, a chyfodant mewn gwrthryfel yn erbyn llywodraeth Rhufain, am y mynant ei goroni yn frenhin; yna daw lluoedd y Rhufeiniaid i ddarostwng y terfysg, ac a "ddifethant ein lle a'n cenedl hefyd." Beth a feddylir wrth "ein lle"? Etyb rhai mai y deml, eraill mai Jerusalem, ac eraill mai y wlad. Ond ymddengys i ni fod y tri hyn mor gymhlethedig â'u gilydd fel y buasai dinystrio y naill yn difetha y llall hefyd. Canlyniadau gwleidyddol ymosodiad newydd arnynt gan luoedd Rhufain sydd yn eu meddwl. Ond y mae lle arbenig y rhagenw "ein," a'i fynychiad o flaen "lle" a "chenedl," yn dangos mai eu lles a'u buddiannau eu hunain oedd benaf yn eu meddwl. Yn lle chwilio yn onest i hawliau yr Iesu fel y Messiah, eu sefyllfa gysurus eu hunain a

ni a'n cenedl hefyd. A *rhyw* un o honynt, Caiaphas, yr 49
hwn oedd arch-offeiriad y flwyddyn honno, a ddywedodd
wrthynt, Nid ydych chwi yn gwybod dim oll, Nac yn 50

---

gaffai y lle uwchaf yn eu bryd. Dan gochl lles y cyhoedd llechai eu hunan-les. Yn enw gwladgarwch penderfynasant ladd yr Etifedd. "Oh Ryddid, Ryddid," gwaeddai Madam Roland pan yn gosod ei phen dan gyllell y dienyddwyr yn y Chwildroad Ffrengig, "faint o ysgelerderau *(crimes)* a gyflawnir yn dy enw!" Lladdodd y Sadduceaid a'r Pharisead y Dwyfol Fab yn enw gwladgarwch! Oh ragrithwyr, plant y fall!

**ADN. 49. A rhyw un o honynt, Caiaphas.** Gan yr archoffeiriad oedd yr hawl i eistedd yn nghadair lywyddol y Sanhedrin; ond awgryma y frawddeg, "rhyw un o honynt," nad efe oedd yn llywyddu yn yr eisteddiad hwn. Gan fod Annas yn fyw ac yn dad-yn-nghyfraith iddo, ac o ddylanwad mawr yn y genedl, tybiwn fod y llywyddiaeth yn ei ddwylaw ef,—cadarnheir hyn gan y lle amlwg a gaiff yn hanes treial olaf yr Arglwydd Iesu. Naturiol oedd i'w feibion a'i fab-yn-nghyfraith, y rhai a'i dilynasant yn y swydd archoffeiriadol, ddymuno talu pob parch iddo (xviii. 13; Luc iii. 2; Act. iv. 6; Act. v. 21, 27; vii. 1; ix. 1, 2; xxii. 5; xxiii. 2, 4; xxiv. 1). Enw cyntaf Caiaphas oedd Joseph; ond ymddengys iddo fabwysiadau yr enw Caiaphas ar ei dderchafiad i'r archoffeiriadaeth yn A.D. 25, yr hon swydd a lanwodd hyd A.D. 36—un mlynedd ar ddeg, pryd y diswyddwyd yntau. Gwelwn felly mai efe oedd yr archoffeiriad yn ystod rhaglawiaeth Pilat a gweinidogaeth yr Iesu. *Ex-officios* oedd Annas a'i feibion, ond fel *ex-officios* yn gyffredin derbynient lawer o barch a mwynhaent lawer o ragorfreintiau. Ffurf Syriaeg yw Caiaphas ar yr Aramaeg Cephas, a'r ddau yn golygu Craig, a gogwyddwn i'r farn yn yr achos hwn fel yn achos Petr ei fod yn arwyddocaol o'i gymeriad.

**Yr hwn oedd archoffeiriad y flwyddyn hono.** Mýn Strauss a'r esbonwyr anghrediniol y profa yr adnod hon fod yr awdwr yn tybied mai swydd flynyddol oedd yr archoffeiriadaeth, ac o ganlyniad mai Groegwr o genedl ydoedd. Ond yr oedd gan Ioan ddau reswm dros ychwanegu y flwyddyn hono megis ag y gwna dair gwaith. Y cyntaf oedd fod cyfnewidiadau aml yn cymeryd lle yn yr archoffeiriadaeth, fel y gwelsom eisioes, a'i bod o bwys i'r darllenwyr wybod pwy a lanwai y swydd amser y Croeshoeliad. Yn ail, yr oedd arbenigrwydd, yn ei feddwl ef, yn hanes y byd, yn y "flwyddyn hono," y flwyddyn y lladdwyd y Messiah ac y dygwyd cyfiawnder tragwyddol i mewn. Syrth y pwyslais, gan hyny, nid ar "flwyddyn" ond ar "hono"—y flwyddyn *hono*, blwyddyn fyth-gofiadwy yn hanes amser a thragwyddoldeb. Y mae y ffaith mai Caiaphas oedd yr archoffeiriad y flwyddyn y gwnaeth yr Archoffeiriad mwy a rhagorach Iawn dros bechodau y byd yn meddu dyddordeb dwfn—y mae yr archoffeiriad cysgodol wedi ei gylymu yn anwahanol â'r archoffeiriad sylweddol. **A dywedodd wrthynt, Nid ydych chwi yn gwybod dim oll.** Y mae yn amlwg fod amryw areithiau dadleugar wedi eu traddodi eisoes; a ddarfu i Nicodemus a Joseph a Gamaliel alw am bwyll ac arafwch? Ond y mae Caiaphas wedi dihysbyddu ei amynedd; edrych ef ar y mater o

ystyried, mai buddiol yw i ni, farw o un dyn dros y bobl,
51 ac na ddifether yr holl genedl. Hyn ni ddywedodd efe o

---

safle *state-policy,* nid oddiar safle cyfiawnder cymdeithasol. "Nid ydych chwi yn gwybod dim oll." Ffordd arw sarhaus o ddechreu araeth mewn senedd ar achos pwysig. Ymddengys fel pe buasai balchder ei swydd wedi ychwanegu at drahausder cynhenid ei natur. Y mae y portread o hono yma yn hollol gydweddol a desgrifiad Josephus (*Jewish Wars,* ii. 8, 14) o'r Sadduceaid yn gyffredinol—dynion anfoesgar, yn cyfarch eu gilydd ac eraill gyda gerwindeb afreidiol. "Nid ydych chwi yn gwybod dim oll"—y "chwi" yn bwysleisiol ac yn cyfeirio at y Phariseaid, dynion mileinig ond yn fwy moesgar eu geiriau a'u hymarweddiad. Gwawdia Caiaphas eu pryder a'u gochelgarwch. Gwyddai efe a phawb eraill mai eu hamcan oedd symud yr Iesu o'r ffordd. Ond pa fodd? Y gair yn eu calonau oedd "lladd," ond nid yw eto wedi dyfod yn air ar eu tafodau. Gwawdia hwy am eu llwfrdra a'u rhagrith, yn ceisio gwisgo llofruddiaeth yn lifre crefydd. **Nac yn ystyried.** H.y. nid ydych wedi ymresymu y pwngc allan i'w ganlyniadau priodol; yr ydych chwi yn cydymgynghori a chynllwyn: paham na ddilynwch chwi eich rhesymeg i'w ganlyniadau? paham na ddywedwch chwi y gair "lladd" yn groew? **Mai buddiol i chwi farw o un dros y bobl** (*laos*), **ac na ddifether yr holl genedl** (*ethnos*). Nid buddiol i ni, ond buddiol i chwi, yn ol y llawysgrifau goreu; gwahaniaetha ei hun oddiwrthynt hwy fel un uwchraddol iddynt. "Buddiol" yw ei arwyddair, nid cyfiawn; *expedient,* nid *right.* Dyna mewn gwirionedd oedd egwyddor lywodraethol ei sect,—nid beth oedd iawn, ond beth oedd broffidiol; a dyna y rheswm paham y cydymffurfient hwy a phob llywodraeth a ddigwyddai fod yn uchaf ar y pryd; a'u cydymffurfiad parod ag ewyllys Rhufain sydd yn cyfrif am eu derchafiad hwythau i'r swyddau mwyaf enillfawr. Pa beth arall a ddisgwylid oddiwrth sect sylfaenedig ar egwyddorion haner anffyddol? Unwaith y gwedir ysbryd, adgyfodiad, a byd arall (Act. xxiii. 8), gwedir hefyd nefoedd ac uffern, gwobr a chosb. Gan hyny, os ffiloreg yw athrawiaeth gwobr a chosb, y buddiol, nid yr iawn, a ddylasai fod yn egwyddor bywyd, ie, y buddiol yw yr iawn. Cyffelyb ydyw yn nghyfundrefnau athronyddol yr oes hon,—lle y gwedir yr ysbrydol, y buddiol (*utilitarianism*) yw gallu llywodraethol bywyd. Yn mha beth yr oedd y buddioldeb yn dyfod i'r golwg? **Farw o un dros y bobl, ac na ddifether yr holl genedl,**—marwolaeth un yn lles lluaweroedd. Dyma ddwy gaingc yr ymresymiad: wrth i ni arbed un fe ladd Rhufain lawer; wrth i ni ladd un fe arbed Rhufain lawer. Pa un a ddewiswch,—lladd un genym ni neu ladd llawer gan Rufain? Araeth greulon, galed, resymegol, yn anwybyddu iawnder, ac yn sathru hawliau cydwybod dan draed,—ffrwyth pwdr pob cyfundrefn sydd yn gwadu elfen ysbrydol mewn dyn a sefyllfa ddyfodol mewn byd arall. Dyna athroniaeth anffyddol y genedl ar ben ei phinacl, ac nid rhyfedd yr arswydwn yn yr olwg arni.

**ADN. 51. Hyn ni ddywedodd efe o hono ei hun.** Yn yr adnod hon cawn eglurhâd Ioan ar araeth amwys yr archoffeiriad, fel canlyniad adfyfyriad maith arnynt. Tarawodd yr araeth Ioan, megis y mae wedi taraw llawer ar ei ol, fel yn cynwys dwy haen o feddwl, drwg a da,

hono ei hun: eithr, *ac* efe yn arch-offeiriad y flwyddyn honno, efe a brophwydodd y byddai yr Iesu farw dros y

---

deiflig a dwyfol. "Buddiol yw i chwi farw o un dyn dros y bobl ac na ddifether yr holl genedl," meddai Caiaphas, gan roddi datganiad yn y geiriau i syniad gwleidyddol. Ond wrth fyfyrio ar yr ymadrodd canfyddodd Ioan ynddo gyfaddasder i osod allan wirionedd mawr yr Efengyl,—marwolaeth yr Arglwydd Iesu yn aberth digonol dros bechod y byd. Nis gellir cael geiriau cymhwysach i osod allan gymeriad iawnol angeu y Groes. Pa fodd y daeth gelyn haner anffyddol i roddi mynegiad i wirionedd sylfaenol Iuddewiaeth a Christionogaeth? "Hyn ni lefarodd o hono ei hun," yw ateb Ioan, fel ffrwyth ei fyfyrdod ei hun. Gwêl Ioan, yn ei ddull cyfriniol, y Gallu sydd yn goruwchlywodraethu geiriau yn gystal a gweithredoedd dynion, yn dylanwadu ar ei feddwl mewn ffordd nas gwyddai efe. **Eithr, ac efe yn arch-offeiriad y flwyddyn hono, a brophwydodd.** Ystyr amlaf y gair "prophwydo" yn y Beibl yw dwyn i amlygrwydd egwyddorion moesol y llywodraeth ddwyfol, gan eu cymhwyso at fuchedd personau ac at hanes cenhedloedd. Ond y mae ail ystyr i'r gair, sef rhagfynegu y dyfodol. Yma cyferfydd y ddau ystyr: rhagfynegir marwolaeth yr Iesu a dygir i amlygrwydd yr egwyddor foesol ag sydd yn cyfrif am ac yn rhoddi ystyr i'r farwolaeth hono. Ond pa fodd y mae cyfrif fod dyn annuwiol fel Caiaphas dan ddylanwad ysbrydoliaeth? Pa fodd yr edrych yr Efengylwr ar y ddawn brophwydol yn yr archoffeiriad hwn? (1) Cred Godet fod Ioan yn cysylltu y ddawn brophwydol ynddo a'i swydd, a seilia ei gred ar y berthynas rhwng y rhan-gymeriad *ōn* a'r *aorist tense* yn y ferf am brophwydo. Nid yw efe yn treio penderfynu a oedd yna gysylltiad gwirioneddol rhwng y ddawn a'r swydd, ynte ofergoeledd Iuddewig ydoedd; ond maentumia fod Ioan yma yn cymeryd y cysylltiad yn ganiataol. Ni raid ychwanegu fod yr eglurhad hwn yn gymeradwy iawn gan esbonwyr Pabaidd a Sacramentaraidd, y rhai a gysylltant ddoniau a grasusau ysbrydol â swydd, ac nid â chymeriad y swyddog sydd yn ei llanw. (2) Ond maentumia Dr. John Lightfoot, a dilynir ef gan fwyafrif yr esbonwyr Protestanaidd, fod Ioan yn cysylltu y ddawn brophwydol a ddisgynodd a'r Caiaphas, nid â'i swydd offeiriadol, ond â'r "flwyddyn hono." "Y mae y pwyslais," meddai, "a'r prif reswm yn y *flwyddyn hono*. Dyna flwyddyn tywalltiad Ysbryd prophwydoliaeth a datguddiad, y tu hwnt i ddim a welodd y byd hyd yn hyn nac a wêl eto. Ac oni allasai rhai dyferynau o'r tywalltiad mawr hwn ddisgyn ar ddyn annuwiol, megis ag y syrthia briwsion oddiar fwrdd y plant i'r ci odditano, fel y dygid tystiolaeth i waith mawr yr iachawdwriaeth, a hyny o enau prif elyn yr Iachawdwr." (3) Ond ar ol ystyriaeth bwyllog nis gallwn ddileu yr argraph fod y naill a'r llall o honynt yn unochrog, ac yn darnio drychfeddwl Ioan. Tybiwn ni fod Ioan yn cyfuno y drychfeddwl o swydd a'r drychfeddwl o amser. Yn yr archoffeiriadaeth cyrhaeddai crefydd Israel ei phwynt uchaf, y hi oedd y gysegredicaf o holl swyddau yr H. D. I'r archoffeiriad trwy yr Urim a'r Thummim y datguddiai Duw ei feddwl ar byngciau dyrys gwladlywiaeth, y rhai ni allasai rheswm dynol eu dadrys i foddlonrwydd (Ex. xxviii. 30; Lef. xxvii. 21; Num. xxvii. 21; 1 Sam. xxx. 7). Yr

52 genedl; Ac nid dros y genedl yn unig, eithr fel y casglai
efe ynghyd yn un blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid.

---

oedd y ganghen hon wedi syrthio i esgeulusdod, ond perthynai yn wreiddiol i'r archoffeiriadaeth; ac a ydyw yn anghredadwy fod Duw yn parchu yr ordinhadau a sefydlodd ei hunan pan y mae yr oruchwyliaeth i'r hon y perthynent ar roddi i fynu yr ysbryd? Dyn annuwiol oedd Caiaphas mewn swydd gysegredig. Yn gyffredin darostyngai y dyn y swydd i'w amcanion hunanol ei hun; ond am unwaith y "flwyddyn hono"—y flwyddyn yr oedd Duw yn ymyryd mor arbenigol yn hanes y byd—darostyngodd y swydd y dyn i'w hamcanion aruchel hi; defnyddiwyd ef i lefaru gwirionedd y tu hwnt i'w ddeall personol, ond nid y tu allan i gylch ei swydd. Ni allodd yr offeiriadaeth erioed o'r blaen lawn ddehongl ei hystyr ei hun; gwnaeth hyny yn awr am y tro cyntaf yn ngoleuni dwyfol ysbrydoliaeth. Fel yr alarch hi ganodd yn hyfrytach wrth farw nag wrth fyw, ond fel yr alarch hefyd heb werthfawrogi y miwsig yn ei chân ei hun. Priodol oedd i archoffeiriad olaf yr H. D. *introducio* yr "Archoffeiriad mawr ar dŷ Dduw," a bod yn foddion yn llaw Rhagluniaeth i gynorthwyo yn offrymiad yr un aberth ag oedd i "ddibenu camwedd, i selio pechodau, i wneuthur cymod dros anwiredd, ac i ddwyn i mewn gyfiawnder tragwyddol" (Dan. ix. 24). Oni wyddom fod Duw ar adegau neillduol yn bendithio gweinidogaeth dynion annuwiol i iachawdwriaeth eu gwrandawyr ac i adeiladaeth y saint, nid am eu bod yn annuwiol, ond er eu bod yn annuwiol, ac am eu bod yn bregethwyr? Nid y swydd heb y "flwyddyn hono," ac nid y "flwyddyn hono" heb y swydd: y ddwy gyda'u gilydd sydd yn cyfrif am y brophwydoliaeth. "Mantais wladyddol," meddai Bengel, "oedd yn meddwl Caiaphas; ond ysbryd prophwydoliaeth a'i llywodraetha yn y fath fodd ag i beri iddo ddefnyddio geiriau ag a osodant allan fantais ysbrydol. Caiaphas a Philat a gondemniasant yr Iesu; eto gwnaeth pob un o honynt ddwyn tystiolaeth wahanol i'w feddwl ei hun: Caiaphas yma ynghylch swydd offeiriadol Crist; Pilat yn y deitl uwchben y Groes ynghylch ei swydd frenhinol." **Y byddai i'r Iesu farw dros y genedl.** Nid yn ei lle *(anti)* ond drosti *(huper)*—er ei mantais ac o'i phlaid; er hyny ar ei hewyllys hi y dibyna ei mwynhâd o'r fantais.

**ADN. 52. Ac nid dros y genedl yn unig, eithr fel y casglai efe ynghyd i un holl blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid.** (Gwel ar x. 16). Yn y dechreu yr oedd dynoliaeth yn un; daeth pechod i mewn, torodd i fynu yr unoliaeth, a gwasgarwyd y teulu dynol yn fân finteioedd aneirif; ond y mae Cristionogaeth yn allu newydd yn y byd, ac ni orphwys nes cael holl blant Duw yn un eto. Ond beth a feddyliai Ioan wrth holl blant Duw? Pa beth sydd yn eu cyfansoddi yn blant? (1) Hengstenberg a Westcott—y ddau esboniwr mwyaf uniongred—a ddaliant fod pawb dynion yn blant yn rhinwedd eu perthynas wreiddiol a Duw, h.y., yn blant Duw wrth natur. Diau fod tadoliaeth wan o du Duw, a maboliaeth gyfatebol wan o du dyn, yn rhinwedd ein creadigaeth ganddo (Act. xvii. 28). Ond yn sicr nid yw y dadoliaeth a'r faboliaeth yna yn llanw, nac yn haner llanw, y termau Ysgrythyrol. Yn ol y Beibl, o fewn cylch iachawdwriaeth yn unig y mae y termau hyn yn derbyn ystyr a nerth. A oedd Ioan yma yn golygu "pawb" wrth holl blant Duw? Rhed y dybiaeth

Yna o'r dydd hwnnw allan y cydymgynghorasant fel y 53
lladdent ef. Am hynny ni rodiodd yr Iesu mwy yn amlwg 54
ym mysg yr Iuddewon; ond efe a aeth oddi yno i'r wlad
yn agos i'r anialwch, i ddinas a elwir Ephraim, ac a
arhosodd yno gyd â'i ddisgyblion.
A phasc yr Iuddewon oedd yn agos: a llawer a aethant 55
o'r wlad i fynu i Jerusalem o flaen y pasc, i'w glanhâu eu
hunain. Yna y ceisiasant yr Iesu; a dywedasant wrth eu 56

---

yn wrthwyneb i holl gwrs ei ddysgeidiaeth arferol. (2) Dadleua Tholuck a Godet fod yr "holl blant" yn golygu, nid pawb yn ddiwahaniaeth, ond y nifer hyny yn mhlith y pawb ag oedd yn meddu dyheadau am wirionedd a chydymdeimlad a daioni—dynion megis Socrates, Marcus Aurelius, a miloedd eraill nad yw eu henwau mewn un croniel daearol, y rhai a feddent y teimladrwydd gofynol i ateb i lais Duw yn yr Efengyl. Ond ai dyna a feddylia y Test. Newydd wrth blant Duw? Ai nid yw bob amser yn dynodi perthynas fwy pendant a phenodol? (3) Oherwydd paham, credwn gyda Bengel, Meyer, Alford ac eraill y gelwir hwy yma yn blant Duw mewn rhagolwg; nid am eu bod eisoes yn blant, ond oblegid y gwneid hwy yn y dyfodol yn blant trwy alwad effeithiol ac adenedigaeth ysbrydol.

ADN. 53. **Gan hyny o'r dydd hwnw allan y cyd-ymgynghorasant fel y lladdent ef.** Cydsyniodd mwyafrif y Sanhedrin â chyngor dieflig yr archoffeiriad—y mae bellach gyd-ddealldwriaeth rhwng y Sadduceaid a'r Phariseaid fod marwolaeth yr Iesu yn anghenrheidrwydd; yr unig fater sydd heb ei benderfynu yw, pa bryd a pha fodd.

ADN. 54. **Am hyny ni rodiodd yr Iesu mwy yn amlwg yn mysg yr Iuddewon.** Gwyddai nad oedd yr awr ragderfynedig yn nghynghor ei Dad wedi dyfod; ond ar y llaw arall, gwyddai mai ei ddyledswydd Ef oedd gochel profedigaeth—cilio am dymhor o blith ei elynion maleisddrwg. **Ond Efe a aeth oddiyno i'r wlad yn agos i'r anialwch, i ddinas a elwir Ephraim, ac a arhosodd yno gyda'i ddysgyblion.** Nis gellir penderfynu hyd sicrwydd pa ddinas a olygir wrth Ephraim: dywed Eusebius ei bod wyth milldir, a Jerome ugain milldir, i'r Gogledd-ddwyrain o Jerusalem, a chreda y ddau mai yr un ydyw ag Ephron.

ADN. 55. **A phasg yr Iuddewon oedd yn agos.** Dyma y Pasg bythgofiadwy yn hanes y byd; oherwydd paham dynodir ef yma gan Ioan fel "Pasg yr *Iuddewon*," y Pasg yn yr hwn yr oedd y penaethiad i godi llif-ddorau eu cynddaredd, a'r genedl i ddatguddio yn llawn ddrygioni anfad ei chalon. Pa faint o amser sydd rhwng adn. 54 ag adn. 55, nis gellir penderfynu hyd sicrwydd, tua mis neu ragor wrth bob tebyg. Ond dengys yr efengylwyr eraill na threuliodd y mis hwn mewn seguryd, eithr mewn llafur caled a dwys: nid mis o wyliau ydoedd, ond mis o waith. **A llawer a aethant o'r wlad i fynu i Jerusalem o flaen y Pasg, i'w glanhau eu hunain.** Pobl o Galilea a Perea. Gofynai iddynt tuag wythnos i lanhau eu hunain o'u haflendid seremoniol, fel ag i gadw y Pasg yn gymeradwy.

gilydd, fel yr oeddynt yn sefyll yn y deml, Beth a dybygwch
57 chwi. gan na ddaeth efe i'r wyl? A'r arch-offeiriaid a'r
Phariseaid a roisant orchymyn, os gwyddai neb pa le yr
oedd efe, ar fynegi o hono, fel y gallent ei ddal ef.

## PENOD XII.

YNA yr Iesu, chwe diwrnod cyn y pasc, a ddaeth i 1
Bethania, lle yr oedd Lazarus, yr hwn a fuasai farw,

---

**ADN. 56 a 57.** Desgrifia adn. 56 deimladau ac ymholiadau y bobl yn ngwyneb absenoldeb yr Iesu o'r dref; ac adn. 57 orchymyn y swyddogion crefyddol i'r cyhoedd i roddi hysbysrwydd am fan ei ymguddfa, "fel y gallent ei ddàl Ef"—ei wneyd yn garcharor er mwyn ei ddienyddio. Mor fedrus y mae Ioan yn dadlenu dichellion y bobl ddrygionus hyn! Ni ysgrifenwyd drama mwy cynhyrfus erioed.

---

## PENOD XII.

Er i'r Iesu encilio i Ephraim ar dueddau yr anialwch oherwydd llid yr Iuddewon, na thybier iddo dreulio yr amser, faint bynag ydoedd, mewn seguryd. Yn y benod hon daw gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu i'w therfyn: yma gwelwn y genedl Iuddewig yn rhanu ei hunan i ddau wersyll—ei dderbynwyr a'i wrthodwyr. Y mae y rhwyg rhwng y rhai oedd yn credu a'r rhai oedd yn anghredu, yr hwn a welwn yn dechreu yn yr ail benod, yn parhau i ledu nes dadblygu yma yn agendor fawr.

### YR ENEINIAD YN BETHANIA. ADN. 1—11.

**ADN. 1. Yr Iesu, gan hyny.** Pa gysylltiad a nodir allan yn y "gan hyny"? (1) Etyb Hengstenberg mai yr amcan yw cysylltu yr adnod hon â'r ddwy adnod olaf yn y benod flaenorol. Gan fod y swyddogion eglwysig wedi penderfynu ei ladd, ac wedi gorchymyn, "os gwyddai neb pa le yr oedd Efe, ar fynegi o hono, fel y gallent ei ddàl Ef," "gan hyny" yr Iesu a aeth yn gyhoeddus i gyfarfod ei erlidwyr a'i gyhuddwyr, nid rhaid oedd ei ddàl trwy ddichell. (2) Ond barna Godet fod y "gan hyny" i'w gael yn xi. 55, sef am fod y Pasg yn agos. (3) Gwell, fodd bynag, yw dilyn Meyer, Luthardt, a Westcott, a deall y cysylltair yn gyffredinol—yn gymaint a bod pethau fel eu portreadir yn y paragraph diweddaf o'r benod flaenorol, gwelodd yr Iesu ynddynt reswm digonol dros ddychwelyd o gyffiniau yr anialwch i ardal Jerusalem. **Chwe diwrnod cyn y Pasg.** Yn llythyrenol, "Cyn chwe diwrnod oddiwrth y Pasg," gan adael allan y Pasg. Mýn rhai mai dylanwad yr iaith Ladin sydd i'w weled yma, tra y maentumia Winer (*Grammar of Greek Test.*) mai priod-ddull Groeg diweddar ydyw (gwel ar xi. 18, lle y ceir brawddegiad cyffelyb). Gellid casglu oddiwrth Matt. xxvi. 2 a Marc xiv. 1 mai dim ond dau ddiwrnod cyn y Pasg y dychwelodd yr Iesu i Bethania, ond dywed Ioan chwech. Pa fodd eu cysonir? Rhaid

yr hwn a godasai efe o feirw. *Ac* yno y gwnaethant iddo 2
swper; a Martha oedd yn gwasanaethu: a Lazarus oedd

---

cyfaddef fod anhawsder mawr i drefnu yn foddhaol ddigwyddiadau yr wythnos ddiweddaf yn hanes yr Arglwydd Iesu; ond ymddengys fod y tri efengylwr Synoptaidd yn dilyn trefn y mater, tra y mae Ioan yn dilyn trefn yr amser. Felly y mae Ioan yn arweinydd sicrach, nid am y digwyddiadau, ond am drefn y digwyddiadau. "Chwe diwrnod cyn y Pasg"—pryd oedd hyny? Y mae cryn lawer o amrywiaeth barn. Tra y disgynai y Pasg bob amser ar yr un dydd o'r mis, sef Nisan 14eg, yn mhlith yr Iuddewon, eto nid oedd yr un dydd o'r mis yn disgyn ar yr un dydd o'r wythnos; gan hyny, syrthiai chwe diwrnod cyn y Pasg ar Nisan 8fed. Yn awr, meddai Plummer, os bu Crist farw yn y flwyddyn 30, sef tair blynedd yn gynt nag yn ein hamseryddiaeth ni, yr hyn a gymeradwyir gan fwyafrif yr esbonwyr, yr oedd chwe diwrnod cyn y Pasg yn syrthio ar nos Wener, ar ol machlud haul, pryd y dechreuai y Sabbath Iuddewig,—yn ol ein hamser ni Mawrth 31ain. Dadleua Westcott dros nos Iau, a Meyer dros nos Sadwrn, os ydym yn iawn ddeall eu dadleuon, ond ar y cyfan y golygiad uchod a gymeradwya ei hun i ni. Gan i ni roddi crynodeb o symudiadau yr Arglwydd Iesu yr wythnos gyntaf o'i weinidogaeth, rhoddwn yma grynodeb o'i symudiadau yr wythnos ddiweddaf.

| Y Mis Iuddewig. | Y Mis Saesoneg. | Yr Wythnos. | |
|---|---|---|---|
| Nisan 8. | Maw. 31. | Gwener ... | **Yr Iesu yn cyrhaedd Bethania.** |
| ,, 9. | Ebrill 1. | Sadwrn ... | **Yr Iesu yn swpera yn nhy Simon, ar ol treulio Sabbath tawel yn Bethania.** |
| ,, 10. | ,, 2. | Sul ........ | **Yr Iesu yn myned i Jerusalem ar asynyn, ac yn yr hwyr yn dychwelyd i Bethania.** |
| ,, 11. | ,, 3. | Llun ...... | **Myned i Jerusalem; yn melldithio y y ffigysbren ddiffrwyth; yn dychwelyd yn yr hwyr i Bethania.** |
| ,, 12. | ,, 4. | Mawrth .. | **Myned i Jerusalem: wrth ddychwelyd i Bethania yn rhagddywedyd dinystr y deml a'r ddinas, ac yn llefaru Matt. xxv.** |
| ,, 13. | ,, 5. | Mercher... | Yn treulio y diwrnod yn Bethania. |
| ,, 14. | ,, 6. | Iau ......... | Bwyta y Pasg yn Jerusalem: **yn sefydlu y Swper Sanctaidd; yn cael ei ddal, a thrwy y nos yn cael ei dreio yn y llysoedd.** |
| ,, 15. | ,, 7. | Gwener ... | **Yn cael ei groeshoelio.** |

**A ddaeth i Bethania.** Trwy Jericho, fel y dengys yr efengylwyr eraill, ar yr hon daith y lletyodd noswaith yn mhalasdy Zaccheus. **Lle yr oedd Lazarus, yr hwn a godasai Efe o feirw.** Dyna y darlleniad yn y prif lawysgrifau, ac felly y darlleniad a fabwysiedir yn y Cyf. Diw.

**ADN. 2. Ac yno y gwnaethant iddo swper.** Cawn yr un hanes yn Matt. xxvi. 6—13 a Marc xiv. 3—9. Y mae y gair yma am swper

3 un o'r rhai a eisteddent gyd âg ef. Yna y cymmerth Mair

---

(*deipnōn*) yn golygu ciniaw neu swper; ond gogwyddir ni gan yr amgylchiadau cysylltiol i'w ddeall yn yr ystyr ddiweddaf. Yn mha dŷ yn Bethania y cynhaliwyd y swper? Etyb y ddau efengylwr cyntaf mai yn "nhy Simon y gwahanglwyfus" (Matt. xxvi. 6; Marc xiv. 3), h.y. yr hwn a fu wahanglwyfus, ond a iachawyd wrth bob tebyg gan yr Arglwydd Iesu. A chan ei fod yn gymydog i Lazarus a'i ddwy chwaer, yr oeddynt hwythau yn bresenol ac yn cynorthwyo. Ond dadleua Hengstenberg yn gryf mai yr un oedd ty Martha a thy Simon, gan yn ol ei dyb ef mai gwr Martha oedd Simon, neu, yn ol tyb Ewald, nid ei gwr ond ei thad; ac mai dyma y rheswm paham yr oedd Martha "yn gwasanaethu," gan nad yw yn debyg y buasai gwraig o'i sefyllfa uchel hi yn gwasanaethu fel morwyn yn mhreswylfod estron. Pwy a wnaeth y swper? Y mae Ioan yn gadael y mater yn anmhenodol. "Hwy," meddai ef; ond pwy yw yr "hwy"? (1) Gan y cynhelid y wledd yn nhy Simon, naturiol casglu mai Simon a barotodd y wledd: ac yn gymaint a'i fod yn gymydog i Martha a'r teulu, ac fel hwythau yn ddysgybl i'r Iesu, rhesymol oedd i Martha gynorthwyo gyda y trefniadau. (2) Ateb arall llawn mor naturiol yw fod y ddau deulu, gan eu bod fel eu gilydd yn wrthrychau cymwynasgarwch yr Iesu, wedi cytuno i wneuthur iddo wledd cydrhyngddynt, fel datganiad o'u diolchgarwch diffuant, ac o bosibl, fel yr awgryma Godet, fel gwrthdystiad (*counter protest*) yn erbyn proclamasiwn yr archoffeiriaid a'r Phariseaid (xi. 57). Os gwir y dyfaliad hwn, naturiol oedd i Martha fod yno yn gwasanaethu. (3) Ateb Bengel, Luthardt, Godet, a Westcott yw mai y pentrefwyr trwy danysgrifiadau oedd yn rhoddi gwledd iddo, oblegid ei hoffder o'r pentref a'r enwogrwydd a ddygodd iddo, a bod Simon yn benthycia ei dŷ, fel yr helaethaf, at eu gwasanaeth. Arfer trefi yn ein hoes ni yw rhoddi gwledd trwy danysgrifiad i enwogion. Yr un oedd y natur ddynol yr amser hwnw ag yn awr, ac nid oes dim yn annaturiol nac yn ddarostyngol yn y dybiaeth hon, a chyfrifa am ddull penagored Ioan o grybwyll pwy a barotôdd y wledd. Yn ol yr eglurhâd hwn hefyd, naturiol oedd i Martha fel gwraig o sefyllfa uchel a gweithgarwch diflino i gymeryd arolygiaeth y parotoadau. **A Lazarus oedd un o'r rhai a eisteddent gydag Ef.** Nid eistedd ar gadeiriau yn null y Gorllewin, ond lledorwedd ar glustogau yn null y Dwyrain, yr hyn a eglura yr hawsder gyda pha un y gallodd Mair eneinio ei draed Ef. Golygfa gynhyrfus! Simon wedi ei wella o'r gwahanglwyf, Lazarus wedi ei gyfodi o'r bedd, **a'r Arglwydd Iesu cydrhyngddynt!**

**ADN. 3.** Cyn dechreu egluro adranau gwahanol yr adnod hon, rhaid gofyn, Pa sawl eneiniaid y mae genym hanes am dano? (1) Yr ateb cyntaf yw mai yr un digwyddiad a ddesgrifir yn Matt. xxvi. 6–13, Marc xiv. 3–9, Ioan xii. 1–11, ag a ddarlunir yn Luc vii. 36–50. Dyma olygiad Hengstenberg a'r Eglwys Babaidd. Yn ol yr ateb hwn, yr un oedd Simon y Pharisead a Simon y gwahanglwyfus; a'r un oedd y "wraig oedd bechadures" a Mair Magdalen, a'r un oedd Mair Magdalen a Mair, chwaer Lazarus. Seilir y golygiad hwn ar ddau reswm. Yn gyntaf, digwyddiad yr enw Simon yn hanes yr eneiniad gan y wraig oedd bechadures a chan Mair o Bethania. Ond nid oes fawr o rym yn

bwys o ennaint nard gwlyb gwerthfawr, ac a enneiniodd

---

y rheswm hwn, gan y darllenwn am o leiaf wyth Simon yn y Test. Newydd,--Simon Petr, Simon Zelotes (y ddau hyn yn mhlith yr apostolion), Simon brawd yr Arglwydd (Matt. xiii. 55), Simon y gwahanglwyfus (Matt. xxvi. 6), Simon o Cyrene (Matt. xxvii. 32), Simon y Pharisead (Luc. vii. 40), Simon y swynwr (Act. viii. 9), a Simon barcer (Act. ix. 43). Prawf diymwad fod yr enw Simon mor gyffredin â'r enw John yn Nghymru, ac o ganlyniad nis gellir sylfaenu ymresymiad ar fynychiad yr enw hwn. Yn ail, fod y cyffelybrwydd rhwng hanes yr eneiniad gan y wraig oedd bechadures â hanes yr eneiniad gan Mair o Bethania mor gryf a tharawiadol nes cario yr argyhoeddiad i'r meddwl mai yr un oeddynt. Rhaid cyfaddef fod y tebygolrwydd yn fawr; ond nid doeth, yn y tebygolrwydd, i golli golwg ar y gwahaniaeth—gwahaniaeth lle, amser, ac amgylchiadau. Drachefn, nid ymddengys i ni fod fawr o sail i'r dybiaeth mai yr un oedd Mair Magdalen a'r wraig oedd bechadures. Dynes oedd y ddiweddaf ag iddi hanes anfoesol yn y dref, ond wedi ei hachub gan yr Iesu fel pentewyn o'r tân. Eithr nid dynes afradlon oedd Mair Magdalen, ond dynes anffodus—gwraig gyfrifol yn dyoddef oddiwrth ymosodiadau achlysurol o wallgofrwydd, yr hyn a briodolai yr henafiaid i breswyliad anhyfryd ysbrydion drwg. Bwriodd yr Arglwydd Iesu allan o honi "saith o gythreuliaid," sef yw hyny, adferodd hi o'i gwallgofrwydd i'w phwyll, a byth ar ol hyny cawn hi yn un o'r rhai mwyaf selog yn mhlith y gwragedd ag oedd yn gweini ar yr Iesu o'u meddiannau. (2) Ateb arall gwrthgyferbyniol yw fod tri eneiniad wedi cymeryd lle. Y cyntaf yn Luc vii. 37, gan y wraig oedd bechadures. Yr ail gan Mair, chwaer Lazarus, cyn adgyfodiad ei brawd, yn ol Ioan xi. 2: dadleua Lightfoot yn gryf fod amser y ferf yn profi mai at eneiniad ag oedd eisoes wedi cymeryd lle y cyfeiria Ioan, ac nid at eneiniad ag oedd i gymeryd lle. Y trydydd gan Mair eto, yn ol yr hanes yma ac yn Matt. xxvi. a Marc xiv. (3) Ond credwn ni, gyda mwyafrif yr esbonwyr, na chawn hanes ond am ddau eneiniad, sef yr un gan y wraig oedd bechadures yn ol Luc, a chan Mair, chwaer Lazarus, yn ol yr efengylwyr eraill. Nid oes gan Mair Magdalen ran na chyfran yn yr eneiniad; ac y mae yr eglurhad hwn yn hollol gyson a golygiadau duwinyddion yr Eglwys Roegaidd foreuol.

**Yna y cymerth Mair bwys o enaint nard gwlyb gwerthfawr.** "Rhyw wraig" y gelwir hi gan Matthew a Marc,—yr oedd ganddynt yn ddiau reswm nas gwyddom ni am dano dros gelu yr enw; ond yr oedd y rheswm wedi diflanu pan yr ysgrifenai Ioan. Ni chrybwylla yr efengylwyr eraill swm yr enaint, ond gofala Ioan yn ol ei arfer roddi y manylion (cyd. xix. 39)—un pwys (Groeg *litra*, Lladin *libra*), yn agos i ddeuddeg owns *avoirdupois*: swm mawr iawn o enaint mor ddrudfawr. Gair cyffredinol yw enaint (*muron*); enw neillduol ar yr enaint arbenig hwn yw nard (*nardus*). Felly ansoddeiriau perthynol i'r nard yw gwlyb a gwerthfawr: Nid enaint gwlyb gwerthfawr, ond "nard gwlyb gwerthfawr." Beth yw ystyr y "gwlyb"? (1) Cred Awstin a Cyril, a dilynir hwy gan rai esbonwyr diweddar, mai enw lleol ydyw—nard *Pistik*. Ond gan na ddarllenwn am un lle yn dwyn yr enw yna, gorfodir ni i chwilio am ystyr arall. (2) Barna eraill fod y gwreiddiol am "wlyb"

draed yr Iesu, ac a sychodd ei draed ef â'i gwallt: a'r tŷ a
4 lanwyd gan arogl yr ennaint. Am hynny y dywedodd un
o'i ddisgyblion ef, Judas Iscariot, *mab* Simon, yr hwn oedd

---

—*pistikos*—yn tarddu o *pinō;* os felly ei ystyr yw "yfadwy." Nid nard caled ond nard yfadwy, *liquid*, yn cael ei gadw mewn phiol. Dywedir y rhoddid defnynau o hono weithiau mewn phiolaid o win er mwyn cyfranu iddo arogl pêr. (3) Barna eraill fod y gair yn darddedig o *pistos;* o ganlyniad, yr ystyr yw, pur, dilwgr. Nard *liquid*, neu nard pur, *genuine:* nard oedd yn fawr ei glod, ac felly yn uchel ei bris yn y Dwyrain. **Ac a eneiniodd draed yr Iesu.** Yn ol yr efengylwyr eraill hi a "eneiniodd ei ben," yr hyn nid oedd anarferol yn y gwledydd poethion, er adnewyddu y natur. At yr arferiad yma y cyfeiria Salm xxiii. 5: "Ti a arlwyaist ford ger fy mron; *iraist fy mhen ag olew.*" Ond dywed Ioan iddi eneinio, nid ei ben, eithr ei draed. Nid oes yma wrthddywediad. Eneinio y pen a hawliodd sylw Matthew a Marc; eneinio y traed—peth anarferol—a dynodd sylw Ioan, fel amlygiad anarferol o gariad angherddol. Pa fodd y gweithredodd? (1) Etyb Marc iddi dori y "blwch" *(flask)*—tori ymaith y gwddf, neu, os dilynir ystyr hollol lythyrenol y gair gwreiddiol (*suntripsasa*), hi wasgodd yr enaint allan fel gŵr yn gwasgu grawnwin. Torodd ef ar ei ben, a gadawodd iddo lifo ar ei draed, yn ol y portread yn Salm cxxxiii. 2: "Y mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron, yr hwn oedd yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef." Cymaint o enaint ar y pen nes dyferu o hono ar odrau y gwisgoedd ac ar y traed. (2) Ond mwy tebyg yw, wedi iddi eneinio ei ben, iddi hefyd eneinio ei draed. Gorlifai ei chariad fel nas gwyddai pryd i aros. Sonia Aristophanes hefyd, yn chwareugerdd y "Gwenyn," am ferch yn golchi traed ei thad ac yn eu heneinio ag olew. **Ac a sychodd ei draed Ef a'i gwallt.** Dywedir yr ystyriai yr Iuddewon yn anfri i wraig neu ferch ollwng ei gwallt yn rhydd yn ngwydd dyeithriaid; ond gan nad oedd tywel wrth law, cynlluniodd Mair ffordd newydd—un dyfeisgar iawn ydyw cariad. **A'r tŷ a lanwyd gan arogl yr enaint.** Do; a phery i lanw yr eglwys, ac nid erys nes llanw y byd. Y mae aberthau cariad yn beraroglus ryfeddol! Yn yr efengylau eraill geilw yr Iesu y weithred yn "dda"—nid y da defnyddiol (*agathos*) ond y da prydferth (*kalos*). Nid boddlon Cristionogaeth ar y defnyddiol, heb i'r defnyddiol ymgodi at yr addurniadol. Y mae y "da" uchaf bob amser, nid yn unig yn fuddiol, ond hefyd yn hardd. Y mae y buddiol a'r prydferth yn eu dadblygiadau uchaf yn toddi i'w gilydd. Yn Nuw y maent yn un. Ar un llaw y mae Duw yn fod defnyddiol iawn, y mwyaf defnyddiol o bawb; ar y llaw arall y mae yn fod prydferth iawn, mor brydferth fel mai adlewyrchiad o hono Ef yw pob prydferthwch creadigol. Yr haul yw y byd mwyaf defnyddiol yn y wybren; ond y mwyaf defnyddiol ydyw hefyd y mwyaf hardd.

**ADN. 4. Ond Judas Iscariot, un o'i ddysgyblion ef.** Gadawer allan "mab Simon." Coffhâ Matthew mai ei ddysgyblion a lefarodd y sylw sydd yn canlyn; a Marc mai "rhai oedd yn anfoddlawn ynddynt eu hunain"—nid yr oll ond rhai. Cyfynga Ioan y sylw i Judas Iscariot. O ddarllen y tri hanes gyda'u gilydd barna Westcott i Judas ddatgan

ar fedr ei fradychu ef, Paham na werthwyd yr ennaint hwn 5
er tri chàn ceiniog, a'i roddi i'r tlodion? *Eithr* hyn a 6
ddywedodd efe, nid o herwydd bod arno ofal dros y
tlodion; ond am ei fod yn lleidr, a bod ganddo y pwrs, a'i
fod yn dwyn yr hyn a fwrid ynddo. A'r Iesu a ddywed- 7

---

"yr hyn yr oedd yr holl ddysgyblion yn ei deimlo"; ond ymddengys i ni fod iaith Westcott yn rhy gref, ac mai Judas a wnaeth y sylw angharedig am y gwastraff, ac i'r gweddill roddi eu cydsyniad yn fwy neu lai ffurfiol, ond heb deimlo unrhyw anfoddlonrwydd dwfn i'r weithred. **Yr hwn oedd ar fedr ei fradychu ef, a ddywedodd.** (Gwel ar vi. 70, 71). Diau fod y bwriad o fradychu ei Athraw wedi ymffurfio yn benderfyniad terfynol yn meddwl Judas erbyn hyn.

**ADN. 5. Paham na werthwyd yr enaint hwn er tri chàn ceiniog, a'i roddi i'r tlodion?** Y gair am "geiniog" yma yw *denarius*, yr hwn sydd gyfartal i tua deg ceiniog o'n harian ni (gwel ar vi. 7); felly buasai tri chàn swllt yn gywirach cyfieithiad na thri chàn ceiniog. Prisiai Judas werth yr enaint eithriadol ddrudfawr hwn yn ol tua Deg Punt y pwys,--swm enfawr yn y dyddiau hyny; a chan mai un *denarius* y dydd oedd cyflog gweithiwr yr oes hono, yr oedd gwerth marchnadol yr enaint yn ddigon i gynal teulu gweithiwr am yn agos i flwyddyn. Pan y torwyd y blwch enaint, gwaeddai Judas, "Gwastraff; gallesid ei werthu am Ddeg Punt, a rhoddi yr arian i gynorthwyo y tlodion—cadwai deulu am ddeuddeg mis." Sylw rhesymol o un safle, ac oblegid hyny enillodd gymeradwyaeth ei gyd-ddysgyblion; ond, meddai Ioan, nid oedd yn sylw gonest, cochl grefyddol ydoedd i guddio amcanion llygredig.

**ADN. 6. Yn awr hyn a ddywedodd efe, nid o herwydd bod arno ofal am y tlodion.** Dyma esboniad Ioan yn ol ei arfer ar sylw Judas. Ar y pryd nid oedd efe yn fwy na'r dysgyblion eraill yn drwg-dybio Judas,—yn ngoleuni y bradychiad ac amgylchiadau eraill a ddaeth i wybodaeth Ioan yn ddiweddarach y llefara mor ddiamwys am gymeriad ei gyd-apostol.* **Ond am ei fod yn lleidr.** Dedfryd lem gan apostol Cariad ar un o'i gydswyddogion. Ni fuasai Ioan yn defnyddio geiriau mor eirwon onibai fod ganddo seiliau cedyrn a digonol. **A bod ganddo y pwrs.** Cyfieithir y gair gwreiddiol am "bwrs" *(glossokomon)* yn xiii. 29 yn "gôd"; defnyddir ef hefyd gan y Deg a Thrigain yn 2 Chron. xx. 8, 10, 11, a chyfieithir ef yn y Beibl Cymraeg yn "gist." Dengys tarddiad y gair y golygai ar y cyntaf y blwch neu y gôd yn mha un y dygai chwareuwyr offerynau cerdd y darnau a roddent yn eu geneuau *(mouthpieces)*, yn eu teithiau o bentref i bentref; yna y blwch neu y gôd yn mha un y cedwid arian. Gan hyny dynoda y bocs oedd yn wniedig wrth y ffedog, neu *gashbox* cyffelyb i'r un dodrefnyn yn ein hoes ni. Cyferbynir yn anuniongyrchol *alabaster box* Mair a *cashbox* Judas. **Ai fod yn arfer dwyn yr hyn a fwrid ynddo.** Nid dwyn yn achlysurol ond yn arfer dwyn. Y mae i'r gair Groeg (*bastazein*) ystyr ddyblyg fel i'r gair Cymraeg "dwyn"—dwyn yn yr ystyr o gario neu ddwyn yn yr ystyr o ladrata. Pa un yw yr ystyr yma? (1) Barna Luthardt, De Wette, Hengstenberg, Godet, Alford, a'r Cyfieithiad

odd, Gâd iddi: erbyn dydd fy nghladdedigaeth y cadwodd

---

Lladinaidd a elwir y *Vulgate*, mai yn yr ystyr syml o gario y dylid ei ddeall. Ond os felly, pa wybodaeth a gyflwynir i ni yn y frawddeg hon na chyflwynir i ni yn y gosodiad fod y pwrs ganddo? Os oedd y pwrs ganddo, rhaid ei fod yn ei gario. (2) Oherwydd paham, dadleua Origen, Awstin, Meyer, ac eraill fod y cysylltiadau yn eglur awgrymu, nid yn unig dwyn fel yn nefnyddiad yr un gair yn vi. 31, ond dwyn ymaith, lladrata, fel yn ei ddefnyddiad yn xx. 15. Gorfodir ni i roddi y rhagoriaeth i'r golygiad hwn; ac yn ngwyneb elfeniad Ioan o gymeriad Judas, onid haerllugrwydd yw ymdrechion duwinyddion diweddar, rhai o honynt yn weinidogion y Gair, i wyngalchu cymeriad y bradychwr? O'r cyfraniadau gwirfoddol a daflai y gwragedd cyfoethog ac eraill i'r pwrs cyffredin er cynaliaeth yr Iesu a'i ddysgyblion arferai Judas ladrata o bryd i bryd.

Gofynir, Gan fod yr Iesu yn deall cymeriad Judas ac yn gwybod o'r dechreuad pwy oedd yr hwn a'i bradychai Ef, paham yr ymddiriedodd y drysoryddiaeth iddo? (1) Etyb rhai ei bod yn ddigon tebyg nad yr Iesu a'i happwyntiodd i'r swydd, ond y dysgyblion eu hunain trwy etholiad. Nid oes dim yn annaturiol nac anysgrythyrol yn y dybiaeth. (2) Eraill a atebant mai y ffordd debycaf i'w gadw yn onest neu i'w adfer i onestrwydd, os ydoedd eisoes wedi gŵyro o lwybr cyfiawnder, oedd ei osod mewn swydd o ymddiriedaeth. Y mae y syniad yr ymddiriedir i ni ar un llaw, a'r teimlad o gyfrifoldeb ar y llaw arall, yn tueddu yn uniongyrchol i sobri y meddwl a difrifoli y gydwybod. (3) Etyb eraill mai ffordd arferol Duw i ddadblygu cymeriad yn ei dda a'i ddrwg yw trwy roddi iddynt gyfleusderau i arfer y naill a ffrwyno y llall. Ond gan nad faint o wirionedd sydd yn y tri ateb hyn, rhaid addef fod hwn yn ofyniad nad oes gan ddynion *solution* boddhaol iddo. Nid ydyw ond canghen o'r cwestiwn mawr sylfaenol, Paham y caniataodd Duw ddrwg o gwbl? Nid oes genym ni ond cyfaddef y dirgelwch a phlygu pen mewn gwyleidd-dra addoliadol. "Felly, O Dad, y rhyngodd bodd yn dy olwg."

**ADN. 7. Yr Iesu a ddywedodd, Gad iddi.** Yn ol Matthew, "Paham yr ydych yn gwneuthur blinder i'r wraig?" canys yr oedd eu sylwadau câs yn peri doiur i foneddiges mor lednais ei theimladau. Gwelai yr Arglwydd Iesu y cymhelliad yn yr hwn y gwreiddiodd y weithred. Y mae dehongliad gweddill yr adnod yn dibynu ar y cyfieithiad a fabwysiedir. (1) Yn y Cyf. Diw. y darlleniad ydyw: "Gad iddi i gadw hwn hyd ddydd fy nghladdedigaeth." Dyna hefyd yw darlleniad cyfieithiad Lladinaidd y Vulgate, a'r darlleniad y dadleua Meyer yn gryf drosto, ac a fabwysiedir gan Westcott. Yr eglurhad, gan hyny, yw, Yn lle gwerthu yr enaint hwn a rhanu yr arian rhwng y tlodion, gad iddi ei gadw erbyn dydd fy nghladdedigaeth, i berarogli fy nghorph y pryd hwnw—bydd ei eisieu cyn diwedd yr wythnos. Yn ol yr esboniad hwn, rhan o'r blychaid enaint a ddefnyddiodd Mair i eneinio yr Iesu ar y swper,—yr oedd i gadw y gweddill ar gyfer ei gladdedigaeth yn mhen ychydig ddyddiau, ac nid ei werthu yn ol awgrymiad Judas. Eneiniodd Mair Ef, nid *â'r* blwch, ond *o'r* blwch. Eithr os yw y darlleniad a'r esboniad yna yn gywir, pa sail oedd i'r cyhuddiad o wastraff? Ymddengys i ni fod y cyhuddiad yn profi fod yr oll wedi ei ddefnyddio. (2)

hi hwn. Canys y mae gennych y tlodion gyd â chwi bob 8
amser; eithr myfi nid oes gennych bob amser. Gwybu 9
gan hynny dyrfa fawr o'r Iuddewon ei fod ef yno: a hwy
a ddaethant, nid er mwyn yr Iesu yn unig, ond fel y

---

Am hyny, rhoddwn y flaenoriaeth i'r darlleniad arferol—**Erbyn dydd fy nghladdedigaeth y cadwodd hi hwn.** Nid annhebyg yw y darlleniad ar ymyl dalen y Cyf. Diw. Mabwysiedir ef gan Hengstenberg, Stier, a Godet. Credwn mai hwn sydd yn trosglwyddo y drychfeddwl cywir. Y mae y ferf "cadw" *(tetērēken)* yn arwyddo bwriad a chynllun. Yr oedd Mair er ys wythnosau wedi trysori yn ofalus y pwys enaint. Pa un a ydoedd wedi ei brynu i berarogli corph Lazarus ai peidio sydd ansier; ond yr oedd wedi ei gadw er ys amser gyda y diben o berarogli corph yr Arglwydd Iesu. Hollol gyson a hyn yw geiriau Marc xiv. 8: "Hi a achubodd y blaen i eneinio fy nghorph erbyn y claddedigaeth." Yr oedd cymylau duon er ys misoedd yn ymgasglu yn y ffurfafen uwchben yr Iesu, gelyniaeth yr Iuddewon yn parhau i chwerwi fwyfwy. Teimlai Mair mewn ffordd na ellir ei darlunio fod diwedd ei yrfa yn ymyl cyn i reswm ei ganfod--trodd greddf cariad yn brophwydol. Yn nerth yr hyn a eilw y Saeson yn *pre-sentiment*, teimlai fod trychineb ofnadwy wrth y drws; ac yn nerth y teimlad trysorodd y nard gwlyb gwerthfawr—penderfynai y cai y Ceidwad gladdedigaeth anrhydeddus, beth bynag a ddigwyddai. O'r diwedd gorlifodd ei chariad dros y ceulanau, torodd y blwch ac eneiniodd ei gorph yn agos i wythnos cyn yr amser—ni allasai atal yn hwy yr amlygiad drudfawr hwn o'i pharch diderfyn i'r Athraw bendigedig. Yr enaint a gadwodd erbyn ei gladdedigaeth a ddefnyddiodd yn awr chwe diwrnod cyn ei gladdedigaeth. Fedrai hi ddim esbonio y weithred, ond esboniodd yr Iesu hi—nid yn unig gwelai y weithred ond hefyd y reddf brophwydol a'i cynyrchodd. Clodforodd yr Iesu y wraig a'i gweithred, oblegid y cariad cryf a ddangosodd; beiai Judas hi am wastraffu gwerth Deg Punt o enaint, ac eto gwerthodd ef gorph y Meistr cyn pen tridiau am Dair Punt a Phymtheg Swllt!

**ADN. 8. Canys y mae genych y tlodion gyda chwi bob amser; eithr myfi nid oes genych bob amser.** Nid llefaru yn erbyn haelioni i'r tlodion y mae, ond dangos nad yw haelioni ato Ef a'i deyrnas yn anghyson ag haelioni i'r tlodion. Esgusoda rhai pobl eu hunain dros beidio cynorthwyo y cenhadaethau oblegid fod genym amddifaid a phaganiaid yn ein gwlad ein hunain yn galw am ein cydymdeimlad a'n help. Ond pwy yw y bobl sydd yn cymorth achosion teilwng gartref? Onid y bobl sydd yn dangos haelioni at Grist a'i deyrnas? Haelioni ato Ef yw y symbyliad cryfaf i haelioni at ei frodyr gweiniaid ar y ddaear.

**ADN. 9. Gwybu gan hyny dyrfa fawr o'r Iuddewon ei fod Ef yno.** Yn ol y Cyf. Diw.: "Deallodd gan hyny y bobl gyffredin o'r Iuddewon ei fod Ef yno,"—y werinos, y rhai oeddynt wedi dyfod i fyny i'r ŵyl, mewn cyferbyniad i'r arweinwyr. Y mae "y dyrfa" (*ho ochlos*) wedi myned yn air *technical* yn yr efengyl hon i ddynodi corph y bobl. Aeth y sôn am dano Ef a'r wyrth a gyflawnodd fel trydan trwy y tyrfaoedd. **A hwy a ddaethant, nid er mwyn yr Iesu**

gwelent Lazarus hefyd, yr hwn a godasai efe o feirw.
10 Eithr yr arch-offeiriaid a ymgynghorasant fel y lladdent
11 Lazarus hefyd: Oblegid llawer o'r Iuddewon a aethant
ymaith o'i herwydd ef, ac a gredasant yn yr Iesu.
12 Trannoeth, tyrfa fawr yr hon a ddaethai i'r wyl, pan

---

**yn unig, ond fel y gwelent Lazarus hefyd, yr hwn a godasai Efe o feirw.** Aethant allan o Jerusalem i Bethania, llai na dwy filldir o bellder, o dan gymhellion amryfal, ac arweiniwyd amryw o honynt gan eu cywreinrwydd i gofleidio y gwirionedd. Ni wnaeth y bobl hyn ond yr hyn a wnelai tyrfaoedd Cymru heddyw.

**ADN. 10. Eithr yr archoffeiriaid a ymgynghorasant fel y lladdent Lazarus hefyd.** Sadduceaid oedd yr archoffeiriaid,—nid oes yma son am y Phariseaid, er yn ddiau eu bod hwythau yn y gyfrinach. Ni chredai yr archoffeiriaid hyn mewn adgyfodiad (Act. xxiii. 8); gallasai hyn fod yn un rheswm paham y dymunent ladd Lazarus hefyd. Nid oes dim yn bendant yn y geiriau i ddangos natur yr ymgynghoriad, pa un ai mewn eisteddiad rheolaidd o'r Sanhedrin ynte eisteddiad dirgel o'r prif swyddogion y cymerodd le; ond braidd na thybiwn iddo fod yn bwnge dadl yn y Sanhedrin. Heb hyn pa fodd y gallasai Ioan ddyfod i wybod am dano? "O feddwl ynfyd a digofaint dall," meddai Awstin; "os oedd yr Iesu yn medru cyfodi Lazarus o'r bedd ar ol marwolaeth naturiol, oni allai ei gyfodi ar ol iddynt hwy ei ladd?" Ond fel y dywed Plummer, eu lladd eill dau, Lazarus a'r Iesu, oedd bwriad y swyddogion. Oh greulondeb anghrediniaeth!

**ADN. 11. Oblegid o'i herwydd ef llawer o'r Iuddewon oedd yn myned ymaith.** Myned ymaith odditan ddylanwad y Sanhedrin. Yr oedd Lazarus yn dyst byw o allu goruwchnaturiol yr Arglwydd Iesu; mor gryf oedd tystiolaeth ei adgyfodiad fel na ymostyngent mwyach i farn yr awdurdodau crefyddol am dano—aethant ymaith oddiwrth eu harweinwyr arferol. A dengys amser anmherffaith y ferf mai nid ymadawiad am dymhor byr ydoedd, ond eu bod fel dwfr yr afon yn llifo yn feunyddiol oddiwrthynt. **Ac a gredasant yn yr Iesu.** Ni allent wrthsefyll tystiolaeth y wyrth ddim yn hwy—credasant ynddo fel y Messiah addawedig. Er hyny glynent o hyd wrth eu syniad eu hunain am gynwys y term Messiah ac nid wrth ei esboniad Ef; o ganlyniad, cyn diwedd yr wythnos, gwelwn hwy eto yn nofio gyda llif y farn gyhoeddus, ac yn erbyn yr Iesu. Yn awr, fodd bynag, dangosodd cynifer eu pleidgarwch iddo fel y brawychodd yr archoffeiriaid.

### YR ORYMDAITH I JERUSALEM. ADN. 12—19.

**ADN. 12. Trannoeth.** Y diwrnod oedd yn dilyn y wledd. Cymerodd y digwyddiad a ddesgrifir yn yr adnodau canlynol le ar ein Sul ni, y diwrnod ar ol y Sabbath Iuddewig. **Tyrfa fawr yr hon a ddaethai i'r ŵyl.** Myn rhai ddarllen yma eto y "bobl gyffredin." Tyrfa fawr, cyfansoddedig o werin gwlad, y rhai a ddaethant i fynu o Galilea a Perea i'r ŵyl. **Pan glywsant fod yr Iesu yn dyfod i Jerusalem.** Clywsant gan y rhai oedd wedi ymweled a Bethania, yn ol adn. 9. Yr oedd

glywsant fod yr Iesu yn dyfod i Jerusalem, A gymmerasant 13
gangau o'r palmwydd, ac a aethant allan i gyfarfod âg ef,
ac a lefasant, Hosanna: Bendigedig *yw* Brenhin Israel, yr
hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd. A'r Iesu wedi 14

---

y sôn am ei ddyfodiad wedi ei ragflaenu—Efe oedd testyn ymddiddan pob cylch. Yr oedd cymdeithas yn ferw trwyddi.

**ADN. 13. A gymerasant gangau o'r palmwydd.** Defnyddir y fanod o flaen cangau ac o flaen palmwydd, yr hyn ni ellir ei gyfieithu yn unol a phriod-ddull y Gymraeg; ond barna Alford, Meyer, yr esgob Lightfoot ac eraill, y defnyddir y ddau fanod er mwyn dangos yn benodol mai perthyn i'r gymydogaeth hono yr oedd y coedydd hyn. Defnyddia Matthew (xxi. 8) y gair *kladous*, canghenau; Marc (xi. 8) *stibadas*, brigau, glaswellt, &c.; Ioan yma *baïa*—gair yn tarddu o'r Goptaeg, meddir, ac iddo ystyr *technical*, cangau-palmwydd. Ond er fod y gair ynddo ei hun yn dynodi pa fath gangau oeddynt, eto yn gymaint a bod Ioan yn ysgrifenu i Roegiaid na wyddent ystyr *technical* y gair Coptaidd hwn, ychwanega yr enw palmwydd. Yn Deut. xxxiv. 3 a 2 Chron. xxviii. 15 gelwir Jericho yn "ddinas y palmwydd," ond tystiolaetha teithwyr diweddar fod y palmwydd i gyd wedi diflanu namyn un. Ond y mae yn amlwg y tyfent mewn cyflawnder yn ardaloedd Jerusalem yn y dyddiau gynt—y balmwydden oedd y goeden genedlaethol. Prawf o hyn ydyw y ffigiwr ar y *medal* a barotodd y Rhufeiniaid i anfarwoli buddugoliaeth Titus ar drigolion Jerusalem. Megis y portreadir Cymru weithiau fel boneddiges a thelyn yn ei llaw, felly ar *medal* Titus portreadir Palestina fel boneddiges yn wylo dan gysgod palmwydden. Yn Lef. xxiii. 40 gorchymynir i'r bobl ar Wyl y Pebyll i ddwyn yn eu dwylaw "gangau palmwydd"; ac yn hanes gorymdaith Simon y Maccabead (1 Macc. xiii. 51) darllenwn fod y bobl yn rhoddi mynegiad i'w llawenydd trwy gyhwfanu cangau palmwydd. Ac ni allasai Ioan feddwl am gydmariaeth ragorach i osod allan lawenydd y gwaredigion na'u bod wedi eu gwisgo "mewn gynau gwynion a phalmwydd yn eu dwylaw" (Dat. vii. 9). **Ac a aethant allan i gyfarfod ag ef, ac a lefasant yn uchel, Hosanna! Bendigedig yw yr hwn sydd yn dyfod yn enw yr Arglwydd, sef Brenhin Israel.** Dyfyniad yw y geiriau o Salm cxviii. 25, yr hon a genid yn flynyddol yn Ngŵyl y Pebyll ac yn Ngŵyl y Pasg; o ganlyniad yr oedd ei geiriau ar gof y tyrfaoedd. Yn y Beibl Cymraeg cyfieithir Hosanna y Salm yn "Atolwg, Arglwydd, achub yn awr," a'r un modd yn nghyfieithiad Groeg yr LXX. Yn gymaint, gan hyny, a bod yr efengylwr yn defnyddio Hosanna yr Hebraeg, profa mai Iuddew ydoedd, ac nid Groegwr, fel y maentumia y beirniaid anghrediniol. Llefai y dyrfa oedd o'r blaen a'r dyrfa oedd ar ol; eithr nid yn gymhwys yn yr un geiriau yr un pryd, fel y dengys yr hanes yma o'i gydmaru a'r un hanes yn yr efengylwyr eraill. Eto troent oll o gwmpas yr ystyr a rydd Ioan. Cydnabyddai y bobl yr Iesu fel Messiah, Brenhin Israel; a derbynia yntau eu gwarogaeth, canys gweddus oedd iddo fyned i Jerusalem unwaith yn gyhoeddus, ac yn ei gymeriad Messianaidd. Aeth i fynu i Wyl y Pebyll "megis yn ddirgel" (vii. 10) chwe mis yn flaenorol; ond heddyw gorymdeithia i Wyl y Pasg gyda gosgorddlu megis brenhin yn myned i'w goroniad.

cael asynyn, a eisteddodd arno; megis y mae yn ysgrifen-
15 edig, Nac ofna, ferch Sïon: wele, y mae dy Frenhin yn
16 dyfod, yn eistedd ar ebol asyn. Y pethau hyn ni wybu ei

---

**ADN. 14. A'r Iesu, wedi cael asynyn, a eisteddodd arno.** Y mae y gair "cael" (*eurōn*—yr un ag *eureka* Archimedes) yn rhagdybied chwilio, ac felly y darllenwn (Matt. xxi. 7; Marc xi. 1—7; Luc xix. 30—37). "Asynyn," h.y. ebol heb eto adael ei fam; ac felly crybwylla yr efengylwyr eraill yr ebol a'r asen gyda'u gilydd. "Ebol," ebe Luc, "ar yr hwn nid eisteddodd neb erioed." Yn eu brwdaniaeth taflodd rhai o'r dyrfa eu dillad arno i wasanaethu yn lle cyfrwy. Ond pa fodd y daeth ebol heb erioed ei dori i mewn i'r iau i gario yr Iesu mor ddiddig a dyogel? Yr unig eglurhad y gallwn ni ei roddi yw fod y byd anifeilaidd yma yn cydnabod ei frenhin. Yn hanes y Temtiad darllenwn fod yr Iesu "yn yr anialwch gyda bwystfilod"; ac arwydda yr arddodair "gyda" (*meta*) ei fod gyda hwynt ar delerau o heddwch, os nad o gyfeillgarwch. Yn mhresenoldeb y dyn perffaith *(ideal)* dychwelodd y byd anifeilaidd i'w gyflwr Paradwysaidd (Gen. i. 29, 30).

**ADN. 15. Megis y mae yn ysgrifenedig, Nac ofna, ferch Sion.** Dyfyniad o Zech. ix. 9, eithr nid yn hollol lythyrenol, yr hyn a brawf mai y gwirionedd, ac nid y brawddegiad, sydd o bwys yn ngolwg ysgrifenwyr y Test. Newydd. "Bydd lawen," meddai Zechariah; "Nac ofna," meddai Ioan. Merch Sion oedd eglwys yr H.D., yr hon oedd a'i chanolbwynt yn mynydd Sion. **Wele, y mae dy Frenhin yn dyfod, yn eistedd ar ebol asyn.** Brenhin yn eistedd ar asyn. Megis mai y balmwydden oedd y pren cenedlaethol, felly yr asyn oedd yr anifail cenedlaethol. Assyria oedd enwog am ei chamelod, yr Aipht am ei meirch, ond Israel am ei hasynod. Am Abraham dywedir ei fod yn gyfoethog mewn "defaid, a gwartheg, ac asynod, a gweision, a morwynion, ac asenod, a chamelod" (Gen. xii. 16), ac aeth i fynu o'r Aipht, gwlad y meirch, heb geffyl yn ei feddiant. Am Jacob hefyd dywedir fod iddo ef "braidd helaeth, a morwynion, a gweision, a chamelod, ac asynod" (Gen. xxx. 43). Y mae absenoldeb meirch o restr eu hanifeiliaid yn dra awgrymiadol. Yn Deut. xvii. 16 gorchymyna yr Arglwydd i Israel i beidio trafnidio mewn meirch: "Nac amlhaed iddo feirch, ac na ddychweled efe y bobl i'r Aipht i amlhau meirch." Yn nghân Deborah, er yr enwir meirch fel yn perthyn i'r gelyn, ni enwir ond asynod—asynod gwynion—fel yn perthyn i Israel (Barn. v.). Y brenhin Solomon, yn ei or-awydd i ragori ar y cenhedloedd amgylchynol mewn rhwysg brenhinol, oedd y cyntaf y mae genym hanes am dano yn cadw meirch yn Israel (1 Bren. iv. 26—28); ac wedi i'r Llys roddi yr esiampl dilynwyd ef yn y trosedd gan fawrion y genedl. Ond cawn Hosea (xiii. 2, 3) yn anog y genedl i gyffesu yr anufudd-dod a deisyf maddeuant: "Cymerwch eiriau gyda chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd: dywedwch wrtho, Maddeu yr holl anwiredd; derbyn ni yn ddaionus; a thalwn i ti loi ein gwefusau. Ni all Assur ein hachub ni; *ni farchogwn ar feirch*." Arwyddlun balchder a thraha oedd y march; arwyddlun gostyngeiddrwydd ac addfwynder oedd yr asyn. Gan hyny, pa arwyddlun cyfaddasach a allesid gael i bortreadu cenedl oedd yn dibynu yn hollol am ei mawredd, nid ar ei rhagoriaethau ei hun,

ddisgyblion ef ar y cyntaf: eithr pan ogoneddwyd yr Iesu,
yna y cofiasant fod y pethau hyn yn ysgrifenedig am dano,
ac iddynt wneuthur hyn iddo. Tystiolaethodd gan hynny 17
y dyrfa, yr hon oedd gyd âg ef pan alwodd efe Lazarus o'r
bedd, a'i godi ef o feirw. Am hyn y daeth y dyrfa hefyd i 18
gyfarfod âg ef, am glywed o honynt iddo wneuthur yr
arwydd hon. Y Phariseaid gan hynny a ddywedasant yn 19
eu plith eu hunain, A welwch chwi nad ydych yn tycio
dim? wele, fe aeth y byd ar ei ol ef.

---

ond ar râs ei Duw? Yn unol a gorchymyn Duw i Israel, ac â thraddodiad y genedl rhagfynegir am y Brenhin Messianaidd: "Wele, ferch Sion, y mae dy frenhin yn dyfod"—yn eistedd ar farch? Nage; brenhin Sion yn eistedd ar asyn, yr anifail cenedlaethol, arwyddlun o addfwynder a gostyngeiddrwydd. Yn gyson a hyn cawn fod y cenhedloedd amgylchynol yn cysylltu Israel a'r Asyn a'u gilydd—edrychent ar yr Asyn fel eilun ei Duw; a hyny sydd yn cyfrif am y cyhuddiad a ddygid yn erbyn Cristionogion boreuol eu bod yn addoli Asyn,—wedi deillio o'r genedl ag oedd yr Asyn yn arwyddlun iddi.

ADN. 16. **Y pethau hyn ni wybu ei ddysgyblion Ef ar y cyntaf.** Cyflawnwyd y brophwydoliaeth, ond heb yn wybod i'r dysgyblion ar y pryd. **Eithr pan ogoneddwyd yr Iesu**—trwy ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad i'r nef. **Yna y cofiasant fod y pethau hyn yn ysgrifenedig am dano, ac iddynt wneuthur hyn iddo.** Cyflawniad o'r addewid yn xiv. 26.

ADN. 17. **Y dyrfa, gan hyny, yr hon oedd gydag Ef pan alwodd Efe Lazarus o'r bedd ac y cyfododd ef o feirw, a ddwg dystiolaeth.** Y mae tyrfa Bethania yma yn adrodd yr hanes wrth dyrfa Jerusalem—y mae siarad mawr yn myned yn mlaen.

ADN. 18. **Am hyn y daeth y dyrfa hefyd i gyfarfod âg ef, am glywed o honynt iddo wneuthur yr arwydd hon.** "Hon" yn bwysleisiol. Priodola y bobl ac Ioan bwysigrwydd mawr i'r arwydd *hon*; adgyfodiad Lazarus oedd uchafnod y gwyrthiau.

ADN. 19. **Y Phariseaid gan hyny a ddywedasant yn eu plith eu hunain.** Cred Chrysostom a Theophylact mai cyfeillion yr Iesu yw y Phariseaid hyn; ond cred Calfin, gyda mwy o reswm, mai ei elynion ydynt. Siarad *private* yn eu plith eu hunain, o bosibl. **A welwch chwi nad ydych yn tycio dim?** Siaradant yn yr ail berson fel ag i daflu y cyfrifoldeb ar eu gilydd. **Wele, fe aeth y byd ar ei ol Ef.** Gormodiaith, ebe yr esbonwyr. Hwyrach: ond y mae yn amlwg fod corph y cyhoedd am restru dan faner yr Iesu. Yr oedd y cyffro yn fawr ryfeddol. "Aeth y byd ar ei ol Ef." "Do, fe aeth," meddai yr Esgob How; "ac ä y byd yn awr ar ei ol Ef mor bell ag y mae cario palmwydd a chroch-lefain Hosanna yn myned. Ond pa bryd yr ä calon y byd ar ei ol?"

20 Ac yr oedd rhai Groegiaid ym mhlith y rhai a ddaethent
21 i fynu i addoli ar yr wyl: Y rhai hyn gan hynny a ddaeth-
ant at Phylip, yr hwn oedd o Bethsaida yn Galilea, ac a
ddymunasant, gan ddywedyd, Syr, ni a ewyllysiem weled

---

### YR YMDDIDDAN A'R GROEGIAID. ADN. 20—36.

**ADN. 20. Ac yr oedd rhai Groegiaid.** *Hellēnes* yw y gair gwreiddiol ac yn dynodi Groegiaid o ran gwaed yn gystal a thafodiaith, tra mai *Hellēnistai* yw yr enw ar yr Iuddewon Groegaidd—Iuddewon o ran gwaed ond Groegiaid o ran ia th. **Ymhlith y rhai a arferent ddyfod i fynu ar yr ŵyl.** Dyna oedd eu harfer, yr hyn a brawf eu bod yn broselytiaid, ond fel y dengys cwrs yr hanes Proselytiaid y Porth. Dywedir fod tair gradd o Roegiaid crefyddol. (1) Y rhai oeddynt wedi troi eu cefnau yn hollol ar baganiaeth, a mabwysiadu Iuddewiaeth yn ei chyfanrwydd, gan ddyfod yn aelodau o'r genedl Iuddewig trwy enwaed-iad. Dyma y dosbarth a adnabyddid fel Proselytiaid Cyfiawnder. (2) Y rhai oeddynt wedi gwadu yr eilunod, derbyn undduwiaeth, rhoddi ufudd-dod i'r saith gorchymyn a briodolid i Noah, ond heb ymrestru trwy enwaediad yn y genedl Iuddewig. Dyma y dosbarth a elwid yn Broselytiaid y Porth. (3) Y rhai oeddynt heb ymwrthod ag eilunaddol-iaeth eu cenedl eu hunain ond a barchent grefyddau cenhedloedd eraill. Ymwelai y rhai hyn a Delphi i dalu gwarogaeth i Apollo; a Rhufain i dalu anrhydedd i Jupiter; ag Ephesus i addoli Diana; ac a Jerusalem i ddangos eu parch i'r Jehofah. Perthyn i'r ail ddosbarth yr oedd Groeg-iaid yr adnod hon.

**ADN. 21. Y rhai hyn, gan hyny, a ddaethant at Phylip, yr hwn oedd o Bethsaida yn Galilea.** Paham at Phylip? (1) Y mae yn bosibl mai damwain hollol ydoedd—efe, ac nid un dysgybl arall, a gyfarfyddasant gyntaf. (2) Gan mai efe ac Andreas yw yr unig ddau o'r dysgyblion ag y mae enwau Groegaidd arnynt, y mae y casgliad yn deg fod rhyw gysylltiad agosach rhyngddynt hwy a'r Groegiaid yn y gorphenol nag oedd rhwng y lleill a hwynt—hwyrach y medrent siarad yr iaith Roeg. (3) Ond braidd na feddyliem fod yr ail grybwylliad o gartref genedigol Phylip yn awgrymu y rheswm, mai Groegiaid o gymydogaeth Môr Tiberias oeddynt, gan y gwyddis fod llawer wedi ymsefydlu yno. Paham yr ail ddywedir yma fod Phylip o Bethsaida yn Galilea, gan i'r un ffaith gael ei chofHau yn i. 44, os nid i awgrymu mai trwy Bethsaida yr oedd y cysylltiad rhyngddynt? "Galilea y Cenhedloedd" y gelwid y dalaeth, oherwydd lluosogrwydd y Groegiaid a'r Rhufeiniaid a drigent ynddi. **Ac a ddymunasant arno, gan ddywedyd, Syr.** Un o nod-weddion arbenig y Groegiaid oedd eu moesgarwch,—yma cydnabyddant hyd yn nod y dysgybl fel Syr neu Arglwydd, prawf y coleddant syniadau uchel iawn am yr Athraw. **Ni a ewyllysiem weled yr Iesu.** Nid gweled ei wedd, oblegid caent gyfle yn feunyddiol i hyny; ond ei weled i gael *interview* ag Ef. Gan na oddefid i Broselytiaid y Porth fyned i mewn i gynteddoedd mwyaf cysegredig y deml, lle y traddodai yr Iesu lawer o'i bregethau, y mae yn bosibl nad oeddynt hwy wedi cael mantais briodol i'w wrando ac i ddeall ei athrawiaeth. Fodd bynag, y mae yn amlwg fod ganddynt faterion pwysig i'w gosod ger ei fron: a ddymunent

yr Iesu. Phylip a ddaeth, ac a ddywedodd i Andreas; a 22
thrachefn Andreas a Phylip a ddywedasant i'r Iesu.
A'r Iesu a attebodd iddynt, gan ddywedyd, Daeth yr awr 23

---

iddo fyned at y Groegiaid a chyhoeddi yn eu plith ei athrawiaethau arddunol am ddyn ac am Dduw? A oes cysylltiad rhwng y Groegiaid hyn, tybed, a'r traddodiad y sonia Eusebius am dano, ddarfod i'r brenhin Agbaris anfon cenhadon at yr Arglwydd Iesu yn ei wahodd i adael Judea lle y camdrinid Ef gan yr Iuddewon a dyfod i drigo yn ei deyrnas ef? Gwyddis fod y traddodiad wedi derbyn cadarnhâd annisgwyliadwy gan ddarganfyddiad diweddar; ac os oes gwirionedd ynddo, rhaid mai tua'r amser hwn y gosodwyd y cais o flaen yr Arglwydd Iesu.

**ADN. 22. Phylip a ddaeth ac a ddywedodd i Andreas.** Cyplysir y ddau hyn yn fynych a'u gilydd. Ond paham yr ymgyhora Phylip ag Andreas? Paham nad aeth ar ei union at yr Iesu? Un cyflym i weled rhwystrau oedd Phylip, ac un llawn mor gyflym i weled y ffordd o honynt oedd Andreas. Hwyrach y cofiai Phylip am y gwaharddiad i "fyned i ffordd y Cenhedloedd," ac am gyffes yr Iesu nad "anfonwyd Ef ond at ddefaid cyfrgolledig ty Israel," ac mewn canlyniad y petrusai ddwyn y Groegiaid i'w bresenoldeb. **A thrachefn Andreas a Phylip a ddywedasant i'r Iesu.** Gyda thlysni mawr y sylwa Stier "fod ymweliad y Groegiaid o'r Gorllewin ar ddiwedd gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu yn cyfateb i ymweliad y Doethion o'r Dwyrain ar ei enedigaeth; daeth y Groegiaid at ei Groes, a'r Doethion at ei Gryd."

**ADN. 23. Yr Iesu a atebodd iddynt.** I bwy? (1) I'r dysgyblion, medd Ewald a Hengstenberg, gan iddo wrthod yr *interview* â'r Groegiaid Ond y mae y dybiaeth iddo nacau cais mor syml oddiwrth flaenffrwyth y byd Cenhedlig yn taraw yn erbyn greddfau crefydd o'n mewn. (2) I'r Groegiaid, medd eraill. Ond y mae cynwys yr anerchiad yn rhwystr anorfod ar ein ffordd i gyfyngu yr ateb iddynt hwy. (3) Credwn gan hyny y cynwysir y dysgyblion a'r Groegiaid. Daeth yr Iesu o bosibl allan o gynteddau Iuddewig y deml i gyntedd y Cenhedloedd, a thraddododd yno yr hyn a goffheir yma. Cwyna y beirniaid nad oes dim yn yr ateb yn uniongyrchol gyfaddas i'r Groegiaid hyn; ond anghofiant mai amcan yr efengylwr yw, nid croniclo pob gair a ddywedodd, ond sicrhau mewn cadwraeth y gwirioneddau ag oedd o fudd a phwysigrwydd cyffredinol. Ofer yn ein bryd ni yw tybiaeth Meyer y bwriadai yr Arglwydd Iesu gyfarch y Groegiaid ar ol yn gyntaf gyfarch y dysgyblion, ond i'r llef annisgwyliadwy o'r nef ddyrysu ei gynllun. **Daeth yr awr.** Nid "yr awr a ddaeth," ond "daeth yr awr"—y ferf yn cymeryd y lle blaenaf yn y frawddeg, a thrwy hyny yn dangos mai arni hi y rhaid i'r pwyslais syrthio. Y mae yr "Awr" yn bresenol yn ei feddwl o ddechreuad ei weinidogaeth (ii. 4; vii. 8); ond o'r diwedd y mae hi wedi dod. Awr *(hora)* yw y gair sydd yn ei osod allan yn ei berthynas â'r cynllun dwyfol, tra mai amser (*kairos*) yw y gair sydd yn ei osod allan yn ei berthynas â chyfleusderau dynol. Daeth yr Awr y penodwyd arni yn yr arfaeth foreu, yr Awr a ragordeiniwyd yn y Dwyfol Gynllun: yr oedd curiad y Groegiaid wrth y drws yn gofyn am dderbyniad i mewn yn brawf eglur iddo fod cloch yr arfaeth yn taraw.

24 y gogonedder Mab y dyn. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi,
Oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear, a marw, hwnnw a
erys yn unig: eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth
25 lawer. Yr hwn sydd yn caru ei einioes, a'i cyll hi; a'r

---

Y mae dyfodiad yr "Awr"—canolbwynt amser a thragwyddoldeb—yn peri cyffro mawr trwy ei holl natur (adn. 27, 28). **Y gogonedder Mab y Dyn.** Yn xi. 2, "fel y gogonedder Mab Duw," h.y. rhoddai adgyfodiad Lazarus gyfle i'w allu bywhaol fel Mab Duw i amlygu hi hun,—nid i ychwanegu dim at yr hyn oedd ynddo o'r blaen, ond i chwyddo syniad eraill am dano; nid i beri dim cyfnewidiad ynddo Ef yn ei sefyllfa yn y byd, ond i ddwyn oddiamgylch gyfnewidiad yn syniad y byd am dano. Yma "gogonedder Mab y Dyn": h.y. yr oedd y gogoneddiad presenol i beri cyfnewidiad ynddo Ef ei hun ac yn ei sefyllfa yn y cread. Mab y Dyn oedd yn ei ddarostyngiad; ond y mae dyfodiad y Groegiaid ato yn arwydd ddigamsyniol fod tymhor y darostyngiad ar derfynu ac amser y derchafiad yn ymyl. Ei ogoneddiad trwy ei dderchafiad (gwel ar iii. 14): ei dderchafiad yn gyntaf i'r Groes; ei dderchafiad yn ail i'r Orsedd; a'i dderchafiad yn drydydd fel canlyniad y ddau flaenorol ar drostan yr Efengyl, yn ngweinidogaeth y Gair. Yr oedd dyfodiad y Groegiaid yn rhagarwyddo y gogoneddiad triphlyg hwn.

**ADN. 24. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Y llw dyblyg yn dangos pwysigrwydd yr egwyddor sydd yn canlyn. **Oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear a marw, efe a erys yn unig, &c.** Arfer yr Iesu wrth ymddiddan âg Iuddewon Jerusalem oedd tynu ei gydmariaethau oddiwrth ddefodau a chysgodau yr Hen Oruchwyliaeth, megis y prawf y penodau blaenorol; ond pan yn pregethu i drigolion disyml Galilea neu yn anerch y proselytiaid Groegaidd—pobl heb fod yn or-hyddysg yn llenyddiaeth yr H. D.—tyna ei gydmariaethau o deyrnas natur. Y mae y gydmariaeth bresenol mor gynefin a hunan-eglur fel nad oedd eisieu ei hegluro i'r Groegiaid hyn yn fwy nag i'r Cymry yn yr oes bresenol—goleuo'r goleuni fuasai hyny. Deddf fawr natur yw fod marw yn amod bywyd; o farw y tardd bywyd, ie, mwy, y mae y bywyd ar ol marw yn gyfoethocach na'r bywyd cyn marw. Moddion lluosogiad a chyfoethogiad bywyd ydyw angeu. Iesu Grist oedd y gronyn gwenith—y gwenithyn llawnaf a gwynaf a welodd y ddaear erioed; ond cydmarol unig ydoedd tra yn y byd hwn. Beth oedd yn angenrheidiol er ei luosogi? Marw: dyna unig amod ei lwyddiant. Pâr dyfodiad y Groegiaid iddo feddwl am y ffrwyth; ac y mae y meddwl am y ffrwyth yn peri iddo feddwl am amod y ffrwyth—marw. Y mae dysgeidiaeth a gweithredoedd Crist yn tra ragori ar eiddo holl ddoethion y byd; eto nid ei ddysgeidiaeth goeth na'i weithredoedd nerthol na'i gymeriad pur yw dirgelwch llwyddiant ei grefydd, ond ei angeu hunan-aberthol. Pan y cwynai athronydd Ffrengig wrth Talleyrand nad oedd y grefydd newydd ag oedd ef wedi ei dyfeisio yn cymeryd, atebwyd ef gan yr hen wladweinydd llygadgraff, "Oh, rhaid i chwi wneyd un peth eto er iddi lwyddo—rhaid i chwi *farw;* hi gymer wedi'n."

**ADN. 25. Yr hwn sydd yn caru ei einioes a'i cyll hi.** "Einioes" *(psuche)*—yr einioes anianol, gan gynwys bywyd y corph yn ei fwyniant

hwn sydd yn casâu ei einioes yn y byd hwn, a'i ceidw hi i
fywyd tragywyddol. Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi: a 26

---

a bywyd yr enaid yn ei bleserau. Cariad at fywyd pleserus a gwageddus, y mae bob amser yn hunan-ddinystriol. Y sawl sydd yn byw i fwyta, y mae yn colli blâs ar y bwyd a'r bywyd; ond yr hwn sydd yn bwyta i fyw, y mae yn cael blâs ar y ddau. Hunan-ymwadiad yw deddf sylfaenol y greadigaeth, am mai y hi yw egwyddor ddyfnaf y Creawdwr. **A'r hwn sydd yn cashâu ei einioes yn y byd hwn, a'i ceidw hi i fywyd tragwyddol.** Nid peidio ei charu yn ormodol ond ei chashâu—teimlad cryf o anfoddogrwydd at ein heinioes ein hunain a pharodrwydd i'w haberthu er mwyn cyrhaedd bywyd uwch. Diwedd einioes fel yna yw "bywyd tragwyddol." Y gair am "einioes" yw *psuche*, bywyd yn yr aber, y bywyd anianol gan gynwys y corph a'r enaid. Y gair am "fywyd" yw *zoe*,—bywyd yn y môr, bywyd yn ei holl ddyfnderoedd. Nid fod y cyntaf yn y *concrete* a'r olaf yn yr *abstract*, fel y traetha lluaws o'r esbonwyr, y mae y ddau yn y *concrete*. Caru yr einioes yw yr aber yn pallu llifo yn y blaen i ffrwythloni tiroedd ar y ddehau a'r aswy, yn dewis yn hytrach ymgroni a byw iddi ei hun—hi gyll ei heinioes, try yr aber yn bwll i ddifyru hwyaid. Cashâu yr einioes yw yr aber yn rhedeg ac yn ffrwythloni y doldir, heb feddwl dim am dani ei hun—hi gaiff ei hunan yn y môr, yr un llun, yr un lliw, a'r un flâs a'r môr. Y mae aber y bywyd personol yn cael ei hunan yn môr y bywyd tragwyddol—sefyllfa uwch o fodolaeth.

**ADN. 26. Os gwasanaetha neb fi, dilyned fi.** Y mae y ddau ragenw yn bwysleisiol; ac o ddarllen felly, eglura y frawddeg ei hun—gwasanaeth i Grist yw efelychiad o Grist. Nid gwasanaethu ychwaith fel caethwas (*doulos*), ond fel gwr rhydd (*diakonos*). Yn yr epistolau geilw Paul ei hun yn gaethwas Iesu Grist—y teimlad o wasanaeth yn sylfaenedig ar rwymedigaeth dufewnol, ond yn ngeiriau Crist ei hun caiff y syniad o ryddid neu ddewisiad le amlycach. "Dilyned fi"—gwnaed fi yn esiampl, sanged yn ol fy nhraed i ar hyd llwybrau hunan-ymwadiad. Cymer hyn yn ganiataol mai Efe sydd yn blaenori o hyd—nid oes neb wedi ei basio Ef yn y grasau Cristionogol. Nid dilyn Newton y mae seryddwyr yr oes hon, y maent wedi myned heibio iddo ef er ys blynyddau lawer. Nid dilyn Kant y mae athronwyr meddyliol presenol Germani, y maent wedi myned mor bell o'i flaen nes yn rhinweddol ei adael ef ar ol. Nid dilyn Bacon y mae gwyddonwyr ein hoes ni, y maent wedi myned mor bell heibio iddo fel mai arweinwyr ydynt, ac nid dilynwyr. Ond am yr Arglwydd Iesu, nid oes neb wedi gallu ei basio ar y ffordd—y mae yn awain y blaen yn yr holl rasau Cristionogol yn niwedd y bedwaredd ganrif ar bymtheg mor wirioneddol ag yn nechreu y ganrif gyntaf. Y dynion mwyaf sanctaidd a duwiolfrydig a welodd y byd erioed, nid ydynt wedi myned heibio iddo mewn un gras—hwy yn arwain ac yntau yn dilyn. Na: Efe sydd yn arwain trwy holl gwrs y canrifoedd, yn blaenori yn mhob gras, a phawb arall yn dilyn o hirbell. Pa fodd y cyfrifir am hyn, un o wyrthiau mwyaf hanesyddiaeth? Un yn byw yn Mhalestina yn agos i ddwy fil o flynyddoedd yn ol, ac yn tra ragori ar holl oreuwyr y byd o'i flaen ac ar ei ol yn mhob gras a enwir yn y nefoedd ac ar y ddaear! Ac y mae blaenoriaeth mewn duwioldeb

lle yr wyf fi, yno y bydd fy ngweinidog hefyd: ac os
27 gwasanaetha neb fi, y Tad a'i hanrhydedda ef. Yr awrhon
y cynhyrfwyd fy enaid: a pha beth a ddywedaf? *O* Dad,

---

neu ddaioni yn anhawddach ac yn annhraethol bwysicach na blaenoriaeth mewn gwybodaeth neu ddysgeidiaeth. Ond pa berthynas oedd rhwng dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu yma a phresenoldeb y Groegiaid? Hunan-haeriad (*self-assertion*) oedd egwyddor sylfaenol y bywyd Groegaidd, yn gymaint felly fel yr ystyrid y gras o ostyngeiddrwydd yn waeledd, ac nid yn rhagoriaeth, mewn cymeriad, ac uchafnod eu gwareiddiad oedd gogoneddiad yr einioes *(psuche)* naturiol, mewn prydferthwch corphorol a choethder meddyliol, dwy nodwedd yn mha rai y safant yn ddihafal hyd heddyw'r dydd. Ond yma dengys yr Arglwydd Iesu mai yr elfen foesol yw yr elfen bwysicaf mewn cymeriad, yr elfen ag oedd yn absenol i raddau helaeth o fywyd Groeg; ac mai egwyddor ganolog y bywyd Cristionogol yw darostyngiad y bywyd corphorol a meddyliol i'r bywyd ysbrydol, nid *self assertion*, ond *self-abnegation*. **A lle yr wyf fi, yno y bydd fy ngweinidog hefyd.** Nid fy nghaethwas, ond fy ngweinidog—gair mwy anrhydeddus. "Lle yr *wyf* fi"—y presenol; "yno y *bydd* fy ngweinidog hefyd"—y dyfodol. Paham y defnyddia yr amser presenol am dano ei hun? Etyb Godet a Winer (*Grammar of New Test.*) mai y presenol am y dyfodol ydyw, a bod yr Iesu yn cyfeirio yn yr amser presenol at ystad ei ogoneddiad yn yr amser dyfodol. Eithr os felly paham y defnyddia yr amser presenol am dano ei hun a'r amser dyfodol am ei weinidog? Paham na ddefnyddia yr amser presenol am y ddau? Ymddengys i ni fod i'r ymadrodd ystyr rhy ddwfn i ramadeg fedru ei esbonio, —y mae y rheswn i'w gael nid mewn gramadeg ond mewn crefydd. "Lle yr *wyf* fi, yno y *bydd* fy ngweinidog hefyd." Nid cyfeiriad at y nefoedd yn gymaint sydd yma, ceir hyny yn y frawddeg nesaf; ond at flaenoriaeth yr Arglwydd Iesu yn llwybr hunan-ymwadiad. Peth i ymgyrhaedd ato ydyw perffeithrwydd hunan-ymwadiad yn hanes y saint bob amser—gras yn y dyfodol i'w sylweddoli yn llawnach lawnach; ond presenol yw bob amser yn hanes yr Iesu—"Lle yr wyf fi." Y mae Efe bob munyd lle y dylasai fod yn llwybr hunan-aberthiad, ond ymdrechu bod yr ydym ni. **Ac os gwasanaetha neb fi, y Tad a'i hanrhydedda ef.** Yma y berfau sydd yn bwysleisiol ac y maent yn tafoli eu gilydd. "Os *gwasanaetha* neb fi, y Tad a'i *hanrhydedda* ef"—maint y gwasanaeth fydd yn mesur maint yr anrhydedd. Bydd ein gradd yn y gogoniant yn cael ei benderfynu gan ein gradd mewn defnyddioldeb yma. "Y Tad a'i hanrhydedda ef," nid a'i gogonedda ef; gogoneddu y Mab, anrhydeddu ei ddilynwyr —megis y mae yn blaenori mewn grâs ar y ddaear, felly y bydd yn blaenori mewn gogoniant yn y nefoedd. Gogoniant i'r Mab—cydstad a'r Tad; anrhydedd i'r saint—adlewyrchiad o ogoniant y Tad a'r Mab."

**ADN. 27. Yr awrhon y cynhyrfwyd fy enaid.** Yn xi. 33 y gair yw "ysbryd" (*pneuma*), yn dynodi rhanau uchaf y meddwl, yma y gair yw "enaid" (*psuche*), yr un â'r einioes yn adn. 25,—eisteddle y teimladau naturiol. Yno "ymgynhyrfu" a wnaeth, yr oedd prif ffynhonell y cynwrf y tu fewn ac megis yn dylifo o'r ewyllys ddwyfol i'r natur ddynol; ond yma ymddengys fod achos y cynhwrf y tu allan—"cynhyrfwyd" nid "ymgynhyrfodd"; yr oedd yn fwy o ddyoddefydd nac o weithred-

gwared fi allan o'r awr hon: eithr o herwydd hyn y

---

ydd. Yr oedd y cyni meddyliol hwn yn ragredegydd i ing yr Ardd, ac ing yr Ardd yn rhagflaenydd i loesion chwerw'r Groes. Yn nghais y Groegiaid gwelai yr Arglwydd Iesu y gogoniant oedd yn ei aros; ond rhyngddo a'r gogoniant gorweddai y Groes, ac yn yr olwg arni cyffrodd ei holl natur. Ond gwyddom am gannoedd o'r merthyron iddynt hwy wynebu yr angeu yn ei ffurfiau hyllaf gyda gwroldeb tawel; paham y gwahaniaeth rhyngddo Ef a hwy? Nid oes ond un eglurhâd—rhaid fod rhyw ofnadwyaeth dychrynllyd yn ei angeu Ef ag oedd yn absenol o'u hangeu hwy. "Cospedigaeth ein heddwch ni roed arno Ef": rhaid oedd i'w farwolaeth Ef fod yn Iawn, ac i fod yn Iawn rhaid fod ynddi ryw ofnadwyaeth na pherthyn i farwolaeth neb arall. **A pha beth a ddywedaf? O Dad, gwared fi allan o'r awr hon.** Y mae yr eglurhâd priodol yma yn dibynu i raddau mawr ar yr atal-nodiad. (1) Mýn Chrysostom, Tholuck, Lange, a Godet, wneuthur y ddwy frawddeg yn ddau ofyniad: "Pa beth a ddywedaf? Ai O Dad, gwared fi allan o'r awr hon?" Dyma y darlleniad minddalenol hefyd yn y Cyf. Diw. Yn ol y darlleniad hwn, yr ystyr yw a ganlyn: terfysgai teimladau naturiol yr Arglwydd Iesu yn yr olwg ar y Groesbren arw, ar yr hon y buasai yn nghrôg mewn dau neu dri diwrnod, gan ei gymhell i dynu yn ol: yr oedd *cross-currents* ei natur megis yn dyrysu ei feddyliau, nes tori o hono allan mewn penbleth. "Pa beth a ddywedaf? A ddywedaf, O Dad, gwared fi allan o'r awr hon? A ddywedaf, Cadw fi rhag yr angeu gwaradwyddus sydd yn fy aros yn niwedd yr wythnos? Na; ni weddiaf fel yna, canys os achubir fi rhaid damnio y byd; buasai gweddi fel yna yn gwrthweithio amcan penaf fy ymgnawdoliad." Nid yw y geni rhyfedd yn y Preseb yn cyrhaedd ei amcan heb y gwaedu rhyfeddach ar y Bryn; nid all yr Ymgnawdoliad gyrhaedd ei amcan ond trwy yr Iawn. Nid ydym ni yn gweled annaturioldeb na diffyg urddas yn yr esboniad hwn fel y proffesa rhai weled; canys, fel y dywed Bengel, nid pa beth a ddewisaf yw y cwestiwn, ond pa beth a ddywedaf? Yr oedd y weddi yn ei rhan orphenol yn cyfodi yn ei enaid yn gyfamserol â'r rhan ddechreuol; ond gan na allasai lefaru y ddwy ran yr un pryd, rhoddodd yn gyntaf fynegiad i weddi ei natur, ac yna i weddi ei ewyllys. Ebe Bengel, —"cydgyfarfyddodd ofn angeu a zel ufudd-dod." (2) Ond y mae mwyafrif y beirniaid yn ffafrio yr atalnodiad arferol yn y Beibl Cymraeg, ac felly mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw. Yn nghroesdyniadau ei natur a'i ewyllys nis gŵyr yn iawn pa fodd i roddi datganiad i'w gymysg-deimladau mewn gweddi—datguddia y cyffro meddyliol ei hun yn y berw geiriol. "Pa beth a ddywedaf? O Dad, gwared fi allan o'r awr hon." Pa beth a olygir wrth weddio am ei wared neu ei "achub allan o'r awr hon?" (*a*) Etyb Alford, Hengstenberg, a Meyer, mai erfyniad am ddihangfa oddiwrth farwolaeth, dymuniad i ochel yr angeu, ei natur gyfansawdd yn nerth ei greddfau cynhenid yn *shrinkio* rhag marwolaeth. Ond cofio fod y natur ddynol yn ei glendid a'i lledneisrwydd yn yr Arglwydd Iesu, ni chanfyddwn ni anmhriodoldeb na phechadurusrwydd yn y dybiaeth hon; ie, po fwyaf y gwrthdarawiad rhwng ei natur sanctaidd Ef a'r angeu gwaradwyddus ar y Pren, mwyaf urddasol a haeddiannol oedd goruchafiaeth foesol ei

28 daethum i'r awr hon. *O* Dad, gogonedda dy enw. Yna

---

ewyllys ar wrthdystiad ei reddfau naturiol. Cyffelyb, gan hyny, yw yr ystyr i weddi Gethsemane, "Os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio." "Gwared fi rhag angeu, achub fi rhag myned i mewn i'r awr ofnadwy hon." (*b*) Dosbarth arall o esbonwyr, gan gynwys Luthardt a Westcott, a ddadleuant, gan mai nid yr arddodair *apo* (rhag neu oddiwrth) a ddefnyddir, ond *ek* (*allan o*), mai nid y meddwl yw, Gwared fi rhag myned i'r awr hon, ond Gwared fi allan o honi ar ol myned iddi. Nid gwared fi rhag angeu, ond gwared fi allan o angeu—dwg fi yn fuddugoliaethus trwy yr Angeu i'r Adgyfodiad a'r Esgyniad; paid a gadael i angeu fy ngorchfygu, ond pâr i mi orchfygu angeu. Daeth yr awr; yr wyf yn myned i mewn i'w thywyllwch dudew mewn ufudd-dod i'th orchymyn di; ymddiriedaf ynot ti i fy nwyn allan yn fuddugoliaethus o honi. Gwna y ddau esboniad synwyr da, ac anhawdd iawn penderfynu rhyngddynt. Y mae ystyr gaeth yr arddodeiriau yn ffafrio y diweddaf; ar y llaw arall, y mae yn dirymu y cysylltair "eithr" (*alla*) yn y frawddeg nesaf. Y mae yr "eithr" yn amlwg yn dwyn i mewn gyferbyniad rhwng y ddwy frawddeg; ond os mabwysiedir esboniad Luthardt a Westcott y mae y cyferbyniad yn cael ei ddiddymu. Oherwydd paham gorfodir ni i roddi y flaenoriaeth i'r eglurhad cyntaf.

**Eithr o achos hyn y daethum i i'r awr hon.** O achos pa beth? Dibyna yr ateb ar yr eglurhad a fabwysiedir o barth i'r brawddegau blaenorol. (1) Os yr esboniad cyntaf a fabwysiedir, mai greddfau pur natur lednais yr Iesu yn ei gwendid dibechod sydd yn gweddio am waredigaeth rhag angeu, yna gwelwn yn y frawddeg hon yr Iesu glân, yr nerth ei ewyllys, yn meistroli ei reddfau. Fel pe dywedasai, Nid oes gochel angeu i fod; oherwydd hyn, sef i ddyoddef marwolaeth, a thrwy ddyoddef marwolaeth i wneuthur Iawn, y gadewais i fy nghartref yn nhragwyddoldeb, y daethum i Fethlehem yn ffurf dyn, ac y cyrhaeddais hyd yma ar fy nhaith bell a blinderus: ust, deimladau, distewch derfysglyd reddfau—i farw y daethum i'r awr hon a marw sydd raid. I yfed y cwpan sydd yn nwylaw yr awr hon y daethum; ac er chwerwed y wermod sydd ynddo, mi a'i hyfaf i'r gwaelod, fel y gellir troi Phiol y Felldith yn Phiol y Fendith. (2) Ond os yr ail esboniad a fabwysiedir, yna y meddwl yw mai i gael ei gynal yn ei ddygn boenau a'i ddwyn allan yn fuddugoliaethwr ar angeu a'r bedd y daeth i'r awr hon. Hwn yw esboniad Westcott, ond perthyn i ni gyfaddef yr ymddengys i ni yn gloff ac anfoddhaol.

**ADN. 28. O Dad, gogonedda dy enw.** Nid, gogonedda dy Hun, canys y mae yn anmhosibl i'r Tad ynddo ei hun fod yn fwy gogoneddus nag ydyw; ond gogonedda dy Enw—Duw yn y datguddiad o hono ei hun i'w greaduriaid. Tra nas gellid gogoneddu person y Tad fel y gellid gogoneddu person y Mab fel yr oedd yn ymgnawdoledig, eto gellid gogoneddu ei Enw fwyfwy yn mhlith dynion trwy roddi datguddiedigaethau helaethach o'i allu, ei wirionedd, a'i ras. Ystyr y weddi, o ganlyniad, yw ar iddo roddi y datguddiedigaethau helaethach hyny yn mherson a gwaith ei Fab. **Yna y daeth llef o'r nef.** Dyma y drydedd waith i lef o'r nef gyfarch yr Iesu: y gyntaf yn ei fedydd; yr ail yn ei weddnewidiad; y drydedd yn awr yn nechreu ei ddyoddefiadau. A

y daeth llef o'r nef, Mi a'*i* gogoneddais, ac a'*i* gogoneddaf
drachefn. Y dyrfa gan hynny, yr hon oedd yn sefyll ac yn 29
clywed, a ddywedodd mai taran oedd: eraill a ddywed-
asant, Angel a lefarodd wrtho. Yr Iesu a attebodd ac a 30

---

phob tro llef allanol ydoedd, llef o'r nef yn disgyn ar y glust, ac nid llef o'r ymwybyddiaeth yn dyrchu i'r glust. **Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn.** "Gogonedda dy Enw," gofyna y Mab, gan roddi pwyslais ar y rhagenw "dy" fel y dengys ei leoliad yn y gwreiddiol. Fel pe dywedasai, Gan nad faint a gostia hyny i mi, gogonedda dy Enw di; af trwy y dwfr a'r tân os bydd i hyny wasanaethu i chwyddo dy glod di. Fel bob amser etyb y Tad weddi ei Fab, "Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn." (1) Dealla rhai y geiriau fel yn cyfeirio at yr holl ddatguddiad a wnaeth Duw o hono ei hun dan yr Hen Oruchwyliaeth i Israel, ac at yr holl ddatguddiad a wna o hono ei hun dan yr Oruchwyliaeth Newydd i'r holl fyd. (2) Ond coeliwn ni mai gwell cyfyngu yr ystyr at y mater sydd yn awr mewn llaw; ac o ganlyniad yr ystyr ydyw fod Duw wedi gogoneddu ei Enw eisoes yn hanes gorphenol yr Arglwydd Iesu, yn ei bregethau, ei wyrthiau, a'i gymeriad; ac y bydd iddo yn y dyddiau nesaf orphen y datguddiad yn ei angeu, ei adgyfodiad, a'i esgyniad—sicrwydd i'r Arglwydd Iesu y gorphenid y gwaith yn ogoneddus, ac yr ai trwy yr "Awr" rhagderfynedig yn fuddugoliaethus.

**ADN. 29. Y dyrfa gan hyny, yr hon oedd yn sefyll ac yn clywed, a ddywedodd mai taran oedd; eraill a ddywedasant, Angel a lefarodd wrtho.** Dengys yr adnod hon, o'i chysylltu â'r adnod flaenorol, dair gradd yn y dealldwriaeth a pha un y clywid y llef o'r nef. (1) Yr Iesu a'i ddysgyblion a glywent eiriau dealladwy yn yr iaith Aramaeg, "Mi a'i gogoneddais ac a'i gogoneddaf drachefn." (2) Eraill a glywent swn geiriau, eithr heb eu deall, ac a gyfrifent am a glywent trwy ddywedyd, "Angel a lefarodd wrtho." Profa hyn y credent yn modolaeth angelion ac mewn cymundeb rhyngddynt a dynion. (3) Ond i fwyafrif y dyrfa swn yn unig ydoedd—"taran": prawf ei fod yn swn cryf ac yn disgyn o'r uchelder. Eglura Godet y tair gradd hyn trwy gydmariaeth gywrain: llefara wr frawddeg mewn llais uchel—i'r anifail gwyllt *swn* yn unig ydyw a dychryna; i'r ci dysgybledig y mae *ystyr* yn y swn ac ufuddha; ond yn y frawddeg cenfydd ei gyd-ddyn swn, ystyr, a meddwl.

Ond pa fodd y mae cyfrif am y tair gradd? Paham na chlywodd pawb y geiriau fel eu gilydd? (1) Ateb yr Esbonwyr Groegaidd yw fod y gwahaniaeth yn yr hyn a glywid yn dibynu ar wahaniaeth yn safleoedd y gwrandawyr ar y pryd. Torodd y llef uwchben y deml; deallodd yr Iesu a'r rhai a safent o'i amgylch y geiriau a leferid. Ond y rhai a safeut encyd i ffwrdd a glywent swn geiriau, ond oherwydd y pellder ni allent ddeall a yngenid. A'r rhai a safent ar gyrau y gynulleidfa a glywent swn yn unig; oherwydd pellder ni chanfyddent aceniad iaith. Ond nis gallwn addef fod yr eglurhâd hwn yn foddhaol. (2) Yr eglurhad diweddar yw fod y ffurf a gymerai y swn ar dympan y glust yn dibynu, nid ar wahaniaethau allanol o gwbl, ond ar wahaniaethau tufewnol, sylfaenedig ar gydymdeimlad neu wrthdarawiad rhwng y gwrandawyr â'r

ddywedodd, Nid o'm hachos i y bu y llef hon, ond o'ch
31 hachos chwi. Yn awr y mae barn y byd hwn: yn awr y

---

ysbrydol a'r dwyfol. Lle yr oedd y cydymdeimlad yn gryf a phendant, megis yr oedd yn yr Iesu a'i ddilynwyr, troai y swn yn eiriau deallgar, megis eu coffheir yn adn. 28. Lle yr oedd y cydymdeimlad yn wanach, ni throai y swn allanol yn eiriau y gellid eu dehongl; ac eto deallent mai nid rhuadau taran oeddynt, ond geiriau yn cael eu hyngan gan fôd rhesymol a meddylgar, megis angel. Ond lle yr oedd gwrthdarawiad pendant i'r ysbrydol a'r dwyfol, ni chlywid amgen swn yn unig—rhu taran. Mewn ategiad i'r ddamcaniaeth hon cyfeirir at yr athrawiaeth Rabbinaidd am y Bath-Kol = Merch y Llais = Yr Adlais, yr hon a ddysgai fod gallu ysbrydol mewn dyn i roddi ystyr ddwyfol i ddigwyddiadau naturiol. Nid dadguddiad uniongyrchol oddiwrth Dduw, ond datguddiad yn yr ail neu y trydydd *remove;* cynheddf arbenig mewn dyn i droi ffaith gyffredinol yn neges neillduol oddiwrth Dduw ato ef ei hun. Gŵyr pob dyn duwiol trwy brofiad am rywbeth cyffelyb. Cred De Wette, ac hyd yn nod esboniwr uniongred fel Hengstenberg, nad oedd yma ddim amgen nag ergyd taran uwchben y deml pan oedd yr Arglwydd Iesu yn gweddio—dim goruwchnaturiol; ac i'r daran ddeffro yr adlais yn ei ymwybyddiaeth ef; ac i'r adlais gyfieithu y daran i eiriau penodol, "Mi a'i gogoneddais, ac a'i gogoneddaf drachefn." (3) Tra y caniatawn fod llawer o wirionedd yn y gosodiad fod sefyllfa foesol y galon yn gynorthwy mawr i ddehongl oraclau Duw, pa un ai mewn llef ai mewn llyfr, nis gallwn mewn un modd ganiatau mai yr ymwybyddiaeth dufewnol sydd yn penderfynu ystyr y datguddiedigaethau dwyfol. Pe felly, pa le y caem safon sefydlog i farnu gwirionedd wrthi? Nid ydym ychwaith yn proffesu y medrwn egluro *processes* dirgelaidd y wyrth hon yn fwy na gwyrthiau eraill; pe gallasem, ni fuasai gwyrth yn wyrth mwyach. Ond gwelwn wyrth gyffelyb ar ddydd y Pentecost, pan y clywai pob dyn yn ei iaith ei hun fawrion weithredoedd Duw (Act. ii. 7, 8); a digwyddiad tebycach fyth yw y llais a gyfarchodd Paul ar ei ffordd i Damascus—iddo ef yn llais dealladwy, eithr i'r rhai oedd gydag ef ond swn yn unig (Act. ix. 4—7).

**ADN. 30. Nid o'm hachos i y bu y llef hon, ond o'ch achos chwi.** O'i achos Ef y daeth y neges neu y genadwri yn adn. 28, i'w galonogi i fyned yn mlaen gyda'i waith; ond o'u hachos hwy y daeth yr atebiad iddo mewn llef geiriau. Yr oedd y Mab ymgnawdoledig mewn cymundeb parhaus â i Dad; gweddiai lawer, a gwyddai y gwrandewid Ef bob amser. Ond ni ddeuai yr atebion iddo mewn geiriau a brawddegau clywadwy o'r tu allan, ond mewn teimladau a meddyliau distaw o'r tu fewn—cai yr ateb nid mewn swn allanol ond mewn ymwybyddiaeth dufewnol. Ond y waith hon daeth yr ateb mewn llef o'r nef, nid er ei fwyn Ef—gallasai Duw ddatguddio ei feddwl iddo Ef yn y ffordd arferol, ond er mwyn y dyrfa, iddynt hwy gael clywed tystiolaeth o'r nef o'i blaid, a thrwy hyny gael eu henill i'w groesawu fel y Messiah (cyd. xi. 42). Pa beth mwy a allesid ei wneuthur nag a wnaed i gario argyhoeddiad o ddwyfoldeb ei anfoniad i gydwybod y genedl?

**ADN. 31. Yn awr y mae barn y byd hwn.** Y mae mynychiad "yn awr" (*nun*) ddwywaith yn yr adnod hon yn dangos pwysigrwydd an-

nrhaethol yr "Awr" yn hanes yr Arglwydd Iesu a hanes y byd; ar y presenol y crogai tynghed y dyfodol. Ond beth yw ystyr y gair barn (*krisis*) yma? (1) Deallir ef gan rai esbonwyr megis Barnes yn gyfystyr â'r gair Saesonaeg *crisis*. Sonir am *grisis* mewn clefyd, yr anhwyldeb wedi cyrhaedd trobwynt, pryd y gorfydd i'r dyoddefydd wella neu waethygu, fyw neu farw. Felly y sonir am *crisis* yn hanes teyrnas,—rhyw un adeg o enbydrwydd digyffelyb, pryd y dibyna llwyddiant neu aflwyddiant dyfodol y genedl ar ei hymddygiad yn yr awr benodedig hono. Tybir mai yn yr un ystyr y defnyddir y gair yma,—y byd wedi cyrhaedd *crisis* ei hanes, ei iachawdwriaeth neu ei ddamnedigaeth yn troi ar yr "Awr" y sonia yr Iesu am dani, Awr ei ing a'i angeu drud. (2) Barna Beza a Chalfin mai ei ystyr yma yw diwygiad (*reformation*)—gosod yn iawn yr hyn oedd o'i le. Yn y Codwm boreu aeth y byd o'i le, ac ai amgylchiadau y byd yn fwy chwithig byth ar ol hyny. Ond cyrhaeddodd o'r diwedd yr Awr i ddwyn trefn i'r annrhefn, i osod y byd yn ei le, trwy daflu allan yr hen dywysog a derchafu Brenhin newydd i'r orsedd yn ei le. A dyna yw gwaith y cyfnod Cristionogol--gosod dynion a'u hamgylchiadau yn eu lle, yn eu perthynas briodol a'u gilydd ac â Duw. "Y rhai sydd yn troi y byd i waered a ddaethant yma hefyd," oblegid trwy ei droi felly y gosodir y gwyneb iawn yn uchaf. Cynwys hyn lawer o gynhyrfiadau a chwildroadau; ond wrth adolygu y pedair canrif ar bymtheg sydd wedi myned heibio, gwelwn yn eglur mai ar y blaen ac ar i fynu y mae y byd yn symud. Yr Arglwydd Iesu yw y gallu pwerus sydd yn effeithio diwygiadau, nid yn unig yn yr eglwys, ond mewn cymdeithas yn gyffredinol. (3) Yr ydym wedi gweled amryfal weithiau yn flaenorol, tra y golyga y gair ynddo ei hun farn ddiduedd, eto fod iddo yn yr efengyl hon gysgod tywyll ac y gogwydda yn ddieithriad i gyfeiriad collfarn,—a rheol ddyogel mewn esboniadaeth yw dal at yr un ystyr, os nad yw y cyd-destyn yn galw am gyfnewidiad. "Yn awr y mae collfarn y byd hwn,"—yn awr yr arddengys y byd, y tu hwnt i bob amheuaeth, am y dwg i amlygrwydd mwy, y drygioni ofnadwy sydd yn llechu yn ei galon. Ar un llaw, gwelwn ddaioni Duw yn amlygu ei hun fwyfwy yn hanes y byd, datguddiedigaethau helaethach o'i ras yn dilyn eu gilydd trwy y canrifoedd; ar y llaw arall, ac yn gyfochrog a dadblygiad daioni Duw, canfyddwn ddadblygiad drygioni dyn; ac ar Galfaria cyrhaeddodd y ddau yn gyfamserol eu llawn addfedrwydd. "Lle yr amlhaodd pechod y rhagor amlhaodd gras"—amlhaodd y ddau yn yr unfan; ac ni chafwyd yn flaenorol, ac ni cheir byth yn rhagor, y fath amlygiadau o ddau *force* mawr y cyfanfyd—daioni y Creawdwr a drygioni y creadur. Fel march porthiannus yn ymbrangcio nes gorbwyso ei hun a syrthio drach ei gefn, felly y byd, yn ei ysbongc ofnadwy at y Groes, a lwyr gollodd ei gydbwysedd—collfarnodd ei hun. Saif byth yn hunan-gondemniedig, ac euogrwydd trychineb duaf hanesyddiaeth yn cnoi ei gydwybod; ie, nis gall dychymyg bortreadu pechod mwy ysgeler. Y Groes yw maenprawf gras Creawdwr a phechod creadur. Beth yw ein hagwedd at y Groes? yw y cwestiwn sydd yn penderfynu ein cyflwr yn bresenol. "Yn awr y mae barn y byd hwn"—barn heb y fanod o'i blaen i ddynodi y farn sydd yn cymeryd lle yn awr; ond ar ol barn heb y fanod fe ddaw barn gyda y fanod—y farn, y farn ddiweddaf; ac ar ein hateb i'r gofyniad, Beth yw ein hagwedd tuagat y Groes? y dibyna ein tynghed yn y ddwy farn.

32 bwrir allan dywysog y byd hwn. A minnau, os dyrchefir

---

**Yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn.** Pwy a feddylir wrth "dywysog y byd hwn"? (1) Dysgai yr athroniaeth Gnosticaidd mai nid y Duw tragwyddol a goruchaf a greodd y blaned hon, ond rhyw angel neu "*eon*" anufudd a'i creodd i'w amcanion iselwael ei hun. Tybia yr esbonwyr sydd yn priodoli yr efengyl hon i ffynhonellau Gnosticaidd mai y diafl bychan drygionus hwn a gyfenwir yma yn "dywysog y byd hwn." Anhawdd, fodd bynag, i ni gredu yn niffuantrwydd yr "uwch-feirniaid" hyn. (2) Yn ysgrifeniadau y Rabbiniaid defnyddir yr enw hwn i ddynodi y diafol, yr hwn yn eu duwinyddiaeth hwy a lywodraethai y Cenhedloedd, tra mai y Jehofah oedd eu llywodraethwr hwy. Diau ei fod yn enw adnabyddus ar y diafol yn nuwinyddiaeth Iuddewig yr oes, yr hyn a eglura ddefnyddiad "duw y byd hwn" a "thywysog llywodraeth yr awyr" yn ysgrifeniadau Paul. Rhaid mai yr un ystyr sydd i'r ymadrodd yma, ac yn xiv. 30, a xvi. 11; ond y defnyddir y "byd hwn" yn ei helaethrwydd, gan gynwys Iuddewon yn gystal a'r Cenhedloedd (viii. 40—44). Enillodd y diafol trwy ei gynllwynion lywodraeth ar feddyliau dynion; drygioni oedd yn uchaf a chryfaf yn mhob cylch—personol, teuluol, cymdeithasol, crefyddol, gwladol. Anhawdd i ni sylweddoli mor gwbl annuwiol oedd y byd cyn yr Ymgnawdoliad. Yr oedd gwrthdyniad y Diafol yn gryfach nag atdyniad Duw,—a'r gallu llywodraethol cryfaf wrth reswm oedd y tywysog. "Yn awr y bwrir allan dywysog y byd hwn"—er fod "yn awr" yn y frawddeg hon megis ag yn y frawddeg flaenorol, eto y mae amser y berfau yn newid. Tra y mae barn y byd hwn yn y presenol, y mae bwrw allan dywysog y byd hwn yn y dyfodol—*shall be cast out.* Y mae cyfuniad yr adferf "yn awr" ag amser dyfodol y ferf yn dangos fod y gwaith wedi ei ddechreu yn benderfynol y pryd hwnw ond nid ei orphen—estynai yn mlaen trwy y canrifoedd. Yr oedd dyfarniad y byd yn weithred derfynol—condemniwyd y byd ar y Groes; ond y mae bwrw allan dywysog y byd yn waith parhaol—y mae yn mhellbell o'i orpheniad heddyw. Gwaith graddol ydyw gwrthweithio y dylanwad dieflig ar feddwl y byd a'i adenill yn ol i deyrngarwch i Dduw. Ond "bwrw allan" y diafol—yn mha ystyr? (1) Mewn ystyr gyfreithiol. Nid oedd gan y diafol hawl gyfreithlawn i'r awdurdod a feddai ar feddyliau dynion—trawsfeddiant oedd yr oll; eto rhaid wrth rym cyfraith i'w amddifadu, nid o'i hawl, canys nid oedd ganddo hawl, ond o'i feddiant a'i gospi am ei ladrad. Gall dyn drwy drais neu dwyll gymeryd meddiant o lain o dir, ond rhaid wrth gynghaws cyfreithiol i'w amddifadu o'r meddiant. Ar y Groes cyhoeddwyd dedfryd o gondemniad ar y diafol fel trawsfeddiannydd o'r llywodraeth (Col. ii. 15); dechreuwyd ar unwaith weinyddu y ddedfryd arno, ond nid yw hyd yma wedi ei llwyrgario allan. (2) Mewn ystyr weithredol. Hyd y Croeshoeliad, gan mai y diafol oedd y dylanwad cryfaf yn nghalonau a meddyliau dynion, efe oedd y llywodraethwr, yn eistedd yn nheyrngadair y byd, gan dderbyn gwarogaeth, ie, addoliad plant dynion. Ond trwy y Groes esgynodd Arall i'r orsedd, dechreuodd enill serch dynion oddiwrth yr hen dywysog, a'i sefydlu arno ei hunan. Y mae y gwaith yn parhau i fyned yn mlaen—dynion yn cael eu henill fwyfwy oddiwrth "Allu y

fi oddiar y ddaear, a dynnaf bawb attaf fy hun. (*A* hyn a 33

---

Tywyllwch," a chylch dylanwad y diafol mewn canlyniad yn myned lai-lai. Rhwymwyd yr hen dywysog mewn cadwen, y mae y gadwen o hyd yn cael ei byrhau; yn mhob oedfa tynir hi ddolen yn dynach: a daw y dydd pan y bwrir ef allan, nid yn unig o awdurdod ar y byd, ond o'r byd ei hunan, ac y teyrnasa yr Arglwydd Iesu heb gydymgeisydd (*rival*) iddo yn y nef nac ar y ddaear. (Dat. xix. 6; xx. 1, 2).

**ADN. 32. A minau.** Y "minau" yn bwysleisiol, mewn gwrthgyferbyniad i "dywysog y byd hwn." Caiff yr olaf ei ddiorseddu, ond ni adewir yr orsedd yn wag, esgyna yr Arglwydd Iesu iddi; ac y mae cysylltiad mor agos rhyngddynt fel y dengys y cysylltair *kago* fel y mae llwyddiant y naill yn fesur aflwyddiant y llall. **Os derchefir fi oddiar y ddaear.** (1) Mŷn rhai mai y croeshoeliad sydd yn ei feddwl, ei dderchafiad i'r Groes, yn ol iii. 14. (2) Cred Meyer mai ei Esgyniad a olygir, ei dderchafiad, nid ar y ddaear, ond "allan o'r ddaear" (*ek tēs gēs*)—ei dderchafiad i'r nefoedd. (3) Ond nis gallwn ni lai na theimlo y cynwysir yma y Groes a'r Orsedd; ond tra yn y ddwy adnod arall (iii. 14; viii. 28) lle y defnyddir y gair "derchafu," dechreu y gogoneddiad sydd yn benaf mewn golwg, yma gorpheniad y gogoneddiad fel yr awgrymir gan yr ychwanegiad "allan o'r ddaear." Nid yr Iesu ar y Groes yn unig, na'r Iesu ar yr Orsedd yn unig, sydd yn tynu; ond yr Iesu ar yr Orsedd trwy y Groes. Gofynasom unwaith i Dr. MacGowan, awdwr y llyfr *Christ or Confucius?* pa beth yn ei brofiad helaeth ef fel cenhadwr oedd y gallu cryfaf i dynu y paganiaid at Gristionogaeth, a'i ateb parod oedd "Y Groes." "Nid dysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu," meddai, "canys y mae gan y Chineaid ddoethion enwog eu hunain; nid hyd yn nod ei gymeriad, canys mae ganddynt hwy yr hyn a ystyriant yn seintiau eu hunain; ond pan ofynwyf iddynt, Pa beth sydd wedi enill goruchafiaeth ar eich calon chwi? yr ateb bron yn ddieithriad yw, Y Gwaed, y Gwaed, y Gwaed." Ond beth a feddylir wrth "dynu bawb?" (1) Credai rhai o'r duwinyddion Protestanaidd a Phuritanaidd mai pawb o'r etholedigion a feddylir; ond er y mae athrawiaeth yr etholedigaeth wedi syrthio i anfri, y mae y golygiad hwn wedi ei roddi i fynu yn dra chyffredinol. (2) Chrysostom a Chalfin a ddysgant mai "pawb" yn annibynol ar wahaniaeth cenedlaethol. Saif o flaen yr Arglwydd Iesu yn awr Iuddewon a Groegiaid; hyd yn hyn yr oedd canolfur gwahaniaeth rhyngddynt, mor uchel a llydan fel mai gyda thrafferth y gallodd y Groegiaid ddyfod i'w bresenoldeb o gwbl. Ond gwel yr Iesu y bydd y canolfur wedi ei ddymchwel cyn diwedd yr wythnos, a llen y deml wedi ei rhwygo oddiuchod i waered, ac y dylifa cenhedloedd yn ddiwahaniaeth ato. Y mae hwn yn esboniad da, didrais, ac yn hollol gyfateb i'r amgylchiadau. (3) Duwinyddion yr eglwys Lutheraidd a gymhwysant y geiriau at bawb a glywant yr Efengyl ac a dderbyniant ei galwadau, canys nid tynu trwy orfod (*surein*) ond tynu o fodd (*helkuein*) a olygir. Gwna hyn hefyd synwyr rhagorol, ac y mae yn hollol gyson â ffeithiau hanesyddiaeth. (4) Ond dysga Meyer y dylem gymeryd y gair "pawb" yn ei ystyr lythyrenol hollol, heb dynu dim oddiwrtho, ac felly y rhaghysbysir yma iachawdwriaeth pawb yn ddieithriad. Dyma hefyd yr ystyr y dadleuir drosto gan amddiffynwyr athrawiaeth yr

ddywedodd efe, gan arwyddo o ba angau y byddai farw.)
34 Y dyrfa a attebodd iddo, Ni a glywsom o'r ddeddf, fod
Crist yn aros yn dragywyddol: a pha wedd yr wyt ti yn
dywedyd, fod yn rhaid dyrchafu Mab y dyn? pwy ydyw
35 hwnnw Mab y dyn? Yna yr Iesu a ddywedodd wrthynt,

---

Adferiad Cyffredinol *(Universal Restoration)*. Ond ymddengys i ni fod yr esboniad hwn yn anwybyddu amodau iachawdwriaeth fel eu gosodir allan gan Grist mewn penodau eraill ac yn mharagraph olaf hyd yn nod y benod hon. Yr ail eglurhad uchod a ymddengys i ni y mwyaf naturiol a chydnaws a "chysondeb y ffydd."

**ADN. 33. Hyn a ddywedodd Efe gan arwyddo o ba fath angau y byddai farw.** Nid o ba angau, ond o ba fath angau *(poios)*, sef trwy y derchafiad i'r Groes. Dyma esboniad Ioan ar y "derchafu allan o'r ddaear" yn yr adnod flaenorol. Ond gan y cred Meyer mai cyfeiriad sydd yn y geiriau at yr Esgyniad, ac nid at y Croeshoeliad, maentumia fod esboniad Ioan yn gamsyniol, ac i'w briodoli i'w hoffder gormodol o briodoli ystyr gyfriniol i eiriau penodol, megis y gair "derchafu" yn yr efengyl hon. Ond er ein parch dwfn i Meyer fel esboniwr gramadegol diail, gwell genym ni ddilyn Ioan fel esboniwr ar eiriau yr Arglwydd Iesu. Yr oedd ei angeu yn ei ddull yn gystal ag yn ei ganlyniadau yn meddwl y Ceidwad.

**ADN. 34. Y dyrfa a atebodd iddo.** Prawf adnewyddol o hyfforddiant y werin-bobl yn yr Ysgrythyrau. Nid gwrthddadleu y maent, fel y dysg rhai esbonwyr; ond gofyn yn ddifrifol am eglurhad—pa fodd i gysoni ei ddysgeidiaeth Ef am dano ei hun â dysgeidiaeth yr H.D. am y Messiah? **Ni a glywsom o'r ddeddf fod Crist**—y Messiah—**yn aros yn dragywydd.** Cyfeiriad at Ps. lxxxvi. 36, 37; Ps. cx. 4; Es. ix. 7; Dan. vii. 14, ac adranau cyffelyb. Dysgid yn eglur yn yr H.D. y byddai offeiriadaeth y Messiah yn dragywydd a'i frenhiniaeth heb ddiwedd dyddiau; y casgliad naturiol gan hyny oedd na fyddai y Messiah farw. **A pha wedd yr wyt ti yn dywedyd fod yn rhaid derchafu Mab y Dyn?** Nid yw yr Iesu wedi defnyddio term Mab y Dyn ar ol adn. 23; ond yr oedd yr enw mor fynych ar ei wefusau fel nad oes un anhawsder i gyfrif am yr enw yn ngeneuau y werin. **Pwy ydyw y Mab y Dyn hwnw?** Fel pe y dywedent, Yr ydym yn deall dy fod di yn Fessiah wrth gyfenwi dy hun yn Fab y Dyn; ond lleferi hefyd am ryw Fab y Dyn ag sydd i gael ei dderchafu i'r Groes—pwy yw hwnw? A oes mwy nag un Mab y Dyn? A ydwyt yn dysgu fod mwy nag un Messiah? Methant gysoni ei hawliau fel Messiah a'i haeriadau am ei farwolaeth

**ADN. 35. Yr Iesu gan hyny a ddywedodd wrthynt.** Nid atebodd, ond dywedodd. Ni ddychwel ateb i'w gofyniad; yn hytrach rhydd gynghor ymarferol iddynt. Yn ngwyneb anhawsderau deallol, y ffordd sicraf yw byw i fynu â'r goleuni sydd eisoes yn ein meddiant. Pan y dygid gwrthddadleuon yn mlaen yn erbyn athrawiaeth yr Adgyfodiad Cyffredinol, ar ol ateb un ac arall o honynt, gwaedda yr Apostol yn ddisymwth, "Deffrowch i gyfiawnder, ac na phechwch" (1 Cor. xv. 34),—yr oedd gloewi y natur foesol fel gloewi gwydr, gellid gweled

Etto ychydig ennyd y mae y goleuni gyd â chwi. Rhod-
iwch tra fyddo gennych y goleuni, fel na ddalio y tywyllwch
chwi: a'r hwn sydd yn rhodio mewn tywyllwch, ni ŵyr i
ba le y mae yn myned. Tra fyddo gennych oleuni, 36
credwch yn y goleuni, fel y byddoch blant y goleuni. Hyn
a ddywedodd yr Iesu, ac efe a ymadawodd, ac a ymgudd-
iodd rhagddynt.

Ac er gwneuthur o hono ef gymmaint o arwyddion yn 37
eu gŵydd hwynt, ni chredasant ynddo: Fel y cyflawnid 38

---

gwrthrychau ysbrydol yn gliriach mewn canlyniad. **Eto ychydig enyd y mae y goleuni gyda chwi.** Dim ond am dri neu bedwar diwrnod. Nid oedd amser i goeg-ddadleu, rhaid gweithredu yn ddiatreg neu syrthio i golledigaeth. Nid oedd eu hanwybodaeth am yr hyn oedd dywyll yn eu cyfiawnhau dros wrthod yr hyn oedd eglur—nid oedd eu hanallu hwy i esbonio y prophwydoliaethau am y Messiah yn rheswm dros wrthod goleuni yr Iesu.

**ADN. 36. Hyn a ddywedodd yr Iesu, ac Efe a ymadawodd, ac a ymguddiodd rhagddynt.** Ymguddio rhag ei ddàl ganddynt, medd rhai; ymguddio rhag ei aflonyddu yn mhellach ganddynt, medd eraill. A oedd yr ymguddio yn wyrthiol? Nid oes dim yn yr hanes i'n galluogi i ateb; am hyny, ofer dadl.

ADFYFYRIAD IOAN. ADN. 37—41.

**ADN. 37. Ac er gwneuthur o hono Ef gynifer o arwyddion yn eu gŵydd hwynt.** Tybia rhai mai y digwyddiadau y mae yr awdwr newydd eu hadrodd sydd yn creu ynddo fyfyrdodau y paragraph hwn. Casgla eraill, gan fod gweinidogaeth Crist yn mhlith yr Iuddewon yn terfynu yn y fan hon,—o hyn allan ei ymddiddanion â'i ddysgyblion a goffheir—fod Ioan yma yn adolygu yr holl hanes blaenorol, ac yn rhoddi eglurhâd ar anghrediniaeth y genedl. Gallasai rhai ymresymu, gan fod y genedl a barotodd Duw trwy ddysgyblaeth faith ar gyfer ei ddyfodiad yn ei wrthod, fod hyny yn brawf digonol nad Efe oedd y Messiah. Na, meddai Ioan, y mae y ddwy linell, cymeriad y Messiah ac anghrediniaeth yr Israel, i'w olrhain yn eglur mewn prophwydoliaeth. Digwyddodd yr oll fel y rhag-ddywedwyd gan y prophwydi. "Er gwneuthur o hono Ef gynifer o arwyddion": nid mawredd y gwyrthiau, ond eu nifer, sydd yn benaf mewn golwg yn y gair gwreiddiol (*tosauta*), er nad yw Ioan wedi croniclo hyd yma ond saith o honynt. **Yn eu gŵydd hwynt.** Nid allasai fod twyll, gan fod yr oll yn gyhoeddus, o flaen eu llygaid. **Ni chredasant ynddo.** Gan hyny, nid yw gwyrthiau yn gorfodi ffydd. Nid ar sefyllfa yr *evidences*, ond ar sefyllfa yr ewyllys, y dibyna crediniaeth. "Oni chredant Moses a'r prophwydi, ni chredant chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw." Lle y mae ystyfnigrwydd ewyllys nid yw yn ngallu gwyrthiau, pa mor luosog a phwysig bynag, i gynyrchu argyhoeddiad.

**ADN. 38. Fel y cyflawnid ymadrodd Esaias y prophwyd, yr hwn a ddywedodd efe.** Nid ymadrodd y prophwyd oedd yr achos ag oedd

ymadrodd Esaias y prophwyd, yr hwn a ddywedodd efe,
Arglwydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni? ac i bwy y
39 datguddiwyd braich yr Arglwydd? Am hynny ni allent
40 gredu, oblegid dywedyd o Esaias drachefn, Efe a ddallodd
eu llygaid, ac a galedodd eu calon; fel na welent â'*u*

---

yn cynyrchu eu hanghrediniaeth, ond y rheswm ag oedd yn cyfrif am eu hanghrediniaeth. Neu, yn ngeiriau Chrysostom, "Nid am fod Esaias yn dyweyd yr anghredasant hwy, ond oblegid yr anghredent hwy y dywedodd Esaias." Gwel Ioan y dwyfol gynllun yn y cyfan; nid canlyniad damwain ond canlyniad arfaeth oedd aberth Calfaria (Act. ii. 23). **Arglwydd, pwy a gredodd i'n hymadrodd ni?** Yr ymadrodd a dderbyniasom ni gan Dduw, neu yr ymadrodd a draddodasom ni i'r bobl: ond paham na chynwysir y ddau, gan mai yr ymadrodd a draddodwyd oedd yr ymadrodd a dderbyniwyd? Er fod Esaiah wedi gweinidogaethu yn agos i drigain mlynedd yn Jerusalem, eto bychan oedd y llwyddiant ar ei weinidogaeth. Paham? Ai gwendid yn y pregethau oedd yr achos? Nage; y mae nerth ac arucheledd y pregethau yn synu y byd hyd heddyw. Pa beth ynte oedd achos yr aflwyddiant? Caledwch y gwrandawyr. Nid digon fod bach yn mhregeth y gweinidog, rhaid hefyd fod dolen yn enaid y gwrandawr; rhaid wrth fach a dolen i ddwyn y weinidogaeth a'r gynulleidfa i undeb cryf a bywydol â'u gilydd. **Ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?** Wrth Fraich yr Arglwydd yr ydym i ddeall ei allu. Felly gosodir allan yma y ddwy wedd sydd yn perthyn i wir weinidogaeth—y prophwyd o'r tu allan yn gweithio tuag i fewn trwy gyhoeddiad ffyddlon o'r genadwri a dderbyniodd, a Duw o'r tu fewn yn gweithio tuag allan trwy agor y galon i dderbyn y genadwri yn y cariad o honi. Ac eto, medr dyn trwy rydd-ewyllys wneyd y ddau yn ofer.

**ADN. 39. Am hyny ni allent gredu.** Ni fynent gredu—dyna y dechreu yn ol adn. 37; ni allent gredu—dyna y diwedd yn ol yr adnod hon. Y mae anewyllysgarwch yn tywys i anallu, nid anianyddol, ond moesol (gwel ar ix. 41). "Am yr achos hwn" ni allent gredu. Am ba achos? **Oblegid dywedyd o Esaias drachefn.** Nid oblegid dywediad Esaias, ond oblegid yr egwyddor foesol sydd yn gynwysedig yn ei ddywediad. Daeth egwyddor foesol y llywodraeth ddwyfol i mewn, yr egwyddor sydd yn graddol droi anewyllysgarwch i gredu yn anallu i gredu.

**ADN. 40. Efe a ddallodd eu llygaid ac a galedodd eu calon.** Trwy Esaias a thrwy yr Arglwydd Iesu datguddiodd Duw wirioneddau pwysig i'r byd; yn lle rhoddi derbyniad croesawus, gwrthodid ufudd-dod iddynt gan y bobl. Beth oedd y canlyniad? Y mae yn ddeddf sefydlog yn y byd naturiol a'r byd moesol fod y cynheddfau a gamddefnyddir yn graddol golli eu nerth. Peidied dyn a defnyddio ei freichiau neu ei lygaid, a chyll y naill a'r llall eu gallu; peidied teimlo yn ngwyneb apeliadau cyfreithlon, a chyll y galon ei thynerwch. "Efe a ddallodd eu llygaid ac a galedodd eu calonau"—dyna weithrediad deddf sefydlog y greadigaeth; ac o herwydd mai Duw a sefydlodd y ddeddf, priodolai yr Iuddewon effeithiau anocheladwy y ddeddf i'r Deddf-roddwr. Y mae gwrthodiad cyndyn o'r Efengyl yn cynyrchu annhueddrwydd ychwanegol

llygaid, a deall â'*u* calon, ac ymchwelyd o honynt, ac i mi
eu hiachâu hwynt. Y pethau hyn a ddywedodd Esaias, 41
pan welodd ei ogoniant ef, ac y llefarodd am dano ef.
Er hynny llawer o'r pennaethiaid hefyd a gredasant 42
ynddo; ond oblegid y Phariseaid ni chyffesasant *ef*, rhag
eu bwrw allan o'r synagog: Canys yr oeddynt yn caru 43

---

i'w derbyn. Syniad echrydus i ddynion anghrediniol! Ac nid egwyddor newydd yw hon, datguddiedig yn yr Efengyl, ond egwyddor hên, yr hon oedd o'r dechreuad, ac yn gweithredu yn ddibaid trwy holl gylch y byd moesol. Rhagoriaeth Esaias oedd iddo ef weled y ddeddf a rhoddi datganiad mor glir iddi; cenfydd Ioan yr un ddeddf mewn *full swing* yn oes y Messiah. **Fel na welant â llygaid a deall â chalon, ac ymchwelyd o honynt, ac i mi eu hiachau hwynt.** Y mae yr achos yn troi yn effaith, a'r effaith yn troi yn achos, nes o'r diwedd y sudda dynion i ystad anadferadwy (ix. 16; Rhuf. i. 26, 28).

**ADN. 41. Y pethau hyn a ddywedodd Esaias y prophwyd, oherwydd iddo weled ei ogoniant Ef, ac y llefarodd am dano Ef.** Cyfeiriad at Es. vi. Y mae llawer o'r beirniaid diweddar yn gwadu cymeriad Messianaidd y benod hon yn Esaiah; oblegid mai am ei oes ei hun ac wrth ei genhedlaeth ei hun y llefarai y prophwyd, nis gallant ganiatau fod meddwl dyfnach ynddi. Ond y mae yn amlwg yr edrych Ioan ar y benod fel un Fessianaidd, yn dål cysylltiad agos â gogoniant Crist; ac y mae ei esboniad yn rhagorach, am y gwêl yn ddyfnach i egwyddorion hanesyddiaeth. Pan y gwelodd Esaiah "yr Arglwydd yn eistedd ar orseddfa uchel a derchafedig, a'i odre yn llenwi y deml," gwyddai Ioan mai yr Ail Berson ydoedd, y *Logos* tragwyddol, canys Efe yw cyfrwng ymdangosiad a datguddiad Duw dan bob goruchwyliaeth; pan y gwelodd ei odre yn llenwi y deml, gwyddai Ioan mai Duw iachawdwriaeth oedd yn ymddangos, ac nid Duw Rhagluniaeth, oblegid Duw iachawdwriaeth yw Duw yn ei deml bob amser. Datguddiad o Dduw fel Duw iachawdwriaeth a wrthododd yr Israel yn nyddiau Esaiah; ac oblegid hyny y dallwyd eu llygaid ac y caledwyd eu calonau. Datguddiad o Dduw fel Duw iachawdwriaeth sydd yn yr Efengyl; ond yn gymaint a bod y datguddiad yn amlycach, y mae yr un egwyddor yn gweithredu yn fwy nerthol—y mae y farn yn drymach, y dallineb a'r caledrwydd yn fwy.

**ADN. 42. Er hyny llawer hyd yn nod o'r penaethiaid a gredasant ynddo Ef.** Y penaethiaid, sef aelodau y Sanhedrin. "Er hyny,"—er peth? Er gweithrediad y ddeddf sydd yn caledu dynion anghrediniol. Credasant mai yr Iesu oedd y Messiah. Sylwer mai y ffurf-ymadrodd cryfaf a ddefnyddia Ioan yma,—nid ei gredu Ef, ond credu ynddo Ef. A oedd eu credu yn gadwedigol? Barnwn fod gweddill yr adnod yn ein gorfodi i ateb yn nacäol. Meddent ffydd, eithr nid digon o wroldeb i gyffesu eu ffydd, ac nid yw y ffydd sydd arni gywilydd o honi ei hun yn ffydd sydd yn achub. Cysylltir ffydd a chyffes yn anwahanol oddiwrth eu gilydd yn Matt. x. 32, 33 a Rhuf. x. 9, 10. **Ond oblegid ofn y Phariseaid ni chyffesasant Ef, rhag eu bwrw allan o'r synagog.** Mewn plant a phobl a drigant mewn gororau anghysbell, gall ffydd achub

gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw.
44 A'r Iesu a lefodd ac a ddywedodd, Yr hwn sydd yn credu
ynof fi, nid yw yn credu ynof fi, ond yn yr hwn a'm hanfon-
45 odd i. A'r hwn sydd yn fy ngweled i, sydd yn gweled yr

---

heb gyffes gyfatebol; ond lle y ceir cyfleustra y mae yn ddyledswydd anhebgor ar bob dyn i gyffesu yn gystal a chredu, gan nad faint y penyd. Pa fodd ynte y dylem edrych ar y ffydd hon? Ai fel dynesiad o du y penaethiaid at ffydd achubol yn y Messiah? Nage; ond yma gwelwn anghrediniaeth yn cyrhaedd ei huchafnod—yn argyhoeddiadol fod yr Iesu yn Eneiniog Duw, ac eto yn parhau yn ngwersyll ei elynion! Dyna y llwfrdra moesol mwyaf oedd ddichonadwy, dyna anghrediniaeth wedi ei dihatru o bob rhith o urddas neu barchedigaeth. Argyhoeddiad llwyr mai Efe oedd Anfonedig y Nefoedd atynt, ac eto ei wrthod, ie, ei ladd! Nid anghrediniaeth anwybodaeth ydyw bellach, ond anghrediniaeth gwybodaeth; y natur ddeallol wedi ei llanw a goleuni, ond y natur foesol yn llawn tywyllwch, ie, yn diffodd y goleuni. "Os yw y goleuni sydd ynot yn dywyllwch, pa faint yw y tywyllwch hwnw!"

**ADN. 43. Canys yr oeddynt yn caru gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw.** (Gwel ar v. 44). Gwell oedd ganddynt gadw eu haelodaeth yn y synagog a'r Sanhedrin a cholli Crist na chael Crist a cholli eu haelodaeth. Hunan-barch oedd prif gymhelliad eu bywyd, nid parch i'r gwirionedd ac i Dduw y gwirionedd. Cydsyniasant i ladd yr Iesu er mwyn cadw eu sefyllfaoedd parchus mewn cymdeithas.

ADGRYNHOAD: ADN. 44—50.

**ADN. 44. Yr Iesu a lefodd ac a ddywedodd.** Yr un gair sydd am lefain ag yn vii. 37 (*krago*), ac yn golygu derchafiad y llais mewn cyweirnod uchel. (1) Mỳn yr esbonwyr anghredinìol a lluaws eraill mai adgrynhoad sydd yn y paragraph hwn gan yr efengylwr o ddysgeidiaeth yr Iesu, Ioan yn ffurfio un cyfanwaith o'r gwahanol wirioneddau a draddododd yr Iesu yn y penodau blaenorol. (2) Ond gan y dywed Ioan yn bendant mai "yr Iesu a lefodd ac a ddywedodd," paham y rhaid i esbonwyr amheu ei air? Pa bryd a pha le y llefarodd yr Iesu ni chrybwyllir; ond gan ei fod yn awr yn Jerusalem, ac o fewn deuddydd neu dri i'w farwolaeth, nid anmhosibl y dybiaeth iddo eu llefaru yn y deml tua hwyr y dydd y talodd y Groegiaid ymweliad ag Ef. **Yr hwn sydd yn credu ynof fi, nid yw yn credu ynof fi, ond yn yr hwn am hanfonodd i.** Nid yw yn credu ynof fi fel terfyn, y *terminus ad quem;* ond fel y dywed Petr, "yn credu trwyddo Ef yn Nuw" (1 Petr i. 21). Nid yw yr Iesu byth yn anghofio mai un dan awdurdod ydyw yn ei waith Cyfryngol; ac fel y cyfryw yn ddarostyngedig yn ei berson, ei waith, a'i ddysgeidiaeth i'r Tad.

**ADN. 45. A'r hwn sydd yn fy ngweled i sydd yn gweled yr hwn a'm danfonodd i.** Yn yr adnod flaenorol darostynga ei hun i'r Tad; ond yn yr adnod hon hòna fod ei weled Ef yr un peth a gweled y Tad, fod cyfatebiaeth a chyfartaledd perffaith rhyngddynt. Y mae *equation* anffaeledig rhwng y Mab gweledig a'r Tad anweledig; ac y mae yr *equation* swyddogol yn profi cydraddoldeb hanfodol. Nid gweled a

hwn a'm danfonodd i. Mi a ddaethum yn oleuni i'r byd, 46
fel *y bo i* bob un a'r sydd yn credu ynof fi, nad arhoso yn y
tywyllwch. Ac os clyw neb fy ngeiriau, ac ni chred, myfi 47
nid wyf yn ei farnu ef: canys ni ddaethum i farnu y byd,
eithr i achub y byd. Yr hwn sydd yn fy nirmygu i, ac heb 48
dderbyn fy ngeiriau, y mae iddo un yn ei farnu: y gair a
leferais i, hwnnw a'i barn ef yn y dydd diweddaf. Canys 49
myfi ni leferais o honof fy hun: ond y Tad yr hwn a'm
hanfonodd i, efe a roddes orchymyn i mi, beth a ddywedwn,

---

llygaid y corph a feddylir, ond gweled a llygaid y meddwl *(theorein)*—edrych, a meddwl wrth edrych, nes dirnad y gwirionedd sydd y tu cefn i bob ymddangosiad; ac i'r graddau yr ydym yn dirnad yr Arglwydd Iesu yr ydym yn amgyffred y Duw a'i danfonodd. Nid adnabod y Mab trwy y Tad, ond adnabod y Tad trwy y Mab, yw y drefn ddwyfol.

**ADN. 46. Mi a ddaethum yn oleuni i'r byd.** Nid dyfod i'r byd i gael ei oleuo a wnaeth fel pobl eraill; ond dyfod yma i oleuo. Rhaid, gan hyny, ei fod yn oleuni cyn dyfod yma. **Fel y bo i bob un a'r sydd yn credu ynof fi, nad arhoso yn y tywyllwch.** Nid oedd dyfodiad y goleuni i'r byd yn yr Ymgnawdoliad yn ddigon; rhaid hefyd i ddyn gredu—agor llygaid ei feddwl—er mwyn i'r goleuni ei oleuo ef.

**ADN. 47. Os clyw neb fy ymadroddion i.** Yn y ddwy adnod flaenorol ei berson sydd yn y golwg; yma symuda yn mlaen at ei ymadroddion. Nid y geiriau (*logia*), ond y pethau (*rhemata*)—y gwirioneddau sydd yn gorwedd dan y geiriau a'r ffeithiau sydd yn sail i'r gwirioneddau. **Ac ni chred, myfi nid wyf yn ei farnu ef.** Y "myfi" yn bwysleisiol. Nid Barnwr mohono yn ei ddyfodiad cyntaf, ond Achubwr; ac nid Achubwr mohono yn ei ail ddyfodiad, ond Barnwr.

**ADN. 48. Yr hwn sydd yn fy nirmygu i.** Sỳn yw meddwl fod dynion eto yn y byd yn dirmygu Crist. Nid yn unig dynion fel Voltaire yn ysgrifenu, *Dinystriwch yr Adyn (Crush the Wretch)*, ond dynion fel Judas yn bradychu Mab y dyn a chusan. **Ac heb dderbyn fy ngeiriau.** Nid anhawsder yn y geiriau, ond anmharch i'r Person, yw y rheswm y gwrthyd cynifer ymostwng i'r Efengyl. **Y mae iddo un yn ei farnu.** Er nad wyf fi yn ei farnu, ni ddihanga. **Y gair a leferais i.** Yr holl eiriau fel un cyfanswm. **Hwnw a'i barna ef yn y dydd diweddaf.** "Hwnw" yn bwysleisiol. Y mae y gair yn bod yn awr,—ein hagwedd ni ato a benderfyna ein tynghed yn y dydd diweddaf.

**ADN. 49. Canys myfi ni leferais o honof fy hun.** Y rheswm paham mai y gwirionedd a lefarodd yr Iesu fydd yn barnu dynion yw nad oedd yn llefaru o deimlad hunanol nac i amcanion hunan-geisiol; rhaid felly fod y gwirionedd heb ei ŵyrgamu. **Ond y Tad, yr hwn a'm hanfonodd i, Efe a roddes orchymyn i mi beth a ddywedwn, a pha beth a lefarwn.** Yn x. 18, dywed, "Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad," sef y gorchymyn i farw; yr ydoedd dan rwymedigaeth i Dduw i wneuthur Iawn. Ond yma cyfeira at orchymyn arall, y gorchymyn i ddatguddio Duw, nid rywfodd, ond yn mhob peth yn ol y dwyfol

50 a pha beth a lefarwn. Ac mi a wn fod ei orchymyn ef yn fywyd tragywyddol: am hynny y pethau yr wyf fi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad wrthyf, felly yr wyf yn llefaru.

---

Gynllun. Tra yr oedd y gwirfoddolrwydd mwyaf yn mywyd ac angeu Crist, eto, ar y llaw arall, yr oedd yno y rhwymedigaeth dŷnaf—yr oedd gorchymyn ei Dad fel llathen fesur yn gorwedd ar ei holl hanes. "Beth a ddywedwn, a pha beth a lefarwn." A oes gwahaniaeth? Diau fod. (1) Mŷn rhai fod y frawddeg gyntaf yn cyfeirio at wirioneddau arbenig a draethwyd ganddo, a'r olaf at ei ddysgeidiaeth yn gyffredinol. (2) Cred eraill fod y frawddeg gyntaf yn cyfeirio at y gwirioneddau cyffredinol, fel y maent ynddynt eu hunain, a'r llall at y dull agos ac eglur a ddefnyddiodd i'w datguddio. (3) Cyffelyb, ond mwy eglur a chynwysfawr, yw sylw Theophylact, sef bod y gyntaf yn cyfeirio at y mater a'r ail at y ffurf. Yr oedd holl ddysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu, nid yn ffrwyth digwydd a damwain, ond yn effaith cynllun—yr oedd rhyw ddwyfol orchymyn y tu cefn i'r oll.

**ADN. 50. Ac mi a wn fod ei orchymyn Ef yn fywyd tragwyddol.** Nid y gorchymynion a roddodd Duw i ddynion ar Sinai, ond y gorchymyn arbenig a roddodd i'w Fab yn ei anfoniad i'r byd. Nid gorchymyn i weinyddu barn ydoedd, ond gorchymyn i weinyddu bywyd tragwyddol i bawb sydd yn credu. Ond beth i'r rhai sydd yn anghredu? Marwolaeth dragwyddol. Nerth ergyd y bêl yn erbyn y mur yw mesur y *rebound.* Ac os yw yr Efengyl yn fywyd tragwyddol i'r rhai a'i derbyniant, rhaid ei bod yn angeu tragwyddol i'r sawl a'i gwrthodant. **Am hyny, y pethau yr wyf fi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad wrthyf, felly yr wyf yn llefaru.** "Am hyny"—am y gwerthfawredd anfeidrol a berthyn i'r pethau, am eu bod yn cynwys bywyd tragwyddol, nid wyf yn gŵyro dim oddiwrth y cynllun, ond yn trosglwyddo i'r byd y gwirioneddau o ran mater a ffurf fel y dywedodd y Tad wrthyf. Nid fel y dywed y Tad, ond fel "y dywedodd" y Tad—cyfeiriad at y gyfrinach a fu rhyngddynt cyn yr Ymgnawdoliad. Yn yr adnod hon, ar derfyn ei weinidogaeth gyhoeddus, sicrha ni fod y datguddiad a roddodd i'r byd yn berffaith a hollol, o ran sylwedd ac arddull, mater a ffurf, yr hyn y penderfynodd Duw yn nhragwyddoldeb iddo fod! Mae'r mater yn gyflawn, heb ormodedd na diffyg; ac y mae y ffurf mor ddwyfol awdurdodedig â'r mater. "Y pethau yr wyf fi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad wrthyf, felly yr wyf yn llefaru."

## PENOD XIII.

ACHYN gwyl y pasc, yr Iesu yn gwybod ddyfod ei awr 1
ef i ymadael â'r byd hwn at y Tad, efe yn caru yr

---

### RHAN II.

Y mae yr Efengyl yn y fan hon yn dosbarthu ei hunan yn ddwy ran. Gorphenwyd y rhan gyntaf yn niwedd y benod flaenorol,—terfyn gweinidogaeth yr Iesu yn mhlith y swyddogion crefyddol a elwir yn "Iuddewon," ac yn mhlith y werin-bobl a elwir yn "dyrfa." Mae y bregeth olaf wedi ei thraddodi, a'r apêl olaf wedi ei wneyd. O ddechreu y benod hon, hyd ei diwedd, coffheir yr amlygiadau a wnaeth yr Iesu o hono ei hun yn mhlith ei ddysgyblion, ynghyd a hanes ei farwolaeth a'i adgyfodiad. Tra y mae y rhan gyntaf yn estyn tros dair blynedd, nid yw yr olaf yn cynwys ond digwyddiadau rhyw bedair awr ar hugain, a chau allan ei adgyfodiad. Ei weinidogaeth gyhoeddus yw testyn y deuddeg penod sydd wedi bod dan ein sylw; yn y drydedd benod ar ddeg dechreua ei weinidogaeth anghyoedd.

Drachefn, dosrana ei weinidogaeth anghyoedd ei hun fel y canlyn: (1) dwy weithred i buro y dysgyblion—bwrw allan o'u calonau lefain balchder, a bwrw allan o'u plith y bradychwr (xiii. 1—30); (2) cyfres o anerchiadau i'w cysuro a'u goleuo (xiii. 31—xvi. 33); (3) gweddi yr eiriolaeth (xvii.).

**ADN. 1. Yn awr cyn Gŵyl y Pasg.** A oes gwahaniaeth rhwng y Pasg a Gŵyl y Pasg? (1) Myn rhai fod, ac y dylid edrych ar Wyl y Pasg fel yr un a Gŵyl y Bara Croew (Num. xxviii. 16, 17), yr hon a ddechreuai Nisan 15eg, ddiwrnod ar ol y Pasg priodol. (2) Dâl eraill nad yw y gwahaniaeth hwn yn cael ei gadw i fyny yn yr efengylau. Gogwyddwn ni at y dybiaeth ddiweddaf. Pa faint cyn Gŵyl y Pasg y cymerodd y pethau a adroddir yn y benod hon le nis gellir penderfynu hyd sicrwydd; ond yr argraph a adewir ar y meddwl yw mai hon yw y noson olaf a dreuliodd yr Arglwydd Iesu yn nghymdeithas ei ddysgyblion; ac felly, gan iddo gael ei groeshoelio Dydd Gwener, Nisan 14eg, i'r oll, oddiyma hyd ddiwedd pen. xvii., ddigwydd Nos Iau, Nisan 13eg.

**Yr Iesu, yn gwybod ddyfod ei awr ef i ymadael â'r byd hwn at y Tad.** Yma desgrifir ymwybyddiaeth yr Arglwydd Iesu; ond gan na all neb ddarllen ond ei ymwybyddiaeth ei hun, pa fodd y medrai Ioan ddarlunio ei ymwybyddiaeth Ef? Pryd y cymerodd y digwyddiadau le diau fod Ioan mewn anwybodaeth am y teimladau a ymerfwent yn mynwes yr Athraw. Ond yn ngoleuni y ffeithiau a'r anerchiadau sydd yn dilyn, gallodd Ioan ddarllen gweithrediadau ei galon. Gan nad pa mor annisgwyliadwy oedd y bradychiad a'r angeu i'r Unarddeg, nid oedd ynddynt ddim *surprises* i'r Athraw. Gwyddai fod ei "Awr" Ef i farw wedi dyfod. Tair gwaith cyn hyn dywedodd "na ddaeth ei Awr Ef eto" (ii. 4; vii. 30; viii. 20); ond gwybydd yn bresenol fod yr "Awr" hir ddisgwyliedig wedi dyfod, y bydd cyn pen pedair awr ar hugain yn hoeliedig ar Bren!

eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd y

---

Ond yn ol ei ddull Ef o feddwl a llefaru nid awr ei ddarostyngiad oedd ei farwolaeth, ond awr ei "ogoneddiad"—awr ei "fynediad drosodd" at y Tad. Tybed nad oedd Ioan am gysylltu y Pasg=Pesach=*Pass-over*, a "mynediad drosodd" (*metabainō*) yr Iesu at y Tad? Megis y dywedir yn v. 24 fod y pechadur, wrth gredu, yn "myned drosodd" o farwolaeth i fywyd, felly y dysgir yma fod yr Iesu yn "myned drosodd" o'r byd hwn i'r byd arall—yr un gair yn desgrifio y ddau amgylchiad. **Efe, yn caru ei eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hwynt hyd y diwedd.** Nid y cariad yw hwn ag sydd yn seiliedig ar eu cymeriad hawddgar hwy (*philia*), ond y cariad ag sydd yn tarddu yn gyfangwbl o'i ewyllys da Ef (*agapē*). Nid hwynthwy oedd yn atdynu y cariad, ond Efe, yn anfeidrol-deb ei ras, oedd yn anfon allan ei gariad tuagatynt. Y mae dynodiad amser penodol, fel sydd yn yr adnod hon, yn profi mai nid at y cariad cyson oedd yn ei galon, ond at ei weithrediad eithriadol ac amlygiad neillduol, y cyfeirir. "Efe yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd." Yr "eiddo"—yr un gair ag yn i. 11; ond tra yno y golyga yr Israel, eglwys yr H.D., yma golyga y dysgyblion, eglwys y Test. Newydd. Y mae Israel wedi ei wrthod, y berthynas rhyngddo Ef a hwy wedi ei thori trwy anghrediniaeth; ei "eiddo" yn awr yw y rhai sydd wedi ffurfio perthynas newydd ag Ef trwy ffydd. Carai hwynt bob amser; ond yn awr, ddiwrnod cyn ei ymadawiad o'r byd, ffagla ei gariad, a mỳn fynegiad helaethach na dim a gymerodd le o'r blaen. Fe'u "carodd hyd y diwedd." Ond pa beth yw ystyr y frawddeg "hyd y diwedd"? (1) Dadleua Hengstenberg a Stier mai hyd ddiwedd ei yrfa ddaearol. Ni adawodd i'r ystormydd blinion a'u cyfarfyddasant ar ddiwedd y daith oeri dim ar ei gariad tuagatynt; y gwyntoedd geirwon, yn lle chwythu tân ei gariad allan, a'u chwythasant yn loewach nag o'r blaen. Felly parhad didòr y cariad yw y mater. Ac er gwaethaf haeriad Godet i'r gwrthwyneb, nis gellir gwadu mai dyna yw ystyr yr ymadrodd (*eis telos*) yn Matt. x. 22 a Luc xviii. 5. (2) Ond dealla Meyer a Luthardt ef yn gyfystyr â'r prawf diweddaf o'i gariad, ac yn ddiddadl y mae iddo yr ystyr hwn yn y classuron. Carai hwynt ar hyd y daith; yn awr ar ei diwedd rhydd iddynt amlygiadau terfynol a diamheuol yn y gweithred-oedd a'r geiriau sydd yn canlyn. Felly y meddwl yw, nid parhâd na chynydd y cariad, ond prawf di-droi-yn-ol o hono. (3) Mỳn Godet a Westcott mai y meddwl yw "hyd yr eithaf," ac felly y cyfieithir ef ar ymyl dalen y Cyf. Diw. Dyna ei ystyr, y mae yn amlwg, yn 1 Thess. ii. 16: "canys digofaint Duw a ddaeth arnynt hyd yr eithaf (*eis telos*)." Nid annhebyg yw esboniad Watkins, eithr ar gynseiliau gwahanol. Gwel ef yn yr adnod briod-ddull Hebreig: "gan fendithio y'th fendith-iaf," "gan amlhau y'th amlhaf" (Gen. xxii. 17), lle y gwelir fod yr un gair yn cael ei ddyblu er mwyn cryfder—dwy galon, fel y dywed yr hen ramadegwyr, i'r un frawddeg, ac y mae curiad dwy yn gryfach na churiad un. Felly yma: "Efe, yn caru, a'u carodd hyd y diwedd"—grym anwrthwynebol y cariad. Y diweddaf, yn ein bryd ni, yw yr eglurhâd goreu,—cynwys ynddo ei hun y ddau flaenorol *plus* rhywbeth arall. Efe a'u "carodd hyd yr eithaf"—allasai cariad ddim myned gam yn mhellach; carodd hwy hyd y diben, neu y terfyn, pellaf. All y meddwl ddim dychymygu cariad mwy.

diwedd. Ac wedi darfod swpper, wedi i ddiafol eisoes roi 2

---

Ond pa gysylltiad sydd rhwng dechreu yr adnod a'i diwedd? rhwng gwybodaeth yr Arglwydd Iesu o ddyfodiad ei "Awr" i ymadael â'r byd a'r amlygiadau arbenig hyn o'i gariad at ei eiddo? (1) Tybia Hengstenberg mai y cysylltiad yw, "er ei fod yn gwybod" am ei esgyniad buan o ofidiau y byd hwn i ogoniant y fuchedd dragywyddol, eto parhaodd i garu ei eiddo. Peth cyffredin yn mhlith dynion, ar ol dringo o sefyllfa is i sefyllfa uwch, yw newid gwrthrychau eu serch, anghofiant yr hen gyfeillion a pharchant y rhai newydd; iddynt hwy y mae cyfnewidiad yn eu sefyllfa yn cynwys cyfnewidiad yn eu cariad. Ond am yr Iesu, er y cyfnewidiad anfesurol yn ei sefyllfa, ni chymerodd dim cyfnewidiad le yn ei gariad; os rhywbeth, aeth y tymheredd yn uwch. (2) Diau fod hynyna yn wirionedd, ond barnwn fod gwirionedd dyfnach yn yr adnod. Nid *er* ei fod yn gwybod, ond *am* ei fod yn gwybod, megis y dysga Meyer a Godet, fod awr ei ymadawiad i ogoniant y Tad yn ymyl, carodd ei eiddo hyd yr eithaf, fflamiodd ei serch yn fwy angherddol nag erioed. Dywedir, pan y dynesa awr eu hymddattodiad, fod hyd yn nod cariad rhieni yn llàcio ei afael ar ei "eiddo" yn y byd, teimlant fod eu prif *goncern* yn y byd tragywyddol: ond yn lle llacio, tynhau ei afael yn y byd hwn a wnaeth Mab Duw, teimlai fel pe mai yma y gorweddai ei brif *interest* Ef, byd yr Ymgnawdoliad a'r Iawn; aeth i'r byd arall er mwyn bod mewn sefyllfa fwy manteisiol i weithio y byd yma. Fflamiodd ei gariad erioed yn uwch na disglaeriach nag yn y diwedd—ymddangosai fel pe yn ffaelu caru digon i foddloni aiddgarwch ei ewyllys; tywalltai raiadrau o gariad ar eu penau yn y pum penod hyn—gwnaeth a llefarodd yr oll rhwng y cyfnos a chanol nos nes y synwn na ddiffygiasai ei nerth; a phan na allasai dywallt mwy o gariad i'w eiriau, gwelwn Ef yn y penodau dilynol yn tywallt ei waed yn llif. "Carodd hyd yr eithaf." Penawd gyffredinol yr efengylwr yw yr adnod hon i'r oll sydd yn canlyn: oddiyma yn mlaen rhydd i ni y manylion.

GOLCHI TRAED Y DYSGYBLION. ADN. 2—20.

**ADN. 2. Ac wedi dyfod swper.** Yn y llawysgrifau ceir dau ddarlleniad, yr hyn a achosa ddau gyfieithiad, yr hyn drachefn a bâr dri esboniad. (1) Un yw *deipnou genomenou*, ac a gyfieithir yn y Gymraeg a'r Saesonaeg, "wedi darfod swper." Dyfala Scaliger ac eraill fod gan yr Iuddewon ddau swper noson y Pasg: un yn hollol gyson a threfniadau y gyfraith a thraddodiadau y tadau, a'r llall yn dilyn yn uniongyrchiol—yn fwy cymdeithasol a rhydd na chyfreithiol a seremoniol. Naturiol, gan hyny, i'r rhai sydd yn cydolygu ag ef yw deall cyfeiriad y geiriau hyn at orpheniad y naill, cyn dechreuad y llall. Beth bynag am hynyna, dengys adn. 26, nad oedd y swper neillduol y cyfeirir ato yn yr adran hon ddim wedi darfod. (2) Y llall yw *deipnou ginomenou*, ac a gyfieithir yn y Cyf. Diw. "ac yn ystod swper," neu wedi dechreu swper. Y mae y darlleniad hwn yn cael ei ategu gan adn. 4, ac mewn cysondeb perffaith a'r holl hanes. Dyma y darlleniad a'r cyfieithiad a fabwysiedir gan Westcott. (3) Eraill a fynant gyfieithu *Ac wedi dyfod swper*. Nid wedi darfod swper, ond wedi ei ddyfod, sef cyn dechreu. Gwna hyn yr hanes dilynol yn fwy dealladwy, ac o bosibl,

3 y'nghalon Judas Iscariot, *mab* Simon, ei fradychu ef; Yr

---

pan y cofiom mai dull y Dwyreinwyr oedd bwyta o'r ddysgl â dwylaw noethion, yn fwy naturiol. Gogwyddwn ni i roddi y flaenoriaeth i'r darlleniad hwn: ac os felly, nid ar haner, ond ar ddechreu swper, y golchodd yr Arglwydd Iesu draed ei ddysgyblion. Ond pa swper? (1) Maentumia Meyer, Godet, a Westcott mai swper cyffredin ydoedd, ac nid swper y Pasg, oblegid yn mhlith rhesymau eraill nad yw y fanod o flaen "swper." Ond nis gallwn lai na meddwl, gyda phob dyledus barch i'r awdurdodau uchod, fod sylw Winer (*Grammar of New Test.*) yn atebiad digonol i'w gwrthddadl, sef y gellir gadael allan y fanod, "pryd y mae y cysylltiad yn ei gwneuthur yn eglur y gwrthrych arbenig a olygir." (2) Y mae y cysylltiadau yma yn gwneuthur hyny; gan y sonir am agosrwydd y Pasg, naturiol yw casglu mai swper y Pasg a ddynodir, y swper yn yr oruwchystafell y nos y bradychwyd Ef, yn unol â'r hanes yn Matt. xxvi. 17—20; Marc xiv. 12—17; a Luc xxii. 7—14. Swper arferol y Pasg—yr oen, y dail surion, a'r bara croew; ac wedi gorphen y Swper hwn, perthynol i eglwys yr H. D., sefydlodd Sacrament y Swper i gymeryd ei le yn eglwys y Test. Newydd (gwel xviii. 28). **Wedi i ddiafol eisoes roi yn nghalon Judas Iscariot, mab Simon, i'w fradychu ef.** (1) Darllen y cyfieithiad Lladinaidd, a elwir y *Vulgate*, a dilynir ef gan Meyer, "Wedi i ddiafol eisoes roi yn ei galon (ei hun), fod i Judas Iscariot, mab Simon, ei fradychu Ef." Ond dyfarna Godet ac eraill y darlleniad hwn yn "annyoddefol"; yr oll a ddywedwn ni yw ei fod yn anghyson a dullwedd arferol yr Ysgrythyr Lân. (2) Mabwysiadwn ni yn ddibetrus y darlleniad arferol (cyd. vi. 70 a viii. 44). Yr oedd Judas eisoes wedi llwyr benderfynu bradychu y Ceidwad, ac eisoes wedi cytuno â'r archoffeiriaid am y pris (Matt. xxvi. 14—16). Ond olrheinia Ioan bechod anfad Judas i'w ffynhonell yn y diafol; iddo ef ymddangosai yn bechod rhy ddu ac ysgeler i gael ei darddle yn y natur ddynol. Dilys genym fod eglurhâd yr efengylwr yn gywir. Heb ddadleu yn awr ynghylch personoliaeth y diafol, y mae yn *relief* mawr i gredu nad yn y ddynoliaeth y tarddodd pechod echryslonaf hanesyddiaeth—bradychiad y Tragwyddol Fab gan un o'i ddysgyblion! Arfer Ioan yw olrhain pob effaith, heibio i'r ail achosion, at yr achos cyntaf. Ond paham y sonia yr efengylwr yn y fan hon am Judas o gwbl? Paham nad ysgrifenai yn mlaen gan adael allan y cyfeiriad at y bradychwr, gan yr ymddengys na fuasai hyny yn newid dim ar y synwyr? (1) Barna Meyer mai i ddangos tawelwch meddwl yr Iesu yn ngwyneb y peryglon enbydus a'u cylchynent. Yr oedd Judas fradwr yn bresenol, ac eto yr Iesu yn addfwyn a gostyngedig. (2) Crêd Godet mai i gyfrif am y cyfeiriadau mynych at y bradychwr yn yr anerchiadau sydd yn dilyn. Cyfeiria yr Arglwydd Iesu ato amryfal weithiau o'r adnod hon hyd adn. 30: paham? "Am fod y diafol wedi rhoi eisoes yn ei galon i fradychu" yr Athraw, yw ateb Ioan. (3) Chrysostom, Calfin, a Luthardt a dybiant mai i ddangos trwy gyferbyniad fawredd cariad yr Arglwydd Iesu; dangos ar un llaw y pechod hagr oedd yn nghalon Judas, ac ar y llaw arall y gras anfesurol ag oedd yn nghalon y Ceidwad. Dwg i ymyl eu gilydd galon Judas a chalon Crist; calon uffern a chalon nefoedd; calon Duw a chalon Diafol! Y mae y Du yn gwasanaethu i ddangos y Gwyn. Judas eisoes wedi penderfynu bradychu yr Arglwydd Iesu, ac

Iesu yn gwybod roddi o'r Tad bob peth oll yn ei ddwylaw
ef, a'i fod wedi dyfod oddi wrth Dduw, ac yn myned at
Dduw; Efe a gyfododd oddi ar swpper, ac a roes heibio ei 4

---

eto, yn lle ei hyrddio allan fel ysgymunbeth, ymostynga i olchi ei draed ef. O gariad diwaelod! (4) Neu, feallai, y crybwyllir fod Judas eisoes wedi penderfynu ei fradychu er mwyn dangos mai byr oedd yr amser at wasanaeth yr Iesu i orphen datguddiadau ei ras; yr oedd y dâl i gymeryd lle haner nos, a'r lladd cyn pen pedair awr ar hugain, rhaid oedd pentyru y datguddiadau, os oeddynt i gael eu gwneuthur o gwbl.

**ADN. 3. Yr Iesu yn gwybod roddi o'r Tad bob peth oll yn ei law ef.** "Gwybod" *(eidōs)*—gwybod yn sicr a diamheuol: nid casgliad oddiwrth arwyddion bygythiol yr amgylchiadau, ond gwybodaeth drylwyr anffaeledig yn tarddu o ddyfnder gloew ei ymwybyddiaeth. Gwyddai "roddi" o'r Tad—yr amser *aorist;* cyfeiriad, gan hyny, at y drafodaeth rhyngddynt yn nhragwyddoldeb, cyn ei ymgnawdoliad. "Pob peth oll yn ei law Ef." Nid pob peth angenrheidiol i iachawdwriaeth yn unig, ond pob peth creadigaeth, rhagluniaeth, ac iachawdwriaeth; dim un peth y tu allan i gylch ei ddylanwad. "Y mae pob peth sydd mewn bod, dan ei awdurdod Ef." Nid yn awr y cyrhaeddodd am y tro cyntaf wybodaeth o'i berthynasau dwyfol a'i awdurdod diderfyn; ond yn awr y trôdd ei wybodaeth *latent* yn elfen fyw bwerus yn ei ymwybyddiaeth. **A'i fod wedi dyfod oddiwrth Dduw ac yn myned at Dduw.** Y mae y gwreiddiol yn fwy nerthol: "A'i fod oddiwrth Dduw wedi dyfod, ac at Dduw yn myned." Y mae yn ymwybodol o'i darddiad dirgeledig o Dduw yn y gorphenol pell, a'i ddychweliad derchafedig at Dduw yn y dyfodol agos. (Gwel ar viii. 42). Y mae dau ben ei fodolaeth yn sefyll allan yn eglur yn ei feddwl; nid oes haeriad cryfach o'i ddwyfoldeb yn bosibl. "Daeth oddiwrth Dduw, heb ei adael Ef," ebe Bernard, "ac aeth at Dduw, heb ein gadael ni."

**ADN. 4. Efe a gyfododd oddiar swper.** Beth yw cysylltiad yr adnod hon a'r un flaenorol, rhwng golchi traed ei ddysgyblion a'i wybodaeth aruchel? (1) Tholuck, Hengstenberg, a Meyer a atebant mai *er* ei fod yn gwybod, eto Efe a ymostyngodd i gyflawni y weithred isaf. Yr oedd y wybodaeth sicr a feddai o'i hawliau goruchel, ac y byddai yn mhen enyd yn eistedd ar orseddfainge y cread, yn anhawsder ynddo i ymostwng mor isel; ond er yr anhawsder, ymostwng a wnaeth. (2) Ond rhagorach yn ein bryd ni eglurhâd arall,—nid *er* ei fod yn gwybod, ond *am* ei fod yn gwybod, fe ymostyngodd. Yr oedd ei wybodaeth o'i ddwyfol hawliau, yn lle yn rhwystr, yn help iddo,—y mae achos ei ymostyngiad yn ei ymwybyddiaeth o'i ddwyfol fawredd. Dim ond un mor uchel a fedrai ymostwng mor isel; dim ond un mor fawr a fedrai ddyfod mor fach. Nid er ei fod yn anfeidrol fawr, ond am ei fod felly, yr achubodd Efe nyni. Po fwyaf ydyw Duw, goreu i gyd i bechadur; yn ei fawredd y mae achos dechreuol ein hiachawdwriaeth. **Efe a gyfododd oddiar swper.** Yr oedd Efe a'i ddysgyblion wedi ymgynull yn yr oruwchystafell, a Swper y Pasg wedi ei hulio ar y bwrdd isel, tua chwe' modfedd oddiar y llawr, yn nghanol yr ystafell. Lledorweddent hwythau wrth y bwrdd, yn ol yr arfer ddwyreiniol, pob un yn gorphwys

gochl-wisg, ac a gymmerodd dywel, ac a ymwregysodd.
5 Wedi hynny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg, ac a
ddechreuodd olchi traed y disgyblion, a'*u* sychu â'r tywel,

---

ar ei benelin aswy. Y gorchymyn yn Ex. xii. 11 oedd ar iddynt fwyta Swper y Pasg ar eu "sefyll," megys y bwytaodd eu tadau ef yn yr Aipht; ond dywedir fod cyfnewidiad yn amgylchiadau cymdeithasol a dinesig y genedl wedi peri cyfnewidiad yn eu dull o gyfranogi o hono. Yn lle sefyll lledorweddent, yn ol arfer Persia a gwledydd eraill. Yr oedd golchi dwylaw cyn bwyta yn rheol sefydlog yn eu plith, am y rheswm syml yr ymaflent yn eu bwyd a'u dwylaw noethion; ac o ganlyniad nid oedd yr arfer mor afresymol ag yr ymddengys ar yr olwg gyntaf. Ond nid oedd un rheol sefydlog gyda golwg ar olchi traed; eithr os dymunid dangos parch eithriadol, cai y ddefod hon le pwysig, gan yr ychwanegai gryn lawer at gysur yr ymwelwr ar ol ei daith yn y llwch a'r gwres (Gen. xviii. 4; 1 Sam. xxv. 41; Luc vii. 44). Ar yr achlysur presenol yr oedd y gwestywr wedi darpar y cawg a'r dwfr a'r tywel; ond gan y rhaid iddo ef fwyta y Pasg gyda'i deulu yn ol y ddefod adnabyddus, nid allasai fod yn bresenol i olchi traed y dyeithriaid a letyent dan ei gronglwyd; angenrhaid iddynt wneuthur hyny eu hunain, ond pwy a'i gwna? Yr oedd y dysgyblion newydd fod yn dadleu pwy oedd fwyaf (Luc xxii. 24), ac arosai chwerwder y ddadl yn eu meddyliau—ysgorniai pob un y ddyledswydd o olchi traed eu gilydd. Cymerodd pawb ei le wrth y bwrdd. Pan welodd yr Iesu y balchder hwn, "Efe a gyfododd oddiar swper," cyn dechreu bwyta, i gyflawni y gwasanaeth ag oedd y dysgyblion yn rhy hunan-dybus i'w wneuthur. **Ac a roes heibio ei gochl-wisg.** Y gochl uchaf, llac a rhydd, ac ymddangosodd, yn nhafodiaith y Deheudir, yn llewys ei grys, cyflawnodd wasanaeth arferol caethwas! **Ac a gymerodd dywel.** Tywel llian glân, yn fwy o hyd nac o led. **Ac a ymwregysodd.** H.y., rhwymodd y tywel o amgylch ei lwynau.

**ADN. 5. Wedi hyny efe a dywalltodd ddwfr i'r cawg.** Cawg a'r fanod o'i flaen, i ddynodi y cawg adnabyddus arferol. **Ac a ddechreuodd olchi traed y dysgyblion.** Paham y gair "dechreuodd" (*ἤρξατο*), gair na ddefnyddir ef gan Ioan ond yma yn unig? (1) Tybia Meyer na orphenodd yr Iesu olchi eu traed,—dechreuodd, ond oherwydd gwrthdystiad Petr ni orphenodd, ac mai dyna swyddogaeth y gair yn y fan hon. (2) Etyb Hengstenberg fod y gair "dechreu" yn dangos fod ganddo gylch eang i fyned drosto,—nid gwaith bach oedd golchi traed deuddeg heblaw ei hunan. (3) Ond gwel Luthardt y rheswm dros ddefnyddio y gair yn sefyllfa feddyliol y dysgyblion. Pan welsant yr Athraw yn ymgymeryd â'r gorchwyl, llanwyd hwy â braw a rhyfeddod. Synent pa beth oedd ar fedr ei wneyd nesaf; dyfalent o bosibl mai golchi ei draed ei hun oedd ei fwriad; ond er eu syndod, "dechreuodd" olchi eu traed hwy. Golygfa fythgofiadwy! Mab Duw yn natur dyn, wedi ymddyosg o'i wisgoedd uchaf, yn wregysedig â thywel, yn dwyn dwfr mewn cawg, ac yn golchi traed y Deuddeg, y rhai oeddynt yn rhy falch i olchi traed eu gilydd! Nid rhyfedd i'r amgylchiad wneuthur argraph annileadwy ar feddwl Ioan, fel y medrai yn mhen haner cân mlynedd alw i gof yr holl fanylion.

â'r hwn yr oedd efe wedi ei wregysu. Yna y daeth efe at 6
Simon Petr: ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, a wyt
ti yn golchi fy nhraed i? Yr Iesu a attebodd ac a ddywed- 7
odd wrtho, Y peth yr wyf fi yn ei wneuthur, ni wyddost ti
yr awrhon: eithr ti a gei wybod ar ol hyn. Petr a ddywed- 8

---

**ADN. 6. Y mae yn dyfod gan hyny at Simon Petr.** Yr amser presenol sydd yn y gwreiddiol, yn dangos mor fyw oedd yr amgylchiad yn meddwl Ioan; y mae megis yn gweled yr oll y funyd yr oedd yn ysgrifenu. (1) Dysga Chrysostom i'r Arglwydd Iesu ddechreu gyda Judas, a diweddu gyda Phetr. (2) Ar y llaw arall, crêd Awstin iddo ddechreu gyda Phetr,—cyfaddefiad a gymer Bellarmine, fel cynrychiolydd Eglwys Rhufain, afael yn dŷn ynddo, a gesyd ef yn mhlith yr 28 o brofion o uchafiaeth Petr ar ei gyd-ddysgyblion. Dyma hefyd y golygiad a fabwysiedir gan Hengstenberg, Alford, a Westcott. (3) Ond ymddengys i ni nad oes dim yn yr hanes i benderfynu y drefn yn mha un yr eisteddent, ac felly y drefn yn mha un y golchwyd eu traed; ond credwn gyda Bengel, Godet, a Meyer mai yr argraph a edy darlleniad pwyllog o'r hanes ar y meddwl yw, fod yr Iesu wedi dechreu ar y gwaith cyn dyfod o hono at Simon Petr. **Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, a wyt ti yn golchi fy nhraed i?** Y rhagenw pwysleisiol yw "ti," ac nid "i"; pe amgen defnyddiasid *emou* yn lle *mou*. Y mae zel gynhyrfus a natur danllyd Petr yn amlygu ei hun. Tra y gadawodd y lleill i'r Arglwydd Iesu olchi eu traed heb wrthdystiad, er mewn cymaint syndod â Phetr, ni allasai Petr ffrwyno ei deimladau; ac nid yw ei wrthdystiad, ni goeliwn, yn adlewyrchu yn anffafriol arno. Yr un teimlad ag a ffrwydrodd yn Luc v. 8. sydd yn tori allan yma, teimlad cryf o annheilyngdod yn mhresenoldeb yr Iesu gwyn a glân. (Cyd. Matt. iii. 14).

**ADN. 7. Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Y peth yr wyf fi yn ei wneuthur, ni wyddost ti yr awrhon; eithr ti a gei wybod ar ol hyn.** Y mae y ddau ragenw yn bwysleisiol—y "fi" a "thi." Nid yr un gair a ddefnyddir am y ddau wybod yn nau ben yr adnod. "Ni wyddost yr awrhon": y gair yma yw *oidas*, gair sydd yn golygu gwybodaeth wreiddiol, yr hon sydd a'i ffynhonell y tu fewn,—nid oes ynot ti y goleuni angenrheidiol i ddehongl y weithred. "Eithr ti a gei wybod ar ol hyn": y gair yma yw *gnosē*, gair sydd yn golygu cyrhaedd gwybodaeth trwy sylwadaeth ac efrydiaeth, gwybodaeth sydd a'i ffynhonell y tu faes. "Ti a gei wybod ar ol hyn": ar ol peth? (1) Etyb Luther mai ar ol y bywyd presenol, yn y fuchedd dragwyddol. Cynwysa yr eglurhâd hwn wirionedd cysurlawn ryfeddol, gwirionedd y gall holl blant Duw ei gymhwyso, er eu hadgyfnerthiad ysbrydol, at holl dreialon y bywyd hwn. "Pryd hyny daw troion yr yrfa yn felus i lanw ein bryd." (2) Mŷn Meyer a Godet mai ar ol gorphen y golchi, pan y rhydd yr Iesu eglurhâd mewn geiriau ar y weithred sydd yn dyrysu meddyliau y dysgyblion. Yn unol â hyn cyfieithia Godet, "ti a gei wybod yn fuan." (3) Ond cyfynga hynyna y geiriau yn ormodol; a thra yn derbyn yr esboniad blaenorol mor bell ag y mae yn myned, nis gallwn wrthod syniad Westcott mai ar ol y dyoddefaint, na syniad Chrysostom mai ar ol tywalltiad yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost, pryd

odd wrtho, Ni chei di olchi fy nhraed i byth. Yr Iesu
a attebodd iddo, Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyd â
9 myfi. Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid fy
10 nhraed yn unig, eithr *fy* nwylaw a'*m* pen hefyd. Yr Iesu
a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo

---

y ffrydiodd goleuni goruwchnaturiol i feddwl Petr ac y galluogwyd ef i dreiddio trwy y plisgyn allanol at yr ystyr ysbrydol.

**ADN. 8. Petr a ddywedodd wrtho, Ni chei di ddim golchi fy nhraed i byth.** Yn y Saesonaeg y mae dau nacâd yn gyfartal i gadarnhâd—*two negatives make a positive ;* ond yn y Groeg, fel yn y Gymraeg, y mae dau nacâd, nid yn lladd, ond yn cryfhau eu gilydd. "Ni chei di ddim golchi fy nhraed i byth"—arddull anarferol gref o wrthod. Yma, o ganlyniad, y mae ei wrthdystiad wedi trawsffurfio yn gyndynrwydd ;—gwir ostyngeiddrwydd yw yr hwn sydd yn ufuddhau, nid yr hwn sydd yn ystyfnigo. Gorwedd balchder a hunan-ewyllys yn aml dan ymddygiadau a ymddangosant o'r tu allan yn llawn gostyngeiddrwydd. **Yr Iesu a atebodd iddo, Oni olchaf di.** Nid oni olchaf dy draed di, ond oni olchaf di. Llithra yr Iesu fel arferol o'r naturiol i'r ysbrydol. **Nid oes i ti gyfran gyda myfi.** Beth a olygir wrth fod heb y "gyfran"? (1) Etyb Bengel a De Wette mai bod heb gyfranogi yn addfwynder a gostyngeiddrwydd yr Athraw. (2) Tholuck a Meyer a farnant mai bod heb ran yn yr iachawdwriaeth. (3) Westcott mai heb gyfran yn nheyrnas a gogoniant Crist. (4) Ond gwell genym ni beidio disgyn i fanylion. Yr oedd yr ysbryd ystyfnig a ddangosai Petr, er yn dechreu mewn teimlad o annheilyngdod, mor anghydnaws ag ysbryd Crist, fel nad oedd i'r naill gymdeithas a'r llall—perthynent i ddau gylch gwahanol o foesoldeb, un i gylch hunan-ewyllys, a'r llall i gylch hunan-ymwadiad.

**ADN. 9. Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, nid fy nhraed yn unig, eithr fy nwylaw a'm pen hefyd.** Simon Petr ydyw ef o hyd, yn meddu *swing y pendulum* o un eithafion i'r llall. Fel pe y dywedasai : Arglwydd mawr, os fel yna y mae hi gwna â fi fel y mynost ; os dyna yr amod i aros yn dy gymdeithas, golch fi i gyd ; parch i ti a fwriadwn,—os gwthiais fy mharch i diriogaeth anmharch, maddeu, dy ewyllys di fyddo yn uchaf.

**ADN. 10. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed.** Defnyddir dau air yn y paragraph hwn am olchi. Un yw *niptein*—golchi rhan o'r corph, megis y dwylaw neu y traed, a dyna y gair a ddefnyddir yn yr hanes hyd yma ; y llall yw *louesthai*—ymolchi, ymdrochi, golchi y corph oll yn y baddon neu y môr, a dyna y gair a ddefnyddir yn yr adnod hon. Y mae y gydmariaeth yn eglur : nid rhaid i'r hwn sydd wedi ymdrochi yn y baddon cyhoeddus yn y dref faddio drachefn ar ei ddyfodiad i'r ty, dim ond golchi ei draed i symud ymaith y llwch a'r graian ag sydd wedi glynu wrthynt. Gorwedd yr anhawsder yn nghymwysiad y gydmariaeth at y credadyn. Beth a olygir wrth y baddio neu y golchi cyntaf? (1) Ateb y rhesymolwyr yw mai dyweyd y mae yr Iesu fod y dysgyblion wedi ymolchi yn y baddon cyhoeddus cyn eistedd wrth y swper, ac o ganlyniad nad oedd angen yn awr ond golchi ymaith y llwch oddiar y traed. (2) Yr ateb

ond golchi *ei* draed, eithr y mae yn lân oll: ac yr ydych
chwi yn lân, eithr nid pawb oll. Canys efe a wyddai pwy 11
a'i bradychai ef: am hynny y dywedodd, Nid ydych chwi

---

eglwysyddol (*ecclesiastical*) yw mai cyfeirio y mae yr Iesu at Sacrament y Bedydd, pryd y golchir ymaith aflendid pechod. Dyna hefyd yn sylweddol yw esboniad Awstin, Origen, Olshausen, Hengstenberg, a Godet. Ond gan na ddarllenwn fod y dysgyblion wedi eu bedyddio âg un bedydd ond yr eiddo Ioan, nis gallwn goledd yr eglurhâd hwn. (3) Oherwydd paham, mwy dewisol genym yr esboniad efengylaidd, sef fod y cyfeiriad, nid at ddefod y Bedydd, ond at y ddau wirionedd mawr a arwyddoceir yn y Bedydd. Beth yw y ddau wirionedd hyny? Y cyntaf yw maddeuant pechodau—golchi ymaith euogrwydd cydwybod. Dan y gydmariaeth o olchi yr edrycha Ioan ar faddeuant gan amlaf. "Gwaed Iesu Grist, ei Fab Ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod" (1 Ioan i. 7),—glanhau, nid trwy y sancteiddhad, ond trwy y cyfiawnhad. Mŷn Luthardt mai y gwirionedd hwn yn unig a olygir. Yr ail yw, "golchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân" (Titus iii. 5), trwy gymundeb â'r Arglwydd Iesu. Dadleua Meyer mai hyn yn unig a olygir—purdeb moesol y sancteiddhad. Ond rhagorach genym ni y golygiad sydd yn cyfuno y ddau, y cyfiawnhad a'r adenedigaeth, dan y gydmariaeth o olchi ymaith bechod. **Eithr y mae yn lân oll.** Oll, oddigerth yr eithriad a nodwyd. Y mae y credadyn wedi ei olchi oddiwrth euogrwydd pechod yn y cyfiawnhad; ac oddiwrth ei lywodraeth yn yr adenedigaeth: nid yw yr hyn sydd yn aros ond bychan mewn cydmariaeth,—dim ond golchi y graian oddiar y traed, sancteiddio rhanau isaf ein natur, y rhai sydd yn gofyn eu mynych olchi oblegid eu bod yn dra thueddol i gymeryd eu llychwino gan yr aflendid sydd yn y byd. Peidiodd pechod yn ei euogrwydd yn y cyfiawnhad, ac yn ei deyrnasiad yn yr adenedigaeth; nid oes yn aros ond ei yru allan o gyrion y natur, ysgubo y llwch. **Ac yr ydych chwi yn lân, eithr nid pawb oll.** Golchodd draed y Deuddeg; ond o honynt hwy yr oedd un yn aflan—heb erioed ei gyfiawnhau na'i aileni. Cyfeiriad at Judas, awgrym iddo y gwyddai yr Athraw ddirgel-feddyliau ei galon. Yr oedd eisieu golchi llwch llygredigaeth o galonau yr Unarddeg, diwreiddio yr hunanoldeb a bârai iddynt gecru am y flaenoriaeth; ond yr oedd y gwaethaf drosodd, yr olchfa fawr a'u rhyddhaodd oddiwrth bechod yn ei euogrwydd ac yn ei deyrnasiad wedi cymeryd lle—yr oll ar ol oedd cael gwaredigaeth o'i bresenoldeb.

**ADN. 11. Canys efe a adwaenai yr hwn oedd yn ei fradychu.** Yr amser presenol, canys yr oedd y bradychu wedi dechreu, er eto heb ei orphen. Yn vi. 71, "ar fedr ei fradychu"—yn y dyfodol; yma, "yn ei fradychu"—yn y presenol; yn xviii. 2, "yr hwn a'i bradychodd Ef"—yn y gorphenol (Iago i. 15). **Oblegid hyny y dywedodd, nid ydych chwi yn lân bawb oll.** Paham y dywedodd hyn yn awr? (1) O bosibl i rybuddio Judas o'i berygl, heb ei enwi yn benodol. (2) Ond yn benaf i barotoi meddyliau y dysgyblion, cyn dyfod o'r trychineb, ac i'w hargyhoeddi mai nid canlyniad damwain oedd yr Iawn, ond effaith bwriad a rhagluniad.

12 yn lân bawb oll. Felly wedi iddo olchi eu traed hwy, a
chymmeryd ei gochl-wisg, efe a eisteddodd drachefn, ac a
ddywedodd wrthynt, A wyddoch chwi pa beth a wnaethum
13 i chwi? Yr ydych chwi yn fy ngalw i, Yr Athraw, a'r
14 Arglwydd: a da y dywedwch; canys *felly* yr ydwyf. Am
hynny os myfi, yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich
traed chwi; chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd;
15 Canys rhoddais esiampl i chwi, fel y gwnelech chwithau

---

ADN. 12. **Felly wedi iddo olchi eu traed hwy, a chymeryd ei gochl-wisg, efe a eisteddodd drachefn.** Cymerodd ei le wrth y ford, ac aed yn mlaen gyda y swper. **Ac a ddywedodd wrthynt, A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?** A yn mlaen i egluro iddynt ystyr y weithred, tŷn allan ei hegwyddor fel y byddai iddynt hwy ddeall (*ginōskete*)—daw y ddirnadaeth iddynt yn raddol o ffynhonell y tu allan iddynt eu hunain.

ADN. 13. **Yr ydych chwi yn fy ngalw i yr Athraw a'r Arglwydd.** Rabbi a Mar: y ddau derm wrth ba rai y galwai yr efrydwyr y proffeswyr yn y Coleg Iuddewig. Cyfeiria y cyntaf at ddysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu, yr hon a alwai am ffydd; a'r ail at ei awdurdod, yr hon a ofynai am ufudd-dod. **A da y dywedwch.** Hawlia y teitlau, nid oes i ffug ostyngeiddrwydd le yn meddwl y Ceidwad. Gwir ostyngeiddrwydd ydyw cydnabod ffeithiau, a chyfaddasu ein hunain i ffeithiau. **Canys yr ydwyf.** H.y. yr ydwyf yn Athraw ac Arglwydd. Ond y mae ffurf noethlwm y frawddeg, heb "felly" o flaen y ferf na gwrthrych ar ei hol, yn dwyn yn ddigamsyniol i'r meddwl yr un ymadrodd mewn cysylltiadau eraill (viii. 58), ac yn awgrymu yr "Ydwyf" mawr tragwyddol. Ai damwain hyn? Nid ydym yn tybied: yr oedd ei ymwybyddiaeth o'i ddwyfol darddiad yn y gorphenol pell, ac o'i ddwyfol dderchafiad yn y dyfodol agos, yn gryf ynddo ar y pryd (adn. 1, 3.)

ADN. 14. **Am hyny, os myfi yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich traed chwi, chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd.** Y mae yma dair llinell gyfochrog yn yr ymresymiad. (1) Os myfi,—yna chwithau. Os myfi yr Arglwydd, yna chwithau y gweision; os myfi yr Athraw, yna chwithau y dysgyblion. (2) Os myfi—eich traed chwi. Os myfi yr Arglwydd a olchais draed y gweision, gall y gweision fforddio i olchi traed eu gilydd. Os myfi yr Athraw a olchais draed y dysgyblion, nid anfri i'r dysgyblion i olchi traed eu gilydd. Os nad oedd yn sarhâd i'r uwchradd, pa fodd y mae yn ddarostyngiad i'r cydradd? (3) Os myfi a olchais eich traed chwi, heb un gorfodaeth arnaf, chwithau a *ddylech* olchi traed eich gilydd. Swydd o râs ydyw ynofi fi, swydd o ddyled ydyw ynoch chwi—*dyled*-swydd.

ADN. 15. **Canys rhoddais esiampl i chwi fel y gwnelech chwithau megis y gwneuthum i chwi.** Tua'r bedwaredd ganrif dechreuwyd dehongl y geiriau hyn yn llythyrenol, edrychid arnynt fel gorchymyn pendant yr Arglwydd Iesu i'r saint i sefydlu defod i olchi traed eu gilydd. Crybwylla Westcott i Gynghor Toledo yn 694 basio penderfyniad i wneyd golchi traed y saint yn rhwymedigaeth ar ddydd Iau cyn Gwener y Groglith,

megis y gwneuthum i chwi. Yn wir, yn wir, meddaf i 16
chwi, Nid yw y gwas yn fwy na'i arglwydd; na'r hwn a
ddanfonwyd yn fwy na'r hwn a'i danfonodd. Os gwyddoch 17
y pethau hyn, gwỳn eich byd os gwnewch hwynt.

---

mewn ufudd-dod, fel y dysgent hwy, i'r adnod hon,—yr un dydd ag y golchodd yr Iesu draed y dysgyblion. Oherwydd paham gelwir ef yn nghalendar yr Eglwys yn *Maundy-Thursday* (Maundy o *mandati dies*, dydd y gorchymyn, y dydd y rhoddwyd y gorchymyn). Yn unol a hyn cawn fod y Pab ar y dydd penodol hwn yn golchi traed deuddeg o dlodion yn flynyddol fel arwydd i'r Eglwys Gatholig o'i ostyngeiddrwydd. Darllenwn i Cardinal Wolsey, yn 1530, olchi traed trigain namyn un o dlodion yn Eglwys Gadeiriol Peterborough. Arferai brenhinoedd Lloegr gadw i fyny y ddefod hyd deyrnasiad Iago II.; ac er nad ydynt mwyach yn llythyrenol gadw y ddefod, eto gwasgarant roddion i'r tlodion ar yr Iau hwn yn Whitehall, ac mor ddiweddar a 1731 golchai yr Arglwydd Elusenwr (*Lord High Almoner*), fel cynrychiolydd y Goron, draed gwrthrychau yr elusen. Priodol sylwi hefyd yr anrhydeddir y ddefod yn mhlith rhai enwadau Ymneillduol, yn enwedig y Morafiaid duwiolfrydig, y rhai a enwant y ddefod yn *pedilavium* (traed-olchiad). Ond pa les cadw i fyny y ddefod, pan y mae ysbryd y ddefod yn eisieu? (2) Anhawdd genym feddwl, fodd bynag, y bwriadai yr Arglwydd Iesu sefydlu defod allanol rhwymedig ar yr eglwys yn mhob oes a gwlad. "Nid yw seremoniau gweigion, heb ystyr ynddynt, ond fel y banerau bychain hyny sydd yn ymdderchafu uwchlaw y dwfr ac yn nodi y lle y mae y llong a'i llwyth cyfoethog wedi suddo." Dengys y gair "megis" (*kathos*) mai at yr egwyddor gorphoredig yn y weithred, yn hytrach na'r weithred ei hunan, yr ewyllysiai yr Iesu gyfeirio ein sylw—y rhwymedigaeth sydd arnom i wasanaethu ein gilydd pa bryd bynag y cawn gyfleustra. Yn lle dadleu pwy sydd fwyaf ac ymryson am y flaenoriaeth, boed i ni feithrin gwarogaeth i'n gilydd, gan dybied ein gilydd yn well na ni ein hunain. Ystyr yr esiampl yw y dylem gario ysbryd y weithred i'n holl gysylltiadau cymdeithasol. Nid gwneuthur yr un peth —buasai rhoddi esgidiau i dlodion yn amgenach gweithred yn ein hinsawdd ni, ond gweithredu yn yr un ysbryd.

**ADN. 16. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, &c.** Dengys y llw dyblyg hwn bwysigrwydd yr egwyddor sydd yn dilyn yn ngweddill yr adnod, yr hyn hefyd a ymddengys oddiwrth y ffaith ei fod o bryd i bryd wedi rhoddi datganiad iddi bedair o weithiau yn flaenorol (Matt. x. 24; Luc vi. 40; Luc xxii. 27; xv. 20).

**ADN. 17. Os gwyddoch y pethau hyn.** Nid "os" o amheuaeth, ond "os" o gadarnhad, ac yn golygu "yn gymaint a'ch bod yn gwybod." **Gwyn eich byd os gwnewch hwynt.** "Gwyn eich byd": yr un gair (*makarios*) ag yn ngwynfyd y Bregeth ar y Mynydd, ac yn dynodi nid y dedwyddwch allanol a osodir allan yn y gair Saesonaeg *happy*, ond y diddanwch tufewnol yr hwn a osodir allan yn y gair *blessed*. Peth yw hapusrwydd ag sydd yn codi o amgylchiadau allanol, y rhai sydd yn llawn cyfnewidioldeb: *hap*-us, trwy hap y daeth a thrwy hap gall fyned ymaith; ond y mae gwynfydedigrwydd a'i waelod yn yr enaid, yn

18 Nid wyf fi yn dywedyd am danoch oll; mi a wn pwy a

---

gwreiddio yn ystâd ysbrydol dyn, ac felly yn angoredig, nid wrth hap neu ddamwain, ond wrth egwyddor sefydlog ac anghyfnewidiol. Nid yw gwybodaeth o'r gwirionedd heb ufudd-dod calonog iddo yn dwyn dedwyddwch, ie, y mae yn chwyddo yr annedwyddwch. Yn mhryddest orchestol prif-fardd Germani mor annedwydd yw y Dr. Faust, er ei wybodaeth ehang a manwl o bron bob canghen o ddysgeidiaeth, gan gynwys duwinyddiaeth. Paham? Am nad oedd ei wybodaeth yn tywys i ufudd-dod. Mewn Cristionogaeth yn arbenig, y "gwneyd" sydd yn dwyn melusder i'r profiad a thawelwch i'r fron. Y bobl ostyngedig sydd yn ddedwydd; surni a nodwedda ddynion uchelgeisiol mewn byd ac eglwys. Yma gesyd yr Arglwydd Iesu i lawr egwyddor sylfaenol y bywyd Cristionogol. Hunan-fawrygiad yw egwyddor sylfaenol pob bywyd pechadurus; hunan-ymostyngiad yw egwyddor sylfaenol y bywyd duwiol. Pwy o holl ddoethion y byd ond Crist a wnaeth ostyngeiddrwydd yn sylfaen bywyd cymdeithasol? Dyma y chwildroad mwyaf mewn gwareiddiad yn hanes y byd.

**ADN. 18. Nid wyf fi yn dywedyd am danoch oll.** (1) Barna Bengel, Stier, Meyer, Alford, a Godet mai cyfeiriad sydd yma at adn. 17: nid wyf yn dywedyd fod y gwynfydedigrwydd hwn yn eiddo i chwi oll, y mae eithriad yn mhlith y Deuddeg. (2) Mŷn Tholuck ac eraill fod y cyfeiriad at adn. 10: Nid wyf yn dywedyd eich bod yn lân oll. (3) Ond rhagorach, ni goeliwn, ydyw y golygiad sydd yn edrych ar yr adnod hon fel symiad i fyny o'r oll sydd yn blaenori, gan gynwys y gwynfydedigrwydd a'r glendid. **Mi a wn pwy a etholais.** I beth? (1) I fywyd tragwyddol, meddai Awstin, ac i raddau Calfin. Ond credwn fod adn. 20 yn profi yn ddiamheuol mai nid am danynt fel personau achubedig y lleferir yma, ond fel personau anfonedig, h.y. yn y swydd apostolaidd. (2) Gan hyny, casglwn mai etholiad i swydd sydd mewn golwg. Nid etholedigaeth sydd yma, ond etholiad. Perthyn etholedigaeth i'r Tad, ond etholiad i'r Mab. "Oni etholais i chwi, y Deuddeg" (vi. 70)? Eithr nid mewn camgymeriad, fel y dadleua yr esbonwyr anghrediniol, ond mewn llawn wybodaeth o gymeriad gwirioneddol pob un: "mi a wn" *(oida)*, mi a wn yn sicr ac anffaeledig, gwyddwn pan yn dewis beth oedd cymeriad pob un, adnabyddwn Judas i waelodion ei fod. "Y *construction* symlaf," meddai Dr. Dodds, "yw, 'ond dewisais Judas fel' *(in order that)*. Gall nad yw hyn yn cynwys i'r Iesu yn *ymwybodol (consciously)* ethol Judas i'r amcan hwn. Ni ddywedir hynyna, ac o braidd y gellir coledd y syniad." Ond dywed yr Iesu ei hun iddo ei ethol i'r swydd mewn llawn wybodaeth; ai nid ydyw dewis mewn llawn wybodaeth yn ddewis mewn llawn ymwybyddiaeth? Tardd esboniad Dr. Dodds o ddymuniad i ochel anhawsder moesol; ond i wneyd hyny rhaid cymeryd yn ganiataol anwybodaeth yr Arglwydd Iesu o ganlyniadau ei weithredoedd ei hun. Rhagorach yn ein bryd ni yw esboniad Alford: "Gellid tybied fod y bradychiad wedi cymeryd lle yn annisgwyliadwy i mi; eithr nid felly ddim—mi a wn pwy a ddewisais (sef yr holl Ddeuddeg, vi. 70, ac nid Unarddeg fel y tybia Stier mewn cyfeiriad at xv. 16), gwnaed hyn trwy ragderfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, yn cael eu hamlygu yn yr Ysgrythyrau." Os felly, paham y

etholais: ond fel y cyflawnid yr ysgrythyr, Yr hwn sydd yn
bwytta bara gyd â mi, a gododd ei sawdl yn fy erbyn.
Yn awr yr wyf yn dywedyd wrthych cyn ei ddyfod, fel pan 19
ddêl, y credoch maï myfi yw *efe*. Yn wir, yn wir, meddaf 20

---

dewiswyd Judas o gwbl? Ceir yr ateb yn y frawddeg nesaf. **Ond fel y cyflawnid yr Ysgrythyr**. Cyfeiriad at Ps. xl. 9. Dewiswyd ef er mwyn cyflawni y brophwydoliaeth, a hyny drachefn am fod y brophwydoliaeth yn amlygiad o'r dwyfol gynllun i achub y byd. Gallasai yr Iesu ddyweyd, "fel y cyflawnid yr arfaeth," ond buasai yn myned i diriogaeth y tu allan i amgyffredion dynion; nis gwyddai ei wrandawyr ddim am yr arfaeth ond a amlinellwyd mewn prophwydoliaeth. Ceir y rheswm am etholiad Judas yn y brophwydoliaeth; ond ceir y rheswm am y brophwydoliaeth yn yr arfaeth. Yma y gorwedd rheswm yr Arglwydd Iesu dros osod Judas mewn swydd y gallai fradychu Mab y Dyn. Cawn yr un ymresymiad yn mhregeth Petr ar ddydd y Pentecost; "Hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch" (Act. ii. 23). Ar un llaw, arfaeth Duw; ar y llaw arall, anwiredd dyn; a'r ddau yn cydsefyll, er nas gallwn ni ddirnad yn llawn eu cysondeb.

**Yr hwn sydd yn bwyta bara gyda mi.** Yn y Salm, "yr hwn sydd yn bwyta fy mara"; ond yma yn gryfach, "bwyta bara gyda mi." Y mae caethwas yn bwyta bara ei feistr; ond cyfaill sydd yn bwyta bara "gyda" y meistr. Yr oedd bwyta bara "gyda'u" gilydd yn y Dwyrain yn arwydd o gyfeillgarwch. **A gododd ei sawdl i'm herbyn.** Cyfeiriad at anifail yn cićio ei berchenog a sawdl ei garn. Dyna bortread cywir o ymddygiad Judas Iscariot at yr Iesu. Ond gwrthddadleuir nad yw y Salm y dyfynir o honi yn Fessianaidd, mai cŵyn Dafydd ydyw oherwydd bradwriaeth Ahitophel (2 Sam. xvii.), neu yn ol eraill cŵyn Jeremiah yn erbyn rhyw gydnabod a wnaeth angharedigrwydd ag ef. Gwir: ond dylid cofio fod hanes yr Israel yn Fessianaidd. Nid gwneyd defnydd annheg o'r Salm y mae yr Arglwydd Iesu, ond tynu allan ei meddwl dyfnaf. Rhyfedd genym y rhydd Cristionogion fwy o ymddiried yn nyfaliadau beirniaid anghrediniol Germani nag yn ngosodiadau pendant yr Iachawdwr. Y mae y Salm hon yn brophwydol am fod yr hanes a gronicla yn brophwydol—ffeithiau hanes Israel, mab Duw yn yr H. D. yn gysgodol o ffeithiau hanes yr Iesu, Mab Duw yn y Test. Newydd; ac o ganlyniad llenyddiaeth y cyntaf yn brophwydol o hanes yr olaf.

**ADN. 19. Y pryd hwn yr wyf yn dywedyd wrthych cyn ei ddyfod.** Gwyddai o'r blaen; eithr nid doeth oedd cyhoeddi hyny yn gynt, canys creai ddrwgdybiaeth iselwael yn y cwmpeini bychan. Pe gwybyddai Petr ac Ioan y bwriadau dichellgar a letyent yn nghalon Judas, anhawdd meddwl y diangai o'r oruwchystafell a'i einioes yn ei feddiant. Na: i ddwyn i ben amcanion Duw rhaid oedd cadw y gyfrinach yn nghudd,—dim ond hysbysu digon i ddangos y gwyddai yr Athraw, nad *surprise* iddo Ef oedd y bradychiad a'r croeshoeliad. **Fel pan ddêl y credoch mai myfi yw.** Heb y rhybudd blaenorol gallasent hwy dybied fod yr Iesu yn yr un anwybodaeth a hwynthwy, ac felly siglid eu ffydd yn ei

i chwi, Yr hwn sydd yn derbyn y neb a ddanfonwyf fi, sydd
yn fy nerbyn i; a'r hwn sydd yn fy nerbyn i, sydd yn
21 derbyn yr hwn a'm danfonodd i. Wedi i'r Iesu ddywedyd

---

ddwyfoldeb Messianaidd. Ond yn awr, pan ddelai yr anffawd, y canlyniad fyddai, nid gwanhau, ond cryfhau eu ffydd. Deuent i ganfod yn eglurach mai Efe oedd y Messiah, a bod i'w farwolaeth amcan arbenig; a'r amcan oedd gwneyd ei angeu yn waith,—pe heb amcan nid gwaith mohono, ond damwain.

**ADN. 20. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn derbyn y neb a ddanfonwyf fi sydd yn fy nerbyn i.** Pa gysylltiad sydd rhwng yr adnod hon a bradwriaeth Judas? Etyb rhai nad oes dim, mai adnod allan o'i chysylltiadau ydyw, wedi ei chymeryd o bosibl o Matt. x. 40. Ond gan y ceir hi yn y llawysgrifau henaf yn y fan hon, rhaid fod iddi swyddogaeth bendant yn y cysylltiadau presenol: beth yw y swyddogaeth hono? Ai nid awgrym sydd yma nad ar gymeriad personol yn hollol y dibyna llwyddiant y weinidogaeth, ond ar awdurdodiad dwyfol. Dyn drwg oedd Judas yn ei gymeriad personol, ond ni allasai pobl ddyeithr wybod am dano yn y wedd hono. Er hyny, wrth ei dderbyn ef fel apostol, yr oeddynt yn derbyn yr hwn a'i gosododd mewn swydd, yn derbyn yr Arglwydd Iesu. Paham y llefarodd yr Athraw hyn? Megis yr oedd un apostol annuwiol yn mysg y Deuddeg, felly bydd cyfartaledd cyffelyb yn mhlith gweinidogion pob oes—nifer o honynt yn annuwiol ac yn bradychu eu hymddiriedaeth. A yw eu cymeriad drwg personol hwy yn difuddio yr ordinhadau, megis Bedydd a Swper yr Arglwydd, i'r rhai sydd dan eu gofal? Na; meddai yr Iesu, nid fel personau *private* y derbynir hwy gan yr eglwysi, ond fel rhai anfonedig genyf fi, a "phwy bynag sydd yn derbyn y neb a ddanfonwyf fi sydd yn fy nerbyn i"—chaiff crefyddwyr ddim bod ar eu colled, gallaf fi fendithio gweinidogaeth dyn drwg. Nid yw hyn mewn un modd yn cynwys y gall yr eglwys fforddio bod yn ddiofal am garictor gweinidogion; ar y llaw arall, gofala Crist na chaiff cymeriad *private* y pregethwr beryglu iachawdwriaeth y byd. Gwell fod y gweinidog yn Gristion diledryw—gwell iddo ef a'r gynulleidfa dan ei ofal; ond er i'r gweinidog fod yn annuwiol, y mae rhyw fendithion yn glymedig wrth y swydd—gall yr Iesu fendithio ei weinidogaeth i achub y gwrandawyr, a'r ordinhadau i adeiladu yr eglwys. Y mae rhyw gysegredigrwydd yn perthyn i'r swyddi a appwyntiodd Crist yn ei eglwys, a da fuasai i Anghydffurfiaeth gofio hyny; ar y llaw arall, camsyniad dybryd yw fod swyddi ynddynt eu hunain yn ddigonol i gyfranu bendithion bywyd tragwyddol, a da fuasai i Esgobyddiaeth gadw hyny mewn cof. Yn yr eithafion gwrthgyferbyniol y gorwedd y cyfeiliornadau.

### DIDOLIAD JUDAS: ADN. 21—30.

**ADN. 21. Wedi i'r Iesu ddywedyd y pethau hyn.** Ymddengys fod rhyw gymaint o gyfwng *(pause)* rhwng adn. 20 a'r adnod hon. Wedi dadlenu y bradychiad, arosodd yr Iesu megis mewn syn-fyfyrdod, a chynhyrfwyd ei ysbryd. Tybia rhai mai yn y cyfwng hwn, rhwng adn. 20 ac adn. 21, y sefydlwyd Swper yr Arglwydd, ac i ni ymddengys y

y pethau hyn, efe a gynhyrfwyd yn yr yspryd, ac a dystiol-
aethodd, ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, y dywedaf
wrthych, y bradycha un o honoch fi. Yna y disgyblion a 22
edrychasant ar eu gilydd, gan ammeu am bwy yr oedd efe

---

dybiaeth hon mor resymol ag unrhyw un arall. Ond dibyna y cwestiwn, Pa le yn yr hanes yn Efengyl Ioan y gellir gosod sefydliad y Swper Sanctaidd? ar gwestiwn arall, A gyfranogodd Judas o'r Sacrament? I'r gofyniad diweddaf hwn cawn dri ateb. 1. Fod Judas wedi cyfranogi o hono, wedi bwyta o'r bara ac yfed o'r gwin. Ymddengys yr ateb hwn yn hollol unol â Luc xxii. 15—23. Os gwir hyn, rhaid gosod sefydliad y Swper Sanctaidd yn nechreu y benod, cyn dechreu o Swper y Pasg, yn ol damcaniaeth Godet; neu yn y fan hon, rhwng adn. 20 ac adn. 21. 2. Fod Judas wedi cymeryd y bara, "y tamaid oedd wedi ei wlychu," ond na chymerodd y gwin, yn gymaint ag i'r Iesu ei erchi i ymadael (adn. 27). Dyma y dyfaliad a amddiffynir gan Westcott; gan hyny, rhaid lleoli y Swper Sanctaidd rhwng adn. 21 ac adn. 31. 3. Fod Judas heb gyfranogi o gwbl o'r Sacrament, yn ol yr hanes yn Matthew a Marc; os felly, y mae yn canlyn i'r Sacrament gael ei sefydlu ar ol adn. 30. Tra na phetruswn i wrthod yr ail, methwn a dyfod i benderfyniad sefydlog rhwng y cyntaf a'r trydydd; oherwydd paham, gorfodir ni i'w adael yn anmhenodol.

**Efe a gynhyrfwyd yn yr ysbryd.** Dyma y drydedd waith y darllenwn am ei gynhwrf tufewnol (xi. 33; xii. 27). Pan ymwelwyd ag Ef gan y Groegiaid, cynhyrfwyd ei "enaid" *(psuchē)*—y rhan deimladol o'i bersonoliaeth; ond yn awr ei "ysbryd" *(pneuma)*—rhandir uchaf ei bersonoliaeth, eisteddle y teimladau crefyddol. Yr oedd presenoldeb y bradwr ac erchyllder ei bechod yn peri cyffro trwy holl naturiaeth y Ceidwad. Cyfarfyddodd angeu yn wrol, "cuddiwyd edifeirwch o'i olwg"; eithr nid yn ddideimlad. Ie, po fwyaf y teimladrwydd *(sensibility)*,* mwyaf y gwroldeb ag oedd yn anghenrheidiol i'w orchfygu. **Ac a dystiolaethodd, ac a ddywedodd.** Pa eisieu y gair "tystiolaethu" yn gystal a "dyweyd"? (1) Dengys y lefel uchel yn mha un y symudai ei deimladau ar y pryd; nid effaith nwyd na natur ddrwg oedd y cynhwrf, ond ysbryd yn ymdderchafu fel tòn y môr pan yn dynesu at graig—yr oedd mawredd yn ei wedd a difrifoldeb yn ei lais. (2) Yr oedd natur yr hysbysrwydd yn codi y dywediad sydd yn canlyn uwchlaw ymddiddan cyffredin, uwchlaw gwybodaeth ddynol, i diriogaeth gwybodaeth ddwyfol. Yr oedd y datganiad yn "dystiolaeth." **Yn wir, yn wir, y dywedaf wrthych, Un o honoch chwi a'm bradycha i.** Er fod adnodau 10 ac 18 yn cynwys cyfeiriadau at y bradychwr, eto yr oeddynt yn rhy benagored i gynyrchu argraph ddofn ar feddyliau y dysgyblion; mor ddiniwaid oeddynt fel na fedrent sylweddoli y gwirionedd galarus, edrychent arno fel posiblrwydd pell yn amgauedig mewn niwl tew. Fel tad gofalus cynhyrfwyd ysbryd yr Iesu gan ofid yn ngwyneb yr anghenrheidrwydd o dori y newydd trist iddynt.

---

* "There is a well-known story about a celebrated general, whose aide-de-camp, a man of muscle but very limited brain-power and deficient in sensibility, remarked that he, the general, appeared to be nervous. His answer was: 'Yes, I am nervous, and if you were half as nervous as I am you would run away.'"—(*Daily Mail*, Dec. 4th, 1900.)

23 yn dywedyd. Ac yr oedd un o'i ddisgyblion yn pwyso ar
24 fynwes yr Iesu, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu. Am
hynny yr amneidiodd Simon Petr ar hwnnw, i ofyn pwy
25 oedd efe, am yr hwn yr oedd efe yn dywedyd. Ac yntau yn

---

**ADN. 22. Y dysgyblion a edrychasant ar eu gilydd, gan amheu am bwy yr oedd efe yn dywedyd.** Golyga y gair am amheu (*aporoumenoi*) benbleth yn hytrach nag amheuaeth, a chyfieithir ef yn Luc xxiv. 4 yn "petruso," ac yn 2 Cor. iv. 8 yn "gyfyng-gynghor." Taflodd yr hysbysrwydd hwy i ddyryswch meddyliol, ac nid i amheuaeth am ei wirionedd. Cawn fwy o fanylion y rhan hon o'r ymddiddan yn yr efengylau eraill. Yn gyntaf, "hwy aethant yn drist iawn" (Matt. xxvi. 22). Yn ail, "dechreuasant ymofyn yn eu plith eu hunain pwy o honynt oedd yr hwn a wnai hyny" (Luc xxii. 23). Yn drydydd, "hwy a ddywedasant wrth yr Iesu bob yn un ac un, Ai myfi? ac arall, Ai myfi?" (Marc xiv. 9). Pob un yn amheu ei hun, neb yn amheu ei frawd! Yr oeddynt yn ymwybodol o'u diniweidrwydd, meddai Chrysostom, ac yn argyhoeddedig hefyd yr adwaenai Efe eu calonau yn well na hwy eu hunain. Yn bedwerydd, yr Arglwydd Iesu yn ychwanegu, "Mab y Dyn yn ddiau sydd yn myned, fel y mae yn ysgrifenedig am dano; eithr gwae y dyn hwnw trwy yr hwn y bradychir Mab y Dyn! da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef" (Matt. xxvi. 24). Yn bumed, Judas yn gofyn yn olaf, "Ai myfi yw, Athraw? Yntau a ddywedodd, Ti a ddywedaist" (Matt. xxvi. 25). Ymddengys mai mewn tôn isel y dywedodd, yn murmur ymddiddan y lleill, fel na chlywodd neb ond Judas ei hun.

**ADN. 23. Yr oedd wrth y bwrdd yn lledorwedd yn mynwes yr Iesu un o'i ddysgyblion.** Cofier mai lledorwedd yr oeddynt ar lythau, gan orphwys ar y penelin chwith. Gan hyny, ystyr hyn ydyw mai Ioan oedd yn gorwedd nesaf at yr Iesu; yn ngwyneb hyn, pa le y mae blaenoriaeth Petr? **Yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu.** (Gwel y Rhagarweiniad, Cyf. I. tudalen vi.). Diau fod cydnawsedd rhyfedd rhwng Ioan a'r Iesu, yr hyn a gyfrif am y cymundeb cynhes a chyfeillgar a fodolai cydrhyngddynt. Dyma y tro cyntaf i Ioan ddynodi ei hun wrth yr enw hwn, ond gwna hyny deirgwaith ar ol hyn (xix. 26; xxi. 7, 20).

**ADN. 24. Gan hyny y mae Simon Petr yn amneidio ar hwnw.** Yr amser presenol eto yn dangos mor fyw oedd adgof Ioan o'r amgylchiad. Amneidiodd Petr ar Ioan i estyn ei ben i'r cyfeiriad yr eisteddai efe ynddo, er mwyn iddo allu gofyn cwestiwn yn ddirgelaidd iddo. Nis gallwn benderfynu oddiwrth ddim a ddywedir yma pa le yr eisteddai Petr, ond yn unig ei fod ef a Ioan yn ddigon agos i fedru sibrwd wrth eu gilydd trwy estyn eu gyddfau. Dywed Westcott fod Petr yn eistedd ar yr aswy i'r Arglwydd Iesu, lle y prif anrhydedd, ac amddiffynir y golygiad gan Edersheim; ond gan mai ar y ddeheulaw yn gyffredin y mae y prif le, nis gallwn ar hyn o bryd fabwysiadu eu syniad. Ond tybed fod trefn yr apostolion o eistedd wrth y bwrdd yn arwydd o gwbl o anrhydedd mwy neu lai? Nid ydym yn tybied. **Ac a ddywedodd wrtho, Dywed, am bwy y mae yn dywedyd?** Amrywia y llawysgrifau ychydig yn y fan hon; ond gan mai dyma y darlleniad a ddilynir yn y Cyf. Diw., ni raid petruso llawer yn nghylch ei gywirdeb, ac yn sicr

pwyso ar ddwyfron yr Iesu, a ddywedodd wrtho, Arglwydd,
pwy yw efe? Yr Iesu a attebodd, Hwnnw yw efe, i'r hwn 26
y rhoddaf fi dammaid wedi i mi ei wlychu. Ac wedi iddo
wlychu y tammaid, efe a'i rhoddodd i Judas Iscariot, *mab*
Simon. Ac ar ol y tammaid, yna yr aeth Satan i mewn 27

---

cyfrana fywiogrwydd i'r hanes. Nis gallasai Petr atal ei gywreinrwydd —hwyrach y gwyddai Ioan, rhaid gofyn iddo, Dywed, a wyddost ti am bwy y mae yn dywedyd? Paham na ofynasai i'r Iesu ei hun? Yswildod, o bosibl. Yr oedd wedi gwneuthur camgymeriadau ddigon eisoes, er dechreu y nos, nid oedd am syrthio i amryfusedd arall.

**ADN. 25. Yntau yn pwyso yn ol, fel yr oedd, ar ddwyfron yr Iesu.** "Fel yr oedd" (*outos*), yr un gair ag yn iv. 6. Gadewir ef allan mewn rhai llawysgrifau, ond mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw. yr hyn sydd brawf fod y llawysgrifau mwyaf parchus yn ei gynwys. Gan y lledorweddai Ioan a'i gefn at yr Iesu, taflai ei ben yn ol (*anapesōn*), gan edrych i fyny yn ei wyneb, fel ag i fedru siarad yn gyfrinachol ag Ef. **A ddywedodd wrtho, Arglwydd, pwy yw efe?** Dyna y gofyniad ag y chwenychai cywreinrwydd Petr gael ateb iddo.

**ADN. 26. Yr Iesu a atebodd, Hwnw yw efe, i'r hwn y rhoddaf fi y tamaid wedi i mi ei wlychu.** Y ddau ragenw, "hwnw" a "fi," yn bwysleisiol. Sibrwd y gofyniad a wnaeth Ioan, a sibrwd yr atebiad a wnaeth yr Iesu; ni chlywodd neb ond hwy eill dau. "Y tamaid"—pa damaid? (1) Tybia rhai mai tamaid o gig yr oen a'r dail surion. (2) Ond mwy tebygol mai tamaid o'r bara croew, heb surdoes nac eples ynddo, wedi ei suddo yn y finegr (Ruth ii. 14). (3) Barna eraill mai bara y Cymun ydoedd,—ei fod wedi rhoddi tamaid i eraill ac mai tro Judas ydoedd yn awr. Ond nis gallwn ddygymod â'r syniad; teimlwn i'r Arglwydd Iesu roddi y tamaid yn y sudd a'i estyn i Judas, yn arwydd i Ioan pwy oedd y bradwr. **Ac wedi iddo wlychu y tamaid, efe a'i rhoddodd i Judas, mab Simon Iscariot.** Ai fel arwydd o barch y rhoddodd yr Iesu y tamaid i Judas, ac fel un ymdrech fawr ddiweddaf i'w atal rhag y pechod echrydys, yr hwn oedd ar fin ei gyflawni? Etyb yr esbonwyr bron i gyd yn gadarnhaol, ond perthyn i ni gyfaddef ein hameuaeth. Mewn atebiad i gwestiwn Ioan y rhoddodd y tamaid, ac nid oddiar gariad at Judas. Gwyddai Efe fanylion y dwyfol gynllun; nid ymyrodd i rwystro y cynllun i gael ei gario allan—ymorol i rwystro yr Iawn a fuasai hyny. Daw gwirfoddolrwydd ei angeu i'r golwg yn mhob cam yn ei hanes.

**ADN. 27. Ac ar ol y tamaid, yna yr aeth Satan i mewn iddo.** "Yna" (*tote*), "y pryd hwnw," yn bwysleisiol. Y diafol yw bob tro o'r blaen (vi. 70; vii. 20; viii. 44, 48; xiii. 2), ond yma Satan. Nis gall amheuaeth fod y credai yr efengylwr a'r Iesu yn modolaeth bersonol yr "Un Drwg." Ond pa beth a feddylir wrth fod Satan wedi myned i mewn i Judas? Y mae yn amlwg mai nid anhwylder corphorol fel mewn engreiphtiau eraill yn yr efengylau o ddynion yn cael eu meddiannu gan gythreuliaid, ond yn hytrach y bradwr yn ildio ei feddwl a'i galon i lywodraeth y diafol. Yn vi. 70 gelwir Judas yn "ddiafol"—yr oedd y

iddo. Am hynny y dywedodd yr Iesu wrtho, Hyn yr wyt
28 yn ei wneuthur, gwna ar frys. Ac ni wyddai neb o'r rhai

---

bwriad o fradychu yr Iesu wedi ymffurfio eisoes o'i fewn. Ond erbyn hyn y mae y bwriad wedi ymffurfio yn benderfyniad,—nid oes dim yn eisieu ond y gwroldeb i gario y penderfyniad allan. Yn ein barn ni cyfeiliorna yr esbonwyr hyny sydd yn dysgu mai yn awr y penderfynodd fradychu,—yr oedd wedi penderfynu eisoes ac wedi cytuno â'r gelynion am y pris (Matt. xxvi. 15); ond yn awr y magodd y dewrder angenrheidiol i gario allan ei benderfyniad. Megis ag y dywedir fod y rhai sydd yn ildio eu hunain i'r dylanwadau dwyfol yn llawn o'r Ysbryd Glân, felly dysgir yma fod Judas yn llawn o'r diafol, oblegid ei fod wedi ymwerthu i'w wasanaeth. Ond pa berthynas a all fod rhwng rhoddi y tamaid a mynediad y diafol i mewn iddo? A oes rhyw gysylltiad mwy na chysylltiad amseryddol? Diamheu genym fod: beth ydyw? (1) Yn ol De Wette credai Ioan fod cysylltiad swyngyfareddol (*magical*) rhyngddynt, y tamaid yn trosglwyddo Satan i mewn i Judas. Er nad ydym ni o'r rhai sydd yn rhoddi pwys mawr ar yr arddodair, eto nid anmhriodol dwyn i gof sylw Bengel mai *ar ol* y tamaid, ac nid *gyda* y tamaid (*post offulam, non cum offulam*) yw ymadrodd Ioan. (2) Felly yn ein bryd ni cysylltiad moesol a osodir allan yma. Wedi i'r Iesu roddi iddo y tamaid ffyrnigodd ei holl natur, nid oherwydd fod y tamaid yn brawf ychwanegol ac arbenigol o gariad, ond oblegid ei fod yn brawf terfynol iddo fod ei ddichellion maleisus yn agored i lygaid yr Athraw, a'u bod yn cael eu dadlenu yn awr i'r dysgyblion. Chwerwodd ei holl natur ac eisteddodd sarugrwydd dieflig ar ei wedd. Pa fodd y gwyddai Ioan fyned Satan i mewn iddo? (1) O bosibl y cofiai Ioan fynegiant ei wynebpryd,—cymerodd gweddnewidiad le, nid fel ar y Mynydd Sanctaidd, gweddnewidiad yn rhinwedd nefol oleuni, ond gweddnewidiad tywyll pygddu megis adlewyrchiad fflamiau uffern. (2) Ond hyd yn nod os felly, ni fedrai Ioan ar y pryd ddehongl yr *expression*; trwy adfyfyriad ar gymeriad Judas, yn ngoleuni y digwyddiadau a ddilynodd, y daeth Ioan i edrych ar y diafol fel achos gwreiddiol y bradychiad; iddo ef yr oedd erchylldod y pechod mor ofnadwy fel y gorfodid ef i'w olrhain heibio i'r ddynoliaeth i ffynhonell gyntaf pob drygioni. **Am hyny y dywedodd yr Iesu wrtho, Yr hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna yn fwy brysiog.** Nid ar frys, ond yn fwy brysiog (*trachion*)—dyna rym y radd gydmarol bob amser. Mỳn Keim a Renan fod yr Iesu yma yn ymddwyn yn frwnt at Judas,—"*a most extreme insult*" meddai y blaenaf, "*words of bitter reproach*" meddai yr ail, ac i'r sarhâd a daflwyd arno genhedlu dan ei fron nwyd o ymddial, fel pe dywedasai Judas, Yr wyt ti yn fy erchi i allan fel ci o'th bresenoldeb; mi fynaf ddial fy ngham, mi a'th fradychaf i'th elynion." Rhyfedd mor gydymdeimiadol â Judas yw lluaws o awduron diweddar; yr Iesu sydd i'w feio am sarhau Judas, nid Judas am fradychu yr Iesu—cael ei *brovokio* a wnaeth! Yr un yw y natur ddynol o hyd, y mae i'r Gwyn Dihalog ei gaseion yn mhob oes. Yn lle synu at y llymder a orchymynodd Judas allan, rhyfeddu yr ydym ni at yr amynedd a'r gras a gyd-ddygodd ag ef gyhyd—paham y goddefodd bresenoldeb dyhiryn o'r fath mor hir? (2) Dysga Grotius ac eraill nad oes orchymyn yma, eithr goddefiad yn unig—yr Iesu yn caniatau i

Judas ddwyn ei ddichellion bradwrus i ben. (3) Ond diau genym fod y ferf yn y modd gorchymynol, ac nid cyfreithlon i ni waghau y geiriau o ddim o'u nerth. Ar un llaw dangosai doster at Judas yn ei orchymyn allan, toster oherwydd fod y gras a ddangosodd tuagato wedi ei droi, nid yn wir i drythyllwch, ond i galedwch annirnadwy. Yn gymaint nad oedd gan yr Iesu ond ychydig oriau i'w treulio gyda'i "eiddo," dyheuai am gael gwared o'r bradwr cyfrwysddrwg fel y gallai dywallt ei gariad ar ben ei ffyddloniaid a datguddio iddynt ei gyfrinach mwyaf mynwesol. Ar y llaw arall, nid ei gyfarwyddo i gyflawni cyflafan y mae, ond i orphen y gyflafan ag oedd eisoes wedi ei dechreu. "Yr hyn yr *wyt* yn ei wneuthur"—wedi dechreu ei wneuthur, ac ar haner ei gyflawni—"gwna yn fwy brysiog." Dranoeth oedd diwrnod lladd yr "Oen," y Pasg penodedig, i wneyd aberth dros bechod y byd; nid oedd funyd o amser i'w golli. Clir a phenderfynol yw eglurhad Alford: "Nid yw y geiriau hyn i'w gochel, fel caniatad neu ollyngdod iddo. Cyffelyb ydynt i eiriau Duw wrth Balaam, Num. xxii. 20, ac eiddo ein Harglwydd wrth y Phariseaid, Matt. xxiii. 32. Rhagdybir gyrfa o weithrediad pechadurus, ac nid yw y gorchymyn iddo fyned yn ei flaen ond adsain o'r rhagordeiniad dirgeledig hwnw trwy yr hwn yr aiff y pechadur yn yr ymarferiad o'i ewyllys lygredig ei hun yn offeryn cyflawniad bwriadau Duw. Felly nid *ho* neu *ei ti poiesis* sydd yma, ond *ho poieis*,—yr hyn yr wyt yn ei wneuthur, wedi llawn benderfynu ei roddi mewn gweithrediad uniongyrchol, gwna yn gyflymach nag wyt yn ymddangos yn foddlon,—neu yn well eto, feallai, nag a wnaethet onibai hyn." (4) Aiff rhai yn mhellach eto. Dyfala Meyer fod y *suspense* ofnadwy yn elfen gref yn ing yr Iesu, a'i fod megis milwr ar faes y gwaed yn dyheu am ddechreu'r frwydr a'i hymladd i derfyniad; gan ei fod yn awr ar làn afon angeu ac yn swn ei thwrf, ymawyddai am neidio i'w thonau cynddeiriog, a nofio trwyddi nes cyrhaedd y làn yr ochr draw. "Y mae genyf fedydd i'm bedyddio ag ef; ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni chyflawner!" (Luc xii. 50). Cyfyng yw ar eraill o ofn marw; cyfyng oedd hi arno Ef o eisieu marw! Terfyn gwaith yw marw i eraill, cwblhâd gwaith oedd marw iddo Ef! Gan hyny, nid cyfreithloni drwg y mae y gorchymyn i Judas, ond prysuro drwg ag oedd eisoes yn anocheladwy,—dymuniad cryf i gael y gwaethaf drosodd.

Prawf yr holl hanes mai nid creadur amgylchiadau oedd yr Iesu, ond eu meistr—Efe sydd yn trefnu màn ac amser ei angeu. Daeth o'r anialwch i Jerusalem pryd nad oedd rhaid, ond rhaid ei galon ei hun, ac yma y mae yn amlwg nad oedd Judas yn bwriadu ei fradychu na'r archoffeiriaid ei ddàl y noson hono, a'i ladd dranoeth - yr Iesu ei hun mewn llawn ymwybyddiaeth a *forciodd* eu dwylaw. "Yr hyn yr wyt yn ei wneuthur, Judas, gwna yn fwy brysiog"—y mae yr "Awr" yn ymyl, prydnawn y fory rhaid lladd Oen y Pasg; prysura y gwaith, Judas, onite ni chyrhaeddaf Galfaria i farw mewn *pryd* dros yr annuwiol. Ffordd y pregethwr hyawdl ond unochrog, Robertson o Brighton, i gyfrif am farwolaeth Crist yw iddo Ef, yn ei ffyddlondeb i ddyledswydd, daraw yn erbyn olwyn amgylchiadau, a chael ei ddryllio ganddi; ac felly nad oedd ei angeu ond hunan-aberth. Ond haner y gwirionedd ydyw hynyna; fel yr arferai y Proffeswr Howells o Drefecca ofyn, Pwy oedd yn troi yr olwyn? Yma gwelwn yr Iesu ei hun yn cyflymu ei throadau, a hyny drachefn am fod "Awr" ei Dad wedi taraw. Felly nid yr elfen oddefol

oedd yn eistedd i ba beth y dywedasai efe hyn wrtho.
29 Canys rhai oedd yn tybied, am fod Judas a'r gôd ganddo,
fod yr Iesu yn dywedyd wrtho, Pryn *y pethau* sydd arnom
eu heisieu erbyn yr wyl; neu, ar roi o hono beth i'r tlodion.
30 Yntau gan hynny, wedi derbyn y tammaid, a aeth allan yn
ebrwydd. Ac yr oedd hi yn nos.

---

yn unig oedd yn ei angeu—cael ei ddryllio gan yr olwyn, ond y weithredol hefyd—Efe ei hun yn troi yr olwyn. Nid cael ei aberthu a wnaeth, ond aberthu ei hun; try yr hunan-aberth yn aberth iawnol.

**ADN. 28. Ac ni wyddai neb o'r rhai oedd yn eistedd i ba beth y dywedasai efe hyn wrtho.** "Neb" (*oudeis*)—dim un. Mŷn Bengel, Lange, Hengstenberg, a Godet fod Ioan yn ei eithrio ei hun, gan fod yr Iesu wedi nodi allan y bradychwr iddo yn adn. 26. Ond dywed Ioan "neb," dim hyd yn nod ei hunan. Yr oedd Ioan a Phetr, os wedi deall yr arwydd, heb rywfodd sylweddoli yr hyn oedd yn myned yn mlaen. Y byddai yr Iesu yn cael ei werthu y noson hono, y byddai cyn pen teirawr yn y ddalfa, ac y lleddid Ef drannoeth trwy offerynoliaeth Judas,—nid oedd cysgod y drychfeddwl wedi syrthio ar eu meddwl. A da hyny, onite——! Yr oedd yno ddau gledd yn yr ystafell, y rhai a gariai y cwmpeini bach ar eu teithiau trwy y wlad i'w dyogelu rhag ymosodiadau lladron ac ysbeilwyr; oedd, yr oedd yno ddau gledd, ac un yn perthyn i Petr (xviii. 10),—buasai y ddau yn goch hyd eu carnau o waed pe dirnadasent yr hyn oedd yn myned yn mlaen. Gwyddai yr Athraw hyny; gwell o ganlyniad oedd eu gadael mewn graddau o anwybodaeth, rhag i "golli gwaed" yr Oruwchystafell rwystro y "colli gwaed" ar Galfaria. "Ni wyddai neb," a ffodus hyny.

**ADN. 29. Canys rhai oedd yn tybied am fod Judas â'r gôd ganddo**—y gôd neu y blwch (gwel ar xii. 6)—**fod yr Iesu yn dywedyd wrtho, Prŷn y pethau sydd arnom eu heisieu erbyn yr ŵyl.** (1) Yn ol un dosbarth profa hyn mai ar nos Fercher y cymerodd y swper hwn le, gan nad oedd prynu a gwerth yn oddefol ar noson Swper y Pasg. (2) Dadleua dosbarth arall, gan y parhâi yr Wyl am wyth niwrnod, fod angenrheidrwydd, ac felly gyfleusderau, i brynu a gwerthu. Cyd. Ex. xii. 16; Marc xv. 46; Marc xvi. 1. **Neu, ar roi o hono beth i'r tlodion.** Dengys hyn arfer yr Iesu. Y mae genym brofion aml o'i dlodi; ac eto, o'r ychydig oedd ganddo, cyfranai i rai tlotach nag Ef ei hun. Yr oedd elusengarwch yn egwyddor yn ei fywyd; corphorwyd yr egwyddor hon mewn sefydliadau dyngarol yn yr eglwysi apostolaidd ac yn eglwysi y canol-oesoedd. Yn Mhrydain, erbyn heddyw, y mae Deddf y Tlodion yn tueddu i sychu i fynu y ffynhonell hon o râs Cristionogol.

**ADN. 30. Yntau, gan hyny, wedi derbyn y tamaid, a aeth allan yn ebrwydd.** "Yntau" (*ekeinos*)—y rhagenw pwysleisiol. Derbyniodd y tamaid,—parhaodd yn rhagrithiwr hyd y diwedd; yna aeth allan yn ebrwydd. "Yna yr aeth Satan i mewn (*eisēlthen*) iddo: yntau a aeth allan (*exēlthen*)": cyferbyniad tra tharawiadol. **Ac yr oedd hi yn nos.** Mewn rhai llawysgrifiadau cysylltir y frawddeg hon â'r adnod nesaf; ond mwy synwyrlawn ydyw lle y mae yn y Cyfieithiad Cymraeg. "Ac yr

Yna gwedi iddo fyned allan, yr Iesu a ddywedodd, Yn 31
awr y gogoneddwyd Mab y dyn, a Duw a ogoneddwyd

---

oedd hi yn nos." Mor *tragic y climax*,—byr a thywyll! Yr oedd hi yn nos naturiol, y gloch wedi taraw wyth neu ragor. Aeth Judas allan i'r nos! Iddo ef yr oedd y nos yn dduach nag i neb arall yn Jerusalem: yr oedd y nos yn ei enaid, pob llewyrch o ddaioni wedi diffodd o'i fewn, yn dyblu tywyllwch y nos allanol. "Yr oedd hi yn nos." Ystyr naturiol sydd i'r geiriau; ond dilys genym y teimlai Ioan wrth ysgrifenu, fel y teimlwn ni wrth ddarllen, ei bod yn awgrymu ystyr arall—nos ysbrydol, nos dragwyddol. Yr ydym yn colli Judas yn y Nos!

### RHYDD YMDDIDDAN YR IESU WEDI I'R BRADWR YMADAEL.
### ADN. 31—35.

Yma y dechreu ei rydd ymddiddanion â'i ddysgyblion, o tua wyth o'r gloch nos Iau hyd tua haner nos, ac yn estyn yn mlaen hyd ddiwedd penod xvii. Cawn yma bedwar o gwestiynau gan y dysgyblion: cwestiwn Petr yn xiii. 36; cwestiwn Thomas yn xiv. 5; cwestiwn Phylip yn xiv. 8; a chwestiwn Judas, nid yr Iscariot, yn xiv. 22. O ganlyniad cawn yma bedwar o egluriadau gan yr Iesu mewn atebiad i'r gofyniadau, a'r oll yn dàl cysylltiad â'i ymadawiad presenol a'i ail uniad â hwy ar ol ei adgyfodiad. Yn xiv. 31 daw y gofyniadau a'r atebion i ben: ac oddiyno yn mlaen llefara yr Arglwydd Iesu mewn ffurf fwy traethodol. Ar ol ymadawiad y bradychwr, tywys yr Iesu ei ddysgyblion i Sancteiddiolaf yr Efengyl. Am hyny, "diosgwn ein hesgidiau oddiam ein traed, oherwydd y lle yr ydym yn sefyll arno sydd ddaear sanctaidd." Edrychwn ar y weledigaeth fawr hon gyda gwyleidd-dra addoliadol.

**ADN. 31. Gan hyny, gwedi iddo fyned allan.** Y mae yma gysylltiad achos ac effaith, ac nid cysylltiad amseryddol yn unig, rhwng ymgiliad Judas a'r rhyddid ysbryd a deimlodd yr Iesu. Gwelir yn amlwg fod ymneillduad y bradwr o'r gyfeillach fel symudiad pwysau oddiar ysbryd yr Athraw, a chymer trawsnewidiad uniongyrchol le, braidd na ddywedwn o'r lleddf i'r llon, yn ei ymddiddan. Cliriodd yr awyr, a theimlodd yr Iesu ryddid yn nghymdeithas ei "eiddo." **Yr Iesu a ddywedodd, Yn awr y gogoneddwyd Mab y Dyn.** "Gogoneddwyd" yn yr amser gorphenol (*aorist*): pa fodd yr ydym i ddeall yr ymadrodd? (1) Etyb Godet fod y "gogoneddu" yn yr amser gorphenol yn cyfeirio at ei fywyd blaenorol hyd ymadawiad Judas, yr oll o'i hanes ag oedd wedi myned heibio; a bod y "gogoneddu" yn yr amser dyfodol yn yr adnod nesaf yn cyfeirio at yr hyn oedd eto ar ol—ei Angeu, ei Adgyfodiad, a'i Esgyniad. Ond teimlwn ddwy wrthddadl yn erbyn yr eglurhâd hwn. Yn gyntaf, nid y gorphenol sydd yn llanw meddwl yr Iesu yn yr oruwch-ystafell, y nos y bradychwyd Ef, ond y dyfodol. Nid achlysur iddo o adolygiad oedd ymadawiad Judas, ond o ragolygiad—parodd iddo feddwl yn ddwys, nid am yr hyn oedd wedi myned heibio yn y gorphenol, ond am yr hyn oedd i ddilyn yn y dyfodol agos. Yn ail, digwyddodd y gair "gogoneddu" ddwywaith o'r blaen, yn yr un cysyllt-

32 ynddo ef. Os gogoneddwyd Duw ynddo ef, Duw hefyd

iadau, ar wefus yr Iesu; a gwelsom mai cyfeirio yr oedd at ei "ddyoddefaint a'r gogoniant ar ol hyny." Nid cyfreithlon, ni goeliwn, ydyw rhoddi i'r gair ystyr wahanol yma. (2) Gan hyny, credwn gyda Meyer a mwyafrif yr esbonwyr, mai cyfeiriad sydd yn yr adnod hon a'r un ddilynol at y ddwy *stage* yn ngogoneddiad yr Iesu: y *stage* gyntaf, sef ei ddyoddefaint, yn yr adnod hon, a'r ail *stage*, sef ei esgyniad, yn yr adnod nesaf. "Yn awr y gogoneddwyd Mab y Dyn"—y gorphenol mewn ymddangosiad yn unig *(Winer's Grammar, p. 292)*, am yr hyn oedd i ddigwydd yn y dyfodol agos, canys yr oedd ymadawiad Judas wedi dwyn y Croeshoeliad boreu y fory yn fyw i deimlad yr Iesu—yr ydoedd yn ffaith orphenedig yn ei brofiad, er nad eto yn ei hanes. Fel y dywed Matthew Henry, bradychiad Judas roddodd y tro cyntaf i'r olwyn ag oedd ei throadau i ddwyn i ben ei ogoneddiad ar y Ddeheulaw. Ac nid Mab Duw a ddywedir, ond Mab y Dyn: yn ei gymeriad fel Mab y Dyn yr oedd Ef i gael ei ogoneddu, am mai yn ei gymeriad fel Mab y Dyn yr ydoedd i gael ei groeshoelio. Mab y Dyn ydoedd o ran natur a chyflwr, yn ein cnawd ac yn ein deddfle; ac, oh ryfedd ras! ystyriai yr Arglwydd Iesu hi yn ogoniant i gael marw yn lle dynion. Yr hyn a eilw Paul yn ddarostyngiad (Phil. ii. 8) a eilw Ioan yn ogoneddiad. Pa le y cafodd yr olaf y term a'r syniad? O enau yr Arglwydd Iesu ei hun. Yn ei fryd Ef ei brif ogoniant oedd, nid creu y byd, ond cael marw yn Iawn dros y byd! **A Duw a ogoneddwyd ynddo ef.** Yr oedd pob gogoniant, yn enwedig gogoniant ei ddyoddefiadau, yn adlewyrchu goleuni claer ar gymeriad Duw, ie, yr un oedd gogoniant y ddau. Yn angeu'r Groes y cyrhaeddodd yr amlygiadau o gyfiawnder a chariad—dwy egwyddor sylfaenol y cymeriad dwyfol—eu huchafnod; ac, o ganlyniad, yn angeu'r Groes y gogoneddwyd Duw y tu hwnt i bob amlygiad blaenorol a dilynol. "Beth all'sai ddangos pwy wyt ti, yn well nag angeu Calfari"? "Duw a ogoneddwyd ynddo Ef"—nid trwyddo, ond ynddo; y mae y fath undeb hanfodol rhyngddynt fel mai gwaith y naill yw gwaith y llall. Gogoneddwyd Duw trwy brophwydi, apostolion, a merthyron; ond gogoneddwyd Ef yn ei Fab, ac yn neb arall. Ie, gogoneddwyd Ef hyd yr eithaf; nis gall priodoliaethau moesol Duw—ei gyfiawnder a'i gariad—byth gael datguddiad helaethach; mae ei *holl* briodoliaethau moesol, yn yr *oll* ag ydynt, wedi eu llawn amlygu. Angeu'r Groes fydd testyn efrydiaeth bodau rhesymol am byth; nis gall dim rhagorach, ehangach, gogoneddusach gymeryd lle, yn natur pethau, oddiyma i eithafoedd tragwyddoldeb. Holl anfeidroldeb y priodoliaethau wedi dyfod i eglurder yn anfeidroldeb yr Aberth. O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! Digwyddiadau amser—Bethlehem a Chalfaria—yr Ymgnawdoliad a'r Iawn, fydd canolbwynt myfyrdodau angelion a dynion am oesoedd dirifedi 'r dail. Duw wedi cyflawni ei weithredoedd mwyaf yn ein byd ni, na all, yn natur pethau, gyflawni eu cymaint eto trwy oesoedd tragwyddoldeb, "Carodd hyd yr eithaf, hyd berffeithrwydd"—nis gall cariad fyned gam yn mhellach, tarawodd y gwaelod ar y Groes.

**ADN. 32 Os gogoneddwyd Duw ynddo ef.** Mŷn Tischendorf, Meyer, a Godet gadw y frawddeg hon i mewn; ond gan na cheir hi yn y prif lawysgrifau, gadewir hi allan yn y Cyf. Diw. Y mae ei habsenoldeb yn

a'i gogonedda ef ynddo ei hun, ac efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd. *O* blant bychain, etto yr wyf ennyd fechan gyd

---

gosod allan yn well gydbwysedd y brawddegau, y *balance* sydd bob amser yn nodweddu geiriau yr Arglwydd Iesu pan mewn teimlad derchafedig:

> **Yn awr y gogoneddwyd Mab y Dyn,**
> **A Duw a ogoneddwyd ynddo Ef;**
> Duw hefyd a'i gogonedda Ef ynddo ei hun,
> **Ac Efe a'i gogonedda Ef yn ebrwydd.**

**Duw hefyd a'i gogoneddodd Ef ynddo ei hun.** Sylwer fod y ffurf oddefol ar y berfau yn yr adnod flaenorol wedi troi yn ffurf weithredol yn yr adnod hon, er mwyn gosod allan y gwirionedd yn ei ddwy wedd. "Duw hefyd a'i gogonedda Ef ynddo ei hun"—cyfeiriad at ogoneddiad yr Iesu yn ei esgyniad. Duw yn ei ogoneddu y tu *allan* iddo ei hun oedd y Croeshoeliad, Duw yn ei ogoneddu *ynddo* ei hun oedd yr Esgyniad. O fynydd yr Olewydd aeth yr Iesu i mewn, nid yn unig i'r gogoniant oedd *gyda* Duw *(para seauto)*, ond hefyd i'r gogoniant oedd yn Nuw (*en heauto*)—gogoniant mwyaf arbenig y Duwdod. Y mae Mab y Dyn yn rhinwedd ei undeb personol â Mab Duw, ac mewn canlyniad i'r Iawn, wedi cymeryd ei le yn y Drindod Fendigaid rhwng y Tad a'r Ysbryd. Gyda gwylder sanctaidd y dymunem lefaru; ond ymddengys i ni fel pe buasai yr Ymgnawdoliad a'r Iawn wedi dwyn rhyw gyfnewidiad neu newydd-deb i mewn i'r Hanfod dragwyddol. Ar ol Bethlehem a Chalfaria nid yw Duw yn gymhwys yr un fath ag ydoedd o'r blaen. Gwaith yr Iesu yn yr Ymgnawdoliad a'r Iawn oedd datguddio Duw mewn dynoliaeth; ei waith yn ei Esgyniad oedd cuddio dynoliaeth yn Nuw. Datguddio Duw; cuddio dyn (Col. iii. 3; Act. iii. 21). Anhawdd gwybod at ba un i ryfeddu fwyaf, at y datguddio ar Dduw mewn dynoliaeth, ynte at y cuddio ar ddynoliaeth yn Nuw. "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw." Ond tra y priodolir gogoneddiad Crist i Dduw, priodolir ei ddarostyngiad yn gyfangwbl iddo ei hun. Duw a'i gogoneddodd, ond nid Duw a'i darostyngodd—darostwng ei hun a wnaeth (Phil. ii. 5—8). **Ac efe a'i gogonedda ef yn ebrwydd.** Angenrhaid oedd argraphu ar feddyliau y dysgyblion ddau wirionedd: (1) fod ei ymadawiad Ef oddiwrthynt yn ymyl, ar ganol nos; (2) y buasai ei adgyfodiad a'i esgyniad yn dilyn ei farwolaeth heb nemawr oediad rhyngddynt, "yn ebrwydd."

**ADN. 33. O blant bychain.** Dyma yr unig waith y defnyddia yr enw hwn (*teknia*), ac arwyddoca blant bychain, cyn medru o honynt wneuthur fawr drostynt eu hunain. Yn xxi. 5 y gair yw *paidia*—y plant wedi tyfu yn fechgyn. Diau mai cofio gair yr Iesu yw y rheswm fod Ioan yn ei ddefnyddio wyth o weithiau yn ei Epistol Cyntaf (ii. 1, 12, 18, 28; iii. 7, 18; iv. 4; v. 21). Y mae cariad yr Iesu, wrth feddwl y rhaid iddo eu gadael ar haner nos, eu gadael yn y byd drwg presenol tra y bydd Efe mewn byd arall, yn gorlifo mewn tynerwch atynt. Yn ngoleuni yr ymadrodd hwn a'r ymadroddion sydd yn dilyn y gallodd Ioan ysgrifenu yr adnod gyntaf o'r benod hon. **Eto yr wyf enyd fechan gyda chwi.** Enyd fechan, *a little while.* Yr oedd hi yn awr heibio wyth o'r gloch, am haner nos bydd yn garcharor yn nwylaw gwŷr y

33 â chwi. Chwi a'm ceisiwch: ac, megis y dywedais wrth
yr Iuddewon, Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi
ddyfod; yr ydwyf yn dywedyd wrthych chwithau hefyd yr
34 awrhon. Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi,
Ar garu o honoch eich gilydd; fel y cerais i chwi, ar garu
35 o honoch chwithau bawb eich gilydd. Wrth hyn y

---

gwaewffyn. Nid oes ond prin pedair awr i fod gyda'u gilydd y tu yma i angeu. "O blant bychain, byr yw yr enyd y byddwn gyda'n gilydd; gadewch i ni wneyd y goreu o'r amser i hysbysu i chwi a allaf o'r hyn sydd yn fy nghalon, sut y bydd hi arnoch chwi a fi wedi ein gwahanu?" **Chwi a'm ceisiwch.** Bydd fy lle yn wâg iawn yn y cwmpeini. Megis plant amddifaid yn hiraethu am eu mham, byddwch chwi yn fy ngheisio i, ac yn taer ddymuno am fy mhresenoldeb yn eich plith. **Ac megis y dywedais wrth yr Iuddewon.** Mor ddynol! Yr Iesu yn dyfynu ei hunan. "Yr Iuddewon"—y mae yn awr yn rhanu y genedl yn ddau wersyll, yr Iuddewon ar un ochr, Efe a'i ddysgyblion ar yr ochr arall. **Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod.** Llefarodd hynyna wrth yr Iuddewon yn vii. 34 a viii. 21, a dywed hynyna wrth y dysgyblion. Llefarodd hefyd wrth yr Iuddewon, "Ni'm cewch, eithr chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau"; ond ni wnaeth yr ychwanegiad yna wrth y dysgyblion—gwahaniaeth tra phwysig. Nid allasai yr Iuddewon fyned i'r nefoedd ato Ef oblegid anghydnawsedd ysbryd a chymeriad—yr oedd rhwystrau moesol yn gystal a rhwystrau lleol ar eu ffordd, anhawsderau *subjective* yn gystal ag anhawsderau *objective*. Ond am y dysgyblion lleol ac allanol oedd y rhwystrau, ac nid moesol a thufewnol; oherwydd paham gellid mewn amser eu symud. **Felly yr awrhon yr wyf yn dywedyd wrthych chwithau.** "Yr awrhon" (*arti*): y mae y dywediad yn dàl yn wir am danoch chwithau yr "awrhon"—ond ni phery yn wir yn hir, canys "mi a ddeuaf ac a'ch cymeraf ataf fy hun." Y fath wahaniaeth a wna y gair bach yr "awrhon" rhwng tynghed y dysgyblion a thynghed yr Iuddewon. Ysgariad yr "awrhon" yw rhwng y dysgyblion a Christ, ysgariad am byth ydyw rhwng yr Iuddewon a Christ.

**ADN. 34. Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd; fel y cerais i chwi, ar garu o honoch bawb eich gilydd.** Y cwestiwn cyntaf i'w benderfynu yw, Beth yw y gorchymyn? Beth yw ei gynwys? (1) Etyb Lange ac eraill nad oes gysylltiad eglur ac uniongyrchol rhwng yr adnod flaenorol a'r adnod hon; ac mai yn y cyfwng rhwng y ddwy y sefydlwyd Sacrament y Swper. Wrth sefydlu yr ordinhad hon, dywedodd yr Iesu, "Gwnewch hyn er coffa am danaf." Dyna felly yw y gorchymyn—y gorchymyn i gyfranogi o'r Cymun bendigaid; "fel" (*hina*), gyda'r amcan o feithrin ynom gariad brawdol. Fel pe dywedasai yr Iesu: Cofiwch fy marwolaeth yn y Swper Sanctaidd, canys arddengys i chwi fy nghariad i atoch, ac o ganlyniad bydd yn gymhelliad ac esiampl i chwi i garu eich gilydd. Rhaid cyfaddef fod yr eglurhad hwn yn meddu llawer o wychder, ac yn rhoddi llawn chwareu teg i'r cysylltair "fel" (*hina*), yr hwn a fynychir ddwywaith, er arddangos bwriad neu amcan. Ac eto teimlwn nad yw yn eistedd yn

hollol esmwyth ar y meddwl, oblegid dau reswm. Yn gyntaf gan fod ansicrwydd hollol am yr adeg y sefydlwyd y Swper, rhaid fod yr ansicrwydd hwnw yn dyfod i fewn i'r esboniad hwn. Anhawdd meddwl fod Ioan yn ysgrifenu adnod sylfaenedig ar ac egluredig gan amgylchiad na chrybwylla air am dano. Un wers yr ydym wedi ei ddysgu yn ein hefrydiaeth o'r efengyl hon yw ei bod yn ddigonol i esbonio ei hun. Yn ail, "cyfamod" (*diathēke*) yw y gair a ddefnyddia yr Iesu yn hanes y Swper—cyfamod newydd; ond yma "gorchymyn" (*entolē*)—gorchymyn newydd. (2) Gorfodir ni gan hyny i ddarganfod cynwys y gorchymyn, nid yn yr efengylau eraill, ond yn yr adnod hon ei hun—gorchymyn i ni i garu ein gilydd. Nid cynghor mohono, rhywbeth y gallwn ei wneyd neu beidio, ac eto bod yn wir ddilynwyr i Grist; ond gorchymyn—rhywbeth sydd yn hanfodol i Gristionogaeth, rhywbeth y rhaid ufuddhau iddo neu beidio bod yn ddysgyblion. Y mae rhyw rasau nad ydynt hanfodol i'n crefydd, er yn fanteisiol i'w chyfanrwydd; ac felly gall dynion fyned i'r nefoedd er yn dra diffygiol ynddynt. Ond y mae cariad brawdol yn hanfodol i grefydd, ac o ganlyniad i iachawdwriaeth: pwy bynag sydd heb garu ei frodyr, y mae yn aros mewn marwolaeth. Gorchymyn, nid cynghor: gwae y gwr, gan nad faint ei gyfoeth neu ei dalentau, sydd heb ufuddhau iddo.

Yr ail gwestiwn i'w ystyried yw, Beth sydd yn newydd yn y gorchymyn i garu? Ateb Gerhard, ac nid annhebyg yr eiddo Bengel, yw mai newydd yn yr ystyr o ychwanegol. Yn adn. 14, 15, dywed yr Iesu: "Am hyny, os myfi, yn Arglwydd ac yn Athraw, a olchais eich traed chwi, chwithau a *ddylech* olchi traed eich gilydd"—gorchymyn i ostyngeiddrwydd. Yn yr adnod hon rhydd yr Iesu orchymyn ychwanegol at hwnyna ac eraill ag oedd wedi eu rhoddi er cychwyniad ei weinidogaeth—"Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd." (2) Ateb Calfin yw mai adnewyddiad o'r hen orchymyn a olygir. Megis weithiau y mae hen ddeddf, ag oedd wedi syrthio i ebargofiant mewn teyrnas, yn cael ei hailgyhoeddi a'i gwisgo ag awdurdod adnewyddol, felly cymer Crist yma afael yn hen ddeddf sylfaenol cymdeithas ddynol, yr hon oedd wedi syrthio i ddinodedd yn mucheddau preswylwyr y ddaear, a derchafa hi i fod yn ddeddf ganolog, lywodraethol teyrnas nefoedd. (3) Heb son am egluriadau eraill, teimlwn nad yw y naill na'r llall o'r esboniadau hyn yn rhoddi llwyr esmwythyd i'r meddwl. Gorfodir ni, gan hyny, os gallwn, i chwilio am ystyr dyfnach a rhagorach. "Gorchymy nnewydd" (*entolēn kaimēn*). Y mae dau air Groeg yn cael eu cyfieithu yn "newydd" yn y Beibl Cymraeg, *kainos* a *neos*. Wrth droi i'r Geiriadur cawn mai ystyr *kainos* yw—"*nid diweddar, ond gwahanol i'r hyn oedd yn bod o'r blaen; newydd, fel yn dyfod yn lle yr hyn oedd yn arferol o fod.*" Gan hyny, nid yw y drychfeddwl o amser yn cael lle amlwg yn y gair, nac o bosibl le o gwbl. Drachefn, ystyr y gair *neos* yw—"*ieuangc, newydd, fel peth wedi cael bôd yn ddiweddar* (*lately originated*), *neu wedi ei sefydlu yn ddiweddar.*" Yn hwn y drychfeddwl o amser sydd yn cael y lle amlycaf. Yn Matt. ix. 17 cawn yr engraipht gyntaf o'r ddau air yn y Test. Newydd: "Ac ni ddodant win newydd (*neos*) mewn costrelau hen; eithr gwin newydd (*neon*) mewn costrelau newyddion (*kainous*), ac felly cedwir y ddau." Dyna y ddau air: gwin newydd (*neon*)—gwin ieuangc, newydd ei wasgu o'r grawnwin, heb ddiwedd eplesu. Costrelau

gwybydd pawb mai disgyblion i mi ydych, os bydd

---

newyddion (*kainous*), nid costrelau ieuaingc, newydd eu gwneyd—gallant fod yn grogedig yn y ty er ys misoedd, ond costrelau na ddefnyddiwyd mohonynt o'r blaen. Felly yma: gorchymyn newydd, nid newydd o ran amser, ond mewn rhyw ystyron eraill. Felly hefyd yr eglura Ioan ef yn 1 Ep. ii. 7, 8: "Y brodyr, nid gorchymyn newydd (*kainos*, newydd o ran amser) yr wyf yn ei ysgrifenu atoch, eithr gorchymyn hen (*palaian*, hen o ran amser), yr hwn oedd genych o'r dechreuad. Trachefn gorchymyn newydd (*neon*, newydd mewn rhyw ystyr amgen nag amser) yr wyf yn ei ysgrifenu atoch, yr hwn sydd wir ynddo Ef ac ynoch chwithau." Dyna y gorchymyn i garu ein gilydd, am yr hwn y dywed Ioan ddau beth: ei fod yn hen mewn ystyr amseryddol, ond ei fod yn newydd mewn rhyw ystyr bwysig arall.

Yn gymaint nad newydd o ran amser a feddylir, yn mha ystyr y mae yn newydd? (1) Etyb rhai mai newydd o ran ei wrthrychau. Iuddew yn caru Iuddew oedd yn yr hen, caru pawb yn ddiwahaniaeth sydd yn y newydd. (2) Newydd o ran ei gynllun, medd eraill. "Megis y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd." Pa fodd y carodd Crist ni? Hyd angeu. Pa fodd y dylem ninau garu ein gilydd? Hyd angeu. Yma y gwel Cyril newydd-deb y gorchymyn: "câr dy gymydog fel ti dy hun" (Lef. xix. 18) oedd yr hen orchymyn; "câr dy gymydog yn fwy na thi dy hun" yw y newydd. Y mae *tide* y cariad yn codi. (3) Newydd yn ei gymhelliad, medd eraill. Caru ein gilydd ar dir cenedlgarwch oeddis dan yr Hen Oruchwyliaeth—caru "meibion ei bobl," Iuddew yn caru Iuddew am mai had Abraham oeddynt eill dau; ond dan yr Oruchwyliaeth Newydd caru ein gilydd, nid er mwyn gwlad, ond er mwyn Crist. Gelwir arnom i garu pobl erwin ac anhynaws; ond pa le y ceir cymhelliad digon cryf i berswadio y galon ddynol i wneuthur hyny? Dim ond yn Nghrist. Cyflawnwn lawer o bethau er "mwyn ei Enw Ef" na chyflawnem er mwyn neb arall. (4) Ond cynwys hyn fod egwyddor newydd, o natur uwch, yn yr enaid, cariad Duw wedi ei dywallt ar led yn ein calonau ni. Gan hyny, cariad dwyfol yw cariad y brodyr at eu gilydd, cariad o'r un natur a chariad Crist at ei eglwys. Dyna, y mae yn debyg, yw ystyr y gair "megis" (*kathōs*, nid *osper*); "megis y cerais i chwi, ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd"—megis o ran natur, yn hytrach nag o ran mesur. Y mae y cariad brawdol ag sydd yn nodweddu Cristionogaeth yn wahanol, nid yn unig mewn graddau, ond hefyd mewn natur i ddim ag oedd yn y byd yn flaenorol; nid ychwaneg o'r un peth ag oedd yn y byd o'r blaen sydd yma yn cael ei orchymyn, ond cariad o natur wahanol—cariad Duw ar led yn ein calonau ni.

**ADN. 35. Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych.** Y cariad newydd hwn mewn cymdeithas oedd i fod yn *badge* dysgyblion i bwy oeddynt: dyma y nod cyfrin, na, y nod cyhoedd, fod dyn yn ddysgybl i Grist, ac felly yn aelod o'r gymdeithas newydd a sefydlodd ar y ddaear. "Wrth hyn"—"hyn" yn bwysleisiol. "Carant eu gilydd cyn adnabod eu gilydd," meddai Minutius Felix am y Cristionogion boreuol. "Gwelwch, meddent, fel y carant eu gilydd," ysgrifena Tertullian (*Apol.* 39), "canys hwynthwy eu hunain a gashânt eu gilydd; ac fel y maent yn barod i farw dros eu gilydd, canys hwynthwy eu hunain

gennych gariad i'ch gilydd.
A Simon Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, i ba le yr 36
wyt ti yn myned? Yr Iesu a attebodd iddo, Lle yr ydwyf
fi yn myned, ni elli di yr awrhon fy nghanlyn: eithr ar ol
hyn y'm canlyni. Petr a ddywedodd wrtho, Arglwydd, 37
paham na allaf fi dy ganlyn yr awrhon? mi a roddaf fy

---

ydynt barotach i ladd eu gilydd." **Os bydd genych gariad i'ch gilydd.** Nid at eich gilydd, ond i'ch gilydd: nid cariad ydyw sydd yn cael ei atdynu gan hawddgarwch y gwrthrych, ond cariad sydd yn cael ei anfon allan gan ewyllys ail-anedig yr hwn sydd yn caru.

**ADN. 36. A Simon Petr a ddywedodd wrtho.** Simon Petr yw y cyntaf i ddechreu ar restr y cwestiynau. **Arglwydd, i ba le yr wyt ti yn myned?** Yn adn. 33 hysbysodd yr Iesu ei fod ef yn myned i le nas gallasai y dysgyblion ei ddilyn. Sefydlodd meddwl Petr yn bryderus ar yr ymadrodd, a gofynodd, Pa le yw hwnw? Rhaid ei fod yn lle rhyfedd, os gelli di gyrhaedd yno a ninau fethu; anturiwn ni gryn lawer i dy ganlyn di,—i ba le yr wyt ti yn myned? Dengys hyn mor bell o'u meddyliau oedd yr Angeu boreu dranoeth a'r gwynfyd ar ol hyny. **Yr Iesu a atebodd iddo, Lle yr ydwyf fi yn myned, ni elli di yr awrhon fy nghanlyn.** Dim yr "awrhon" (*arti*). Paham? (1) Meyer a Westcott a atebant, oherwydd anhawsderau allanol (*objective*). Nid oedd y ffordd i'r nefoedd eto wedi ei hagor, nid oedd Iawn wedi ei wneyd. Fel pe dywedasai yr Iesu, Ni elli ddyfod yr awrhon: y mae rhwystrau fel mynyddau ar y ffordd, a fi sydd i symud y rhai hyny; ond wedi i mi eu symud, bydd y ffordd yn agored i tithau wedi'n. (2) Ond Tholuck, Hengstenberg, a Luthardt a farnant mai moesol a thufewnol (*subjective*) oedd y rhwystrau, anaddfedrwydd grasusau Petr—nid oedd eto yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni. **Eithr ar ol hyn y'm canlyni.** (1) Y cyfeiriad cyntaf yn ddiau sydd at y lle. "I ba le yr wyt ti yn myned?" gofynai Petr. Ar ol hyn y'm canlyni i'r lle, cei ei weled drosot dy hun, yw ateb y Meistr. (2) Ond barna llawer y cynwysir y ffordd hefyd. Nid yn unig deui i'r un lle a fi, ond trafaeli yno ar hyd yr un ffordd, trwy groeshoeliad. Yn ol cyfieithiad Lladinaidd y *Vulgate*, "*Domine, quo vadis?*" A dyna enw eglwys y tu allan i ddinas Rhufain, oblegid ar y llecyn hwnw, yn ol traddodiad, y cyfarfyddodd yr Aglwydd Iesu a Phetr pan yn diangc rhag merthyrdod. "*Domine, quo vadis?*" "Arglwydd, i ba le yr wyt ti yn myned?" gofynai Petr iddo. A'r Iesu a atebodd, "I Rufain, i'm croeshoelio yn dy le di." A dychwelodd Petr i Rufain, lle y croeshoeliwyd ef a'i ben tua'r llawr; ac felly cyrhaeddodd le yr Iesu ar hyd ffordd yr Iesu.

**ADN. 37. Petr a ddywedodd wrtho, Paham na allaf fi dy ganlyn di yr awrhon? Mi a roddaf fy einioes drosot.** Os oedd Petr yn gwyro, gwyro ar y ddê yr ydoedd; y mae hyd yn nod ei golliadau yn ei anwylo i ni. Teimla Petr yn mrwdaniaeth yr ymddiddan fod mor dda ganddo ef am yr Iesu ag ydoedd gan yr Iesu am dano yntau. Yr oedd angerddoldeb ei deimlad yn fawr; gwelwn ef yn mhen dwy awr neu dair, a'i gledd yn ei law, yn rhuthro ei hunan ar y fyddin a anfonwyd i

38 einioes drosot. Yr Iesu a attebodd iddo, A roddi di dy
einioes drosof fi? Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Ni chân y
ceiliog nes i ti fy ngwadu dair gwaith.

---

ddàl yr Iesu. Gan nad faint a gondemnir arno gan ein barn, y mae ein calonau yn twymno ato.

**ADN. 38. Yr Iesu a atebodd iddo, A roddi di dy einioes drosof fi?** Ailedrydd eiriau Petr, fel pe ar y cyfan yr hoffai hwynt. Dyma un yn proffesu parodrwydd i farw trosto; yna nid oedd yr Ymgnawdoliad yn hollol ofer. Ond proffes sydd yma eto; nid yw Simon y Golomen wedi llwyr ddadblygu i Petr y Graig,—cymer y Golomen ddychryn yn y nos. Nid yw teimladau cryfion yn arwyddion anffaeledig o egwyddorion cryfion. Nid yr afon drochionog yw yr afon ddofn; ar y glanau lle nad oes fawr ddyfnder yr ewyna y Werydd,—yn y canol, symuda yn gryf odiaeth ond yn ddidrwst ryfeddol. **Yn wir, yn wir, meddaf i ti, ni chân y ceiliog nes i ti fy ngwadu deirgwaith.** Gan nad oedd clociau yr oesoedd hyny, hysbysai yr henafiaid yr amser wrth wrthrychau natur (Marc xiii. 35). Caniad y ceiliog oedd un o honynt, i ddynodi glasiad cyntaf y dydd. Tuag amser y Pasg hwn cymerai hyny le tua phedwar o'r gloch y boreu. Ond nid iaith ffugyrol yn unig ydyw, eithr prophwydoliaeth bendant o'r hyn a gyflawnai Petr: ceiliog yn canu; yn ol Efengyl Marc (Efengyl Petr) ceiliog yn canu ddwywaith, ac yntau yn gwadu deirgwaith. Mor eglur y rhagwelai yr Arglwydd Iesu holl fanylion ei farwolaeth. Megis y rhagfynegodd, felly y digwyddodd. Ond y mae un pwynt ag sydd yn hawlio sylw: yn ol Luc ac Ioan, yn yr oruwchystafell y cymerodd yr ymddiddan le; ond yn ol Matthew a Marc, ar y ffordd o'r oruwchystafell i Gethsemane. Pa fodd eu cysonir? (1) Un ffordd yw, fod Ioan yn dilyn y drefn amseryddol, yn gosod allan y ffeithiau yn y cysylltiadau yn y rhai y digwyddasant, tra nad yw y lleill yn dilyn yr olyniaeth amseryddol,—eithr yn hytrach yn tynu darlun ar ol darlun, ac yn gofalu fod pob darlun yn orphenedig cyn dechreu tynu y darlun nesaf. Rhydd hyn eglurder mawr i'r portreadau, ond ar draul aberthu amseryddiaeth y digwyddiadau. (2) Ffordd arall yw fod Petr wedi protestio fwy nag unwaith ei barodrwydd i farw mewn amddiffyniad o'r Athraw; ac o ganlyniad ei fod wedi ei rybuddio fwy nag unwaith o'r hyn oedd yn ei aros. Rhy anhawdd cysoni yr oll i foddlonrwydd pawb nag i'n boddlonrwydd ein hunain; ond yn nghanol yr amrywiaeth ar y wyneb canfyddir y cysondeb llwyraf yn rhediad cyffredinol yr hanes.

---

## PENOD XIV.

Nis gallwn wneyd yn well na rhoddi dyfyniad o Esboniad Olshausen: "Yr ydym yn dyfod o'r diwedd i'r adran hono o'r hanes efengylaidd ag y gallwn gyda phriodoldeb ei alw y Cysegr Sancteiddiolaf. Ein hefengylwr yn unig, megis offeriad cysegredig, a egyr i ni y Cysegr hwn. Gwneir ef i fynu o'r munydau diweddaf a dreuliodd yr Arglwydd yn mysg ei ddysgyblion cyn ei ddyoddefaint, pryd y dylifodd geiriau,

## PENOD XIV.

NA thralloder eich calon: yr ydych yn credu yn Nuw, 1
credwch ynof finau hefyd. Yn nhŷ fy Nhad y mae 2

---

llawn o feddwl nefol, dros ei wefusau sanctaidd. Yr oll ag oedd yn ei galon, yr hon a losgai gan gariad, ac ar ei feddwl, i'w ddywedyd wrth ei gyfeillion, a wasgwyd i'r amser byr hwn. Ar y dechreu, ymddiddanol oedd y cymundeb rhyngddo Ef â'i ddysgyblion; gan led-orwedd wrth y bwrdd, siaradent yn rhydd wrth eu gilydd. Ond wedi gorphen y Swper (xiv. 31), esgynodd iaith Crist i deithi mwy arddunol; ymdyrodd y dysgyblion o gylch eu Hathraw, gwrandawent ar eiriau y bywyd, heb yngan gair (oddigerth yn xvi. 17, 29). O'r diwedd yn ngweddi aruchel eiriolaeth y Pryniawdwr, tywalltwyd ei enaid llawn allan mewn erfyniadiadau pendant ar ran ei eiddo. . . . Hynodrwydd y penodau diweddaf hyn yw y trinir ynddynt y perthynasau dyfnaf, megis perthynas y Mab â'r Tad, a'r ddau â'r Ysbryd, a pherthynas Crist â'r eglwys, a'r eglwys â'r byd, ac yn y blaen. Heblaw hyny, y mae rhan o'r datguddiedigaethau hyn yn symud ar dir uwch nag oedd y dysgyblion eto wedi cyrhaedd iddo; o ganlyniad, y mae y Gwaredwr yn ail-adrodd yr un syniadau mewn trefn i'w hargraphu yn ddyfnach ar eu meddyliau; ac o barth i'r hyn nad oeddynt hyd yma yn ei ddirnad cyfeiria hwy at yr Ysbryd Glân, yr hwn a ddygai ei eiriau i'w cof ac a'u tywysai i bob gwirionedd."

Wrth edrych dros y tair penod—xiv., xv., a'r xvi.—gwelir, a siarad yn gyffredinol, fod un syniad llywodraethol yn eu gwahaniaethu y naill oddiwrth y llall. Ffydd yw baich penod xiv.—"credu" yw y gair sydd yn cael ei fynychu o'r dechreu i'r diwedd. Cariad yw baich penod xv.,—nid yw "credu" ynddi o gwbl, ond y mae "caru" yn cael ei adrodd a'i ail-adrodd. A "gobaith" yw baich penod xvi.: gwir nad yw y gair "gobaith" ynddi, ond amlwg fod ei gwyneb yn barhaus ar y dyfodol a sicrha lwyddiant y grefydd newydd yn y byd. Gan hyny, gweinyddir cryfder i'r tri gras Cristionogol—ffydd, gobaith, cariad. Ond swyddogaeth penod xiv. yw gweinyddu cysur i'r dysgyblion trwy gryfhau eu ffydd. Dringir i fynu yn raddol o'r adn. 1af, lle y gosodir allan eu trallod, hyd adn. 27, lle y ceir tangnefedd fel y môr er gwaethaf pob ystormydd allanol.

SYLFAEN GYNTAF EU CYSUR—ADUNIAD YN Y NEFOEDD. ADN 1—4.

**ADN. 1. Na chyffroer eich calon.** Mewn canlyniad i'r hysbysrwydd yr ydoedd newydd ei roddi iddynt,—bradwriaeth Judas, gwadiad Petr, a'i ymadawiad buan yntau—yr oedd meddyliau y dysgyblion megis môr mewn tymhestl. Gostegu yr ystorm yw ei amcan presenol. "Na thralloder eich calon." Yr un gair a gyfieithir yn y Gymraeg yn

"dralloder" ag a gyfieithir yn xi. 33, xii. 27, xiii. 21 yn "gynhyrfwyd" (*tarassō*). Diau fod trallod yn un elfen bwysig yn y "cynhwrf," ond nid hi oedd yr unig elfen. Yr oeddynt wedi eu taflu i syfrdandod, a'u calon fel trobwll. Ni raid i ni ddyfalu gyda Reynolds fod yno ubain ac wylofain—yr oedd ei syfrdandod yn rhy ddisyfyd a dwfn i hyny; ond amlwg yw y dirdynid eu teimladau gan lawer o *cross-currents* cryfion. Tybia amryw o'r prif esbonwyr mai rhwng y benod ddiweddaf a'r benod hon y cymerodd le sefydliad y Swper; ond nis gallwn ni lai na chredu fod eu meddyliau yn rhy derfysglyd i gyfranogi o'r ordinhâd i ddim adeiladaeth yn y cyfwng presenol,—rhaid i'r Swper gymeryd lle yn gynarach neu ddiweddarach. "Na chyffroer eich calon." Calon, nid calonau: yr oedd un teimlad terfysglyd wedi eu meddiannu oll. Teirawr yn ol ymrysonent pwy oedd fwyaf: yn ngwres y brofedigaeth y maent wedi toddi yn un—nid oes dim fel tân am asio. Nid yw yr Arglwydd Iesu yn ymhelaethu dim ar ei ddyoddefiadau ei hunan, ond y mae yn llawn *concern* am drallodion y dysgyblion, treulia ei oriau olaf i'w diddanu a'u gwroli. Nid rhyfedd y dywed Ioan iddo eu "caru hyd yr eithaf."

**Yr ydych yn credu yn Nuw, ynof finau hefyd credwch.** Oherwydd fod y modd gorchymynol a'r modd mynegiadol yn y Groeg yn gyffelyb, gellir cyfieithu y cymal hwn mewn pedair ffordd:—

1. Credwch yn Nuw; credwch ynof finau hefyd.
2. Yr ydych yn credu yn Nuw; credwch ynof finau hefyd.
3. Credwch yn Nuw; yr ydych yn credu ynof finau hefyd.
4. Yr ydych yn credu yn Nuw; yr ydych yn credu ynof finau hefyd.

Tra y mae yr esbonwyr yn gwrthod gyda gradd o unfrydedd y ddau olaf, amrywiant gryn lawer gyda golwg ar y ddau gyntaf. (1) Cyfieithia Ebrard: "Credwch yn Nuw; yr ydych yn credu ynof finau hefyd." Nid oes dim yn erbyn y cyfieithiad hwn ar dir gramadeg, ond y mae llawer yn ei erbyn ar dir athrawiaeth. Nid yw credu yn Nuw o angenrheidrwydd yn cynwys credu yn Nghrist,—nid yw Deistiaeth bob amser yn arwain i Gristionogaeth. Pobl sydd yn proffesu credu yn Nuw, fel yr Undodiaid, yw y gwrthwynebwyr cryfaf i gredu yn Nghrist. (2) Cyfieithia Luther: "Yr ydych yn credu yn Nuw; yr ydych yn credu ynof finau hefyd." Braidd na feddyliem fod y cyfieithiad hwn yn rhoddi desgrifiad rhy gryf o ffydd bresenol y dysgyblion—yr oedd eu ffydd ar ballu, ac nid oedd ond enyd fechan er yr hysbysodd yr Iesu hwynt iddo weddio drostynt na ddiffygiai eu ffydd. (3) Meyer, Godet, Westcott ac eraill a gyfieithiant: "Credwch yn Nuw; credwch ynof finau hefyd." Felly darllenant yr holl adnod yn y modd gorchymynol. "Na thralloder eich calon"—gorchymyn nacaol. "Credwch yn Nuw, credwch ynof finau hefyd"—gorchymyn cadarnhaol. Duw a Finau! Ac y mae yn deilwng o sylw na ddefnyddir y ferf "credu" gyda yr arddodair a'r *accusative case* yn unman yn y Test. Newydd mewn cysylltiad â chreadur, dim ond â Duw yn unig. O ganlyniad, gesyd yr Arglwydd Iesu ei hunan allan yn gydradd â Duw. Oherwydd paham nid yw y geiriau yn golygu dwy weithred wahanol ar ddau wrthrych gwahanol, ond canolbwyntiad eu ffydd yn Nuw yn eu ffydd yn Nghrist. Teimlad y galon ddynol yw fod Duw fel Ysbryd anfeidrol noeth yn anhawdd ei sylweddoli,—wrth weithredu ffydd arno teimlwn fel dynion yn ymdaflu ar awyr. I'n dål i fynu mewn treialon a phrofedigaethau, rhaid canolbwyntio Duw yn yr

Arglwydd Iesu. Duw yn Nghrist, y mae yn rhywbeth y medr dyn gael gafael arno â'i law, a'i deimlo dan ei draed. Y mae ffydd yn Nuw wedi gallu gwneyd gwrhydri (Heb. xi.); ond y mae ffydd yn Nuw yn Nghrist yn gallu cyflawni gweithredoedd mwy. Duw yn natur dyn, y mae yn *fulcrum* teimladol i'n ffydd i orphwys arno. (4) Ond er fod y cyfieithiad yna yn hollol dderbyniol ar dir gramadeg ac athrawiaeth, eto y mae y Cyf. Diw. wedi dewis glynu wrth yr hen ddarlleniad, "Yr ydych yn credu yn Nuw, credwch ynof finau hefyd." Er pob gwrthddadl gogwyddwn i fabwysiadu y diweddaf, canys efe a ymddengys i ni y cyfoethocaf. "Yr ydych yn credu yn Nuw." Y Bôd o Dduw ydyw gwirionedd sylfaenol pob crefydd, nid yn unig dwy grefydd Datguddiad, sef Iuddewiaeth a Christionogaeth, ond hefyd crefyddau Natur. Megis y mae haen y gwenithfaen yn gorwedd dan bob haen arall ac yn cynal yr oll, felly y mae y gwirionedd am y Bôd o Dduw a'i briodoliaethau yn gorwedd dan bob crefydd, naturiol a datguddiedig, yn sylfaen ac yn ddechreuad yr oll. Yr oedd yn wirionedd canolog mewn Iuddewiaeth—yr oedd yr Un-ar-ddeg yn credu yn Nuw, yr oedd y sylfaen gyntaf yn ddyogel ganddynt. Yr hyn oedd yn anghenrheidiol yn awr oedd eu cael i arfer yr un ffydd ddigryn yn yr Arglwydd Iesu ag a weithredent ar Dduw,—"credwch ynof finau hefyd." Yr oeddynt yn ymdrechu yn yr iawn gyfeiriad, ond heb gyrhaedd i "uchelderau mawr ei Dduwdod," heb feddu argyhoeddiad dwfn sefydlog am ei Berson fel cydradd a Duw. Anoga yr Iesu hwynt yma i feithrin yr un ffydd ynddo ei hun ag yn Nuw. Duw—Finau. Dengys xvi. 29, 30 iddynt o'r diwedd wneyd yr anturiaeth ofnadwy. Yn wir, y ffordd i gadw ffydd yn Nuw yn gref a gloew ydyw credu yn Nghrist. Yn ebrwydd y cyll dynion eu ffydd yn yr olaf, â eu ffydd yn y blaenaf yn egwan a niwliog. Pan y *driftia* awduron diweddar oddiwrth Dduw fel y mae yn ddatguddiedig yn Nghrist, syrthiant yn ddios i bwll diwaelod Atheistiaeth neu suddant yn nghors sigledig Pantheistiaeth. Mewn Cristionogaeth yn unig y mae gwirioneddau crefyddau Natur yn ddyogel.

ADN. 2. **Yn nhy fy Nhad y mae llawer o drigfanau.** Beth a feddylia wrth Dŷ ei Dad? (1) Etyb lluaws mai y greadigaeth yn amrywiaeth ei bydoedd. Aiff Lange mor bell a dychymygu mai yn yr awyr agored y llefarai y geiriau, a'i fod yn cyfeirio â'i fys at y mil myrdd ser a frithent ffurfafen y nos, er y dywed Ioan mai yn yr oruwchystafell yr ydoedd (xv. 31). Dilys y llefarai y beirdd Hebreig a Chenhedlig am y greadigaeth fel palas y Brenhin mawr; ond teimla pob Cristion nad yw y syniad o eangder y greadigaeth yn ffynhonell diddanwch i neb mewn trallod. (2) Gan hyny, rhaid y cyfeirir at gartrefle Duw, y màn hwnw yn y cyfanfyd yr aeth Crist iddo yn ei gorph oddiar fynydd yr Olewydd, ac a adnabyddir yn iaith Cristionogaeth fel "Nefoedd." Prif ddrychfeddwl y nefoedd yn ddiau yw "ystad"; ond drychfeddwl llawn mor hanfodol, er nad mor bwysig, ydyw *lle*. Y mae rhyw fàn lle y datguddia Duw ei hun mewn modd arbenig, lle yr eistedd Crist yn ei gorph gogoneddus, gweledig i lygaid y saint. Pa le ydyw ofer dyfalu: feallai mai y canolbwynt sefydlog o gwmpas yr hwn y cylchdroa y cread mewn rheoleidd-dra oesol. Sonia yr Iuddewon am saith nefoedd, a Phaul am dair (2 Cor. xii. 2); ond y mae rhyw nefoedd arbenig yn bod, Ty ein Tad, ein Cartref tragwyddol. Dyma gan hyny un elfen o gysur: yn y byd gorthrymder a gewch, ond y mae—Cartref!

llawer o drigfannau: a phe amgen, mi a ddywedaswn i

---

Pa beth a olygir wrth y "llawer o drigfanau"? Ni ddefnyddir y term am "drigfanau" (*monai*) ond yma ac yn adn. 23,—lleoedd i aros ynddynt. Felly trosglwydda y gair Cymraeg "trigfanau" y drychfeddwl yn gywirach na'r gair Saesonaeg "*mansions*," yr hwn yn ein hoes ni a ddynoda balasdai, ond yn yr oesoedd gynt "gorphwysfanau," yr ysbyttai i drafaelwyr gael lluniaeth a llety (*mansions*=*manses*, *from manere, menein*, to *abide*). Yn marn rhai esbonwyr megis Godet cyffelyba yr Arglwydd Iesu Dŷ ei Dad i balasdai harddwych, ehang, pendefigion dwyreiniol—cyflawnder o ystafelloedd ar gyfer pawb. Ond credwn ni mai cydmariaeth ydyw oddiwrth y Deml yn Jerusalem,—Ty ei Dad oedd yr enw a roddai Efe arni bob amser (Luc. ii. 49; Ioan ii. 16), yn mha un yr oedd ystafelloedd lawer er cyfleustra i'r offeiriaid a'r addolwyr. Teml yw y nefoedd, lle sanctaidd, a thrigfanau lawer ynddi er cysur y saint. Ond pa wirionedd a ddymunai yr Arglwydd Iesu gyflwyno trwy y "trigfanau lawer?" (1) Etyb Chrysostom, Awstin, ac eraill, mai amrywiaeth graddau a feddylir—gwahaniaeth rhwng sant a sant megis y sydd rhwng seren a seren mewn gogoniant. (2) Nis gallwn ni, fodd bynag, lai na thybied mai ehangder y lle a helaethrwydd y darpariaethau yn yr arall fyd ar gyfer y saint sydd yn benaf mewn golwg. "Llawer o drigfanau"—digon i le i bawb. "Llawer o drigfanau"—gan hyny, rhaid cael llawer o bobl i'w llanw, tyrfa fawr nas gall neb eu rhifo. Bydd nifer y saint a nifer y trigfanau yn gyfartal.—dim un ty gwâg trwy y gogoniant i gyd. Dyma ddefnydd cysur i'r Un-ar-ddeg,—rhaid i'r cwmni chwyddo.

**A phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi.** Yma eto y mae anhawsder yr esboniad i raddau yn cyfodi oddiar amrywiaeth y cyfieithiadau. (1) Mŷn Lange ac Ewald ddarllen y frawddeg fel gofyniad, "A phe amgen, a ddywedaswn i hyny i chwi?" gan gyfeirio at ryw ddywediad blaenorol o'i eiddo. Ond gan nad oes goffhâd am y fath ddywediad, ofer adeiladu arno. (2) Mŷn eraill gyfieithu, "a phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi, Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Hyny yw, pe na fuasai trigfanau ddigon yn y nefoedd ar gyfer yr holl saint, mi awn i yno i helaethu y terfynau ac i adeiladu preswylfeydd newyddion. (3) Ond rhagorach o lawer, yn ein barn ni, yw y darlleniad yn y Beibl Cymraeg a'r Cyf. Diw., "a phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi." Seilia Crist ei osodiad am anfarwoldeb dedwydd i'w ganlynwyr ar ei onestrwydd ei hun, gonestrwydd adnabyddus hollol i'r dysgyblion. Arfer y prif athronwyr erioed yw sylfaenu y ddadl am anfarwoldeb yr enaid ar onestrwydd y Creawdwr. Gan ei fod wedi planu ynom reddfau sydd yn dyheu am anfarwoldeb, gallwn *drustio* y greddfau, gallwn ymddiried yn Nuw megis i Greawdwr ffyddlawn, ffyddlawn i waith ei ddwylaw, gonest drwyadl yn ei holl drafodaeth â'i greaduriaid. Os yw Duw wedi planu greddf yn y wenol, pan y mae y gwybed yn prinhau yn Mhrydain, i ymfudo i Affrica, a ydyw Efe yn twyllo yr aderyn? Na; y mae y reddf yn wystl fod Duw yn onest—caiff y wenol wybed ddigon yn nghorsydd Senegambia. Os yw Duw yn ffyddlawn i reddf yr aderyn, a sioma Efe reddf y dyn a greodd ar ei lun ac ar ei ddelw? Na, meddai yr athronwyr, gellir ymddiried yn ngonestrwydd Duw—nid yw Efe yn gosod haner

chwi. Yr wyf fi yn myned i barottôi lle i chwi. Ac os 3
myfi a âf, ac a barottôaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn,
ac a'ch cymmeraf chwi attaf fy hun; fel lle yr wyf fi, y

---

trawstiau yn y cread. Pa sicrwydd sydd genym o anfarwoldeb gogoneddus i'r saint yn gorph ac enaid? Nis gallwn ddwyn yn mlaen brofion gwyddonol, rhaid i ni ymddiried yn ngeirwiredd a gonestrwydd yr Arglwydd Iesu. Nid ydyw wedi datguddio i ni holl gynwys y nefoedd; ond pe na byddai gwynfyd yn ein haros, Efe a'n didwyllai. Treiddia diffuantrwydd tryloew trwy ei holl ddysgeidiaeth.

**Canys yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi.** Y mae y cysylltair "canys" yn y prif lawysgrifau, ac felly mabwysiedir ef yn y Cyf. Diw. Ond beth yw swyddogaeth y "canys"? Rheswm am ba beth sydd yn y frawddeg hon? (1) Cysyllta Meyer ddiwedd yr adnod a'i dechreu, gan edrych ar y frawddeg ganol fel cymal cromfachol: "Y nhy fy Nhad y mae llawer o drigfanau, canys yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi." Prawf fod yno drigfanau lawer yn aros ei bobl yw ei fod Ef ei hunan yn myned yno i'w harolygu. (2) Ond cred Luthardt, a dilynir ef gan Westcott, mai rheswm sydd yma, nid dros y frawddeg gyntaf, ond dros y frawddeg ganol,—h.y. rheswm, nid dros fod trigfanau lawer yn y nefoedd, ond dros beidio eu gadael hwy mewn ansicrwydd. Ond pa beth a feddylir wrth fod yr Iesu yn myned i'r nefoedd i barotoi lle i'w bobl? Rhydd y Parch. Evan Roberts, Dolgellau, yn ei Esboniad bedwar ateb cynwysfawr: (1) "Trwy agor y ffordd i roi *hawl* i'r lle; (2) trwy feddiannu y lle yn enw ei bobl fel Rhagflaenor; (3) trwy fyned yno i fod yn atdyniad iddynt i ddyfod ar ei ol; (4) i beri eu bod yn gartrefol yno wedi cyrhaedd." Ond a yw hynyna yn dihysbyddu y meddwl? Tybiwn ni nad ydyw. Megis yr oedd gan yr Arglwydd Iesu waith pwysig i'w gyflawni ar y ddaear ar ran pechaduriaid, felly y mae ganddo waith lawer i'w gyflawni yn y nefoedd ar eu cyfer—parotoi y nefoedd ar gyfer eu dyfodiad. "Aeth i mewn i'r Cysegr trwy ei waed" —y mae yr Iawn yn achos cyfnewidiad er gwell yn y nefoedd; ac yn rhinwedd ei Iawn, y mae Efe, nid yn segura, eithr yn llawn diwydrwydd yn y gogoniant. Pa beth y mae yn ei wneuthur yn ei fanylion ni hysbysir; ond y mae yno yn gweithio ar ran pechadur. O wirionedd arddunol! Yr Arglwydd Iesu yn yr arall fyd, yn nghanol y gogoniant, yn llawn diwydrwydd ar ran ei bobl,—yn parotoi y nefoedd ar ein cyfer! Rhaid y bydd yn lle gogoneddus a hyfryd pan y bydd y Gwaredwr bendigedig wedi rhoddi iddo y *finishing touch*. Barddoniaeth, gwaedda y beirniaid, dull ffugyrol yr Arglwydd Iesu o lefaru. Ie; ond mewn gwir farddoniaeth y mae y gwirionedd bob amser yn fwy na'r ffugr, y sylwedd yn fwy na'r wisg.

**ADN. 3. Ac os myfi a af ac a baratoaf le i chwi.** Nid "os" o amheuaeth ond o gadarnhâd. "Os"=yn gymaint. **Yr wyf yn dyfod drachefn, ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun.** Nid "mi a ddeuaf," yn yr amser dyfodol, ond "yr wyf yn dyfod," yn yr amser presenol. At ba ddyfodiad y cyfeiria? Cawn bedwar dyfodiad o'i eiddo yn y Test. Newydd. (1) Dadleua Ebrard mai ei ddyfodiad yn ei Adgyfodiad sydd yma mewn golwg. Dychwelodd ei enaid o'r sefyllfa dragwyddol i undeb bywydol â'r corph, ac am ddeugain niwrnod dangosai

4 byddoch chwithau hefyd. Ac i ba le yr wyf fi yn myned,
5 chwi a wyddoch, a'r ffordd a wyddoch. Dywedodd

---

ei hun i'w ddysgyblion—profodd iddynt ei fod yn fyw ar ol marw a bod ganddo *right of way* o'r naill fyd i'r llall. (2) Olshausen a Godet a farnant mai ei ddyfodiad ysbrydol ar ol y Pentecost a feddylir. "Wele, yr wyf fi gyda chwi bob dydd hyd ddiwedd y byd"—yr Iesu trwy ei Ysbryd yn nghanol ei eglwys. (3) Yn ol Tholuck, Lange, a Hengstenberg, ei ddyfodiad at bob sant yn yr angeu, i'w gymeryd ato ei hun. Gwrthddadleua Meyer mai nid Crist sydd yn dyfod at y credadyn yn yr angeu, ond y credadyn sydd yn myned at Grist. Ond y mae y ddwy ffordd o ymadroddi, ni goeliwn, yn gywir. Nid yw yr enaid yn yr angeu yn *launchio* i wagle tragwyddoldeb heb neb i'w dywys i'w gartref penodedig. Mae un megis "Mab y Dyn" yn bugeilio ei ddefaid. Gwelodd Stephan Ef, a gwelodd ugeiniau Ef ar ol hyny. (4) Ond credai y Tadau Cristionogol, a Chalfin, Luthardt, a Meyer yn mhlith esbonwyr diweddar, mai cyfeiriad sydd yma at ei Ail Ddyfodiad, pan y dychwel i gyrchu adref "bryniad y pwrcas." Dadleua Luthardt nad yw y Beibl yn cydnabod ond dau ddyfodiad o eiddo yr Arglwydd Iesu—ei Ddyfodiad Cyntaf yn y cnawd a'i Ail Ddyfodiad ar gymylau y nef. Ond y mae amser presenol y ferf "yr wyf yn dyfod" (*erchomai*) yn ein rhwymo i gymeryd i gyfrif ryw ddyfodiad agos o'i eiddo, ac felly onid doeth ydyw cymeryd y geiriau fel yn cynwys pob dyfodiad o'i eiddo hyd ddiwedd y byd? "Yr wyf yn dyfod" o du yr Iesu yw holl hanes yr Oruchwyliaeth Efengylaidd (Dat. xxii. 20). "*Dechreuir* yr *erchomai* hwn," meddai Alford, "yn ei adgyfodiad (adn. 18), dygir ef yn mlaen yn y bywyd ysbrydol (xvi. 22), eu paratoi hwy ar gyfer y lle paratoedig; dygir ef yn mlaen yn mhellach pryd y cyrchir pob un trwy angeu i fod gydag Ef (Phil. i. 23); a llawn orphenir ef yn ei ddyfodiad Ef mewn gogoniant, pan y byddant byth gydag Ef mewn ystad berffeithiedig ar ol yr adgyfodiad." **Fel lle yr wyf fi, y byddoch chwithau hefyd.** Y ferf yn y presenol am dano ei hun, yn y dyfodol am ei ddysgyblion. "Wyf fi"—"byddwch chwi." Er pwysleisio yr undeb agosaf rhyngddo Ef a hwy, eto ymgripia i'r golwg air neu frawddeg sydd yn gosod allan wahaniaeth anfesurol rhyngddynt. "Bod gyda Christ": dyna nefoedd y saint. Gan nad pa mor ogoneddus y trigfanau nefol, gwâg oll heb Grist. Gwell Crist heb nefoedd na nefoedd heb Grist.

AIL SYLFAEN CYSUR—Y FFORDD I'R NEFOEDD WEDI EI DATGUDDIO. ADN. 4—11.

**ADN. 4.** Cawn yma eto ddau ddarlleniad. Y cyntaf yw yr un arferol: **Ac i ba le yr wyf fi yn myned chwi a wyddoch, a'r ffordd a wyddoch.** Amddiffynir y darlleniad hwn gan Cyril a Chrysostom, Hengstenberg a Godet. Y darlleniad arall, yr hwn a ategir gan Meyer a Westcott, ac a fabwysiedir yn y Cyf. Diw. yw, **Ac i ba le yr wyf fi yn myned iddo, chwi a wyddoch y ffordd.** Yn y naill ddarlleniad neu'r llall, y mae y pwyslais yn syrthio ar "fi." Y mae y gwahaniaeth rhyngddynt yn fwy mewn geiriau na meddwl; canys os ydys yn gwybod y ffordd, yr ydys hefyd yn gwybod y lle,—y mae gwybodaeth o'r naill yn cynwys

Thomas wrtho, Arglwydd, ni wyddom ni i ba le yr wyt ti
yn myned; a pha fodd y gallwn wybod y ffordd? Yr Iesu 6
a ddywedodd wrtho ef, Myfi yw y ffordd, a'r gwirionedd,

---

gwybodaeth o'r llall, gwybodaeth ranol y mae yn wir, ond gwirioneddol serch hyny.

**ADN. 5. Dywedodd Thomas wrtho.** Dyma yr unig waith yr enwir Thomas heb ei gyfenw Didymus. Paham yma? Am y rheswm, meddai Hengstenberg, mai nid yn ei gymeriad unigol y llefara, ond fel cynrychiolydd ei gyd-ddysgyblion—datganai ef eu teimlad oll. Gwelwn, fodd bynag, yn ei ofyniad yr un nodweddion personol ag a'i hynodant yn y cyfeiriadau eraill ato (xi. 16; xx. 25)—parch i'w Arglwydd, ac eto anmharodrwydd i gredu yn mhellach nag oedd yn ddeall. Os y cyfriniol oedd gryfaf yn Ioan, y deallol oedd gryfaf yn Thomas—dyheuai am syniadau clir a phrofion pendant. **Arglwydd, ni wyddom ni i ba le yr wyt ti yn myned; pa fodd y gwybyddwn y ffordd?** Y mae yn amlwg fod Thomas, ac yn wir yr holl ddysgyblion, yn methu cymeryd gafael yn y syniad mai ysbrydol oedd teyrnas yr Arglwydd Iesu, ac mai am ei ymadawiad i'r byd ysbrydol y llefarai. Yr Iesu yn myned ymaith i drigfanau heirdd, a ninau i'w ddilyn yn fuan: yn mha le y bwriada osod i fynu ei lywodraeth? Nid yn Jerusalem y mae yn amlwg; yn mha ddinas ynte? A chan na wyddom i ba le y mae yn myned, pa fodd y gwybyddwn y ffordd fel y gallom drafaelu yno ar ei ol? Y syniad am deyrnas ddaearol oedd yn dallu eu meddyliau. Ond pa fodd y cysonir haeriad Crist Y lle a wyddoch a'r ffordd a wyddoch, â gwadiad Thomas, Ni wyddom ni na'r lle na'r ffordd? A gamsyniodd yr Iesu am sefyllfa eu gwybodaeth? (1) Un ateb yw mai meddwl yr Iesu oedd y dylasent wybod. (2) Ateb arall yw, nid na wyddent ddim, ond na wyddent ddigon i fod yn arweiniad sicr iddynt. (3) Diau mai yr ateb priodol yw y gwyddent, er nad oeddynt hwy wedi dadansoddi cynwys eu gwybodaeth; yn ngeiriau Awstin, ni wyddent y gwyddent. Yr oedd Thomas a'i gyd-ddysgyblion, meddai Trapp, fel dynion yn chwilio am allweddau, a'r allweddau yn eu dwylaw.

**ADN. 6. Yr Iesu a ddywedodd wrtho.** Sylw bwngleraidd oedd yr eiddo Thomas; ac eto, yn gymaint a'i fod yn sylw difrifol a gonest, rhoddodd yr Arglwydd Iesu iddo ateb parchus a chynwysfawr. Manteisiol i ddeall ei feddwl fydd cymeryd y tri gair sydd yn canlyn yn gyntaf ar wahân, ac yna ymdrechu darganfod eu perthynas a'u gilydd. **Myfi yw y ffordd.** Rhydd Thomas bwyslais ar y lle, iddo ef gwybodaeth o'r lle oedd o bwys. Ond dengys yr Iesu yma fod gwybod y ffordd yn bwysicach na gwybod y lle. Ond gwybod y ffordd y mae dyn yn rhodio ynddi yn ei fuchedd ar y ddaear, ni raid petruso am y lle yr ä iddo ar ol marw. Ond gair ffugyrol yw ffordd pan ei cymhwysir at berson,—beth ynte yw y meddwl heb ffugr? Mai Efe yw y cyfrwng rhwng dynion a'r nefoedd, y cyfrwng ag sydd yn eu dwyn i berthynas a'u gilydd. A chan y dysga yn niwedd yr adnod mai Duw yw y nefoedd, felly dysga yma mai Efe yw y Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, i'w dwyn i afael eu gilydd. "Myfi yw y ffordd"—y ffordd a'r fanod o'i blaen, *y* ffordd. Nid un ffordd yn mhlith llawer, ond y ffordd, yr unig

ffordd. Nid un o grefyddau cydmariaethol y byd yw Cristionogaeth, ond y grefydd *absolute*. Y ffordd (Act. ix. 2; Act. xix. 9; Act. xxiv. 22).

**A'r gwirionedd.** (1) Y gwirionedd a'r fanod o'i flaen—y gwirionedd. Y gwirionedd sylfaenol, llywodraethol; y gwirionedd duwinyddol, o'r hwn nid yw holl wirioneddau gwyddoniaeth ac athroniaeth ond pelydrau tramwyol. Felly gyda gweddusrwydd y gelwir Duwinyddiaeth yn "Frenhines y gwyddorau," er fod lluaws yn yr oes hon yn galw yn groch am ei diorseddiad. (2) Dim ond gwirionedd. Yr oedd rhyw gymaint o wirionedd yn nghrefyddau y Dwyrain ac yn athroniaeth y Gorllewin, ond gwirionedd ydoedd yn gymysgedig â llawer o gyfeiliornadau. Ond gwirionedd i gyd heb ddim cyfeiliornad, goleuni i gyd heb ddim tywyllwch, yw crefydd yr Arglwydd Iesu. Darllener, er enghraipht, weithiau Plato, tywysog athronwyr yr hen fyd: rhyfeddwn at y gwirioneddau disglaer, rhyfeddwn yn llawn cymaint at y cyfeiliornadau erchyll, a gynwysant; synwn at yr aur, synwn yn llawn cymaint at yr ysbwrial. Ond darllener y Pedair Efengyl: gwirionedd heb ddim cyfeiliornad, goleuni heb ddim tywyllwch, aur heb ddim ysbwrial. Heriwn neb i osod ei fys ar adnod a dywedyd mai *rubbish* ydyw. Cydmarer y Dysgawdwr o Nazareth a phrif Ddysgawdwr Athen: sut y cyfrifwn am y gwahaniaeth? I ni nid oes ond un ateb: "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo Ef." (3) Yr holl wirionedd, y gwirionedd yn ei gyflawnder. Ni olygir ei fod y pryd hwn wedi llefaru yr oll (xvi. 12), ond yr oedd yr oll ynddo. "Ynddo Ef preswyliai holl gyflawnder y Duwdod yn gorphorol" (Col. ii. 9). "Ynddo Ef yr oedd holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig" (Col. ii. 3). Ac nid trigo ynddo Ef fel drychfeddyliau anghysylltiol yr oeddynt, ond wedi eu cymhwys gydgysylltu yn mhob cymal cynaliaeth, yn un Corph o Dduwinyddiaeth,—nid corph marw, ond corph byw. Ceir pob gwirionedd crefyddol ynddo, a phob gwirionedd crefyddol yn ei lawn ddadblygiad; a phrawf o hyny yw nad oes neb, yn holl gwrs y pedair canrif ar bymtheg sydd wedi myned heibio, wedi llwyddo i ddarganfod un gwirionedd crefyddol newydd. Ceir *combinations* newydd, eithr nid gwirioneddau newydd. (4) Ac nid mewn drychfeddwl neu gyfundraeth y mae y gwirionedd, ond mewn ffaith gyfatebol; ac y mae y ffaith yn gymaint â'r drychfeddwl. "Myfi yw y gwirionedd." Nid yr wyf yn ei ddysgu, ond myfi ydyw; ac oblegid mai myfi ydyw, yr wyf yn medru ei gyhoeddi. Mae pob athrawiaeth a'i gwraidd ynddo Ef fel Cyfryngwr, ac yn derbyn ei nôdd o hono. Ynddo Ef y mae yr *abstract* wedi ei droi yn *concrete*.

**A'r bywyd.** "Ynddo Ef yr oedd bywyd," a hyny yn y fath fodd fel nas gallesid yn y greadigaeth gyntaf ysgar y bywyd oddiwrth Ei berson. Ond y bywyd i bechadur sydd yma mewn golwg. Fel Ail Berson yn y Drindod yr oedd yn fywyd i bob creadur; ond fel y cyfryw nis gallasai fod yn fywyd i un pechadur. Fel Cyfryngwr, yn ei Ymgnawdoliad a'i Iawn, y mae yn fywyd i bechadur. Ffordd i bechadur, gwirionedd i bechadur, bywyd i bechadur, yw mater yr adnod: nid yr hyn oedd yr Arglwydd Iesu yn wreiddiol fel Person Dwyfol, ond yr hyn y gwnaethpwyd Ef i ni gan Dduw yn y geni rhyfedd yn y Preseb a'r gwaedu rhyfeddach ar y Bryn (1 Cor. i. 30).

Ond yma cyfyd cwestiwn arall, Beth yw y berthynas rhwng y Ffordd, y Gwirionedd, a'r Bywyd? A ellid newid eu trefn heb anafu y meddwl, Bywyd, Gwirionedd, Ffordd? (1) Ateb Calfin yw fod y tri gair yn gyd-

a'r bywyd: nid yw neb yn dyfod at y Tad, ond trwof fi.
Ped adnabuasech fi, fy Nhad hefyd a adnabuasech: ac o 7
hyn allan yr adwaenoch ef, a chwi a'i gwelsoch ef.

---

radd—dechreu, canol, a diwedd, ac felly y tri gosodiad yn *co-ordinate*. (2) Ateb Awstin yw, nad yw y gwirionedd a'r bywyd ond ansoddau o'r ffordd, "ffordd wirioneddol bywyd" (*vera vitæ via*). (3) Ond cydolyga mwyafrif yr esbonwyr diweddar mai y "ffordd" yw y drychfeddwl llywodraethol, gan mai am y ffordd yr ymholai y dysgyblion; ond y mae yr Arglwydd Iesu yn ffordd ar ddwy amod,—(1) ei fod yn wirionedd neu yn ddatguddiad llawn o Dduw i bechadur, ac (2) ei fod yn fywyd i bechadur trwy roddi iddo hawl i fywyd, a thrwy drosglwyddo iddo y bywyd, ac felly ei gymhwyso i ddàl cymundeb â Duw.

**Nid yw neb yn dyfod at y Tad ond trwof fi.** Nid yw neb yn ffordd at y Tad ond Efe, oblegid nad oes neb yn wirionedd a bywyd ond Efe. Felly dywedir yma mewn ffordd nacaol yr hyn a ddywedir yn y frawddeg driphlyg flaenorol mewn dull cadarnhaol. Yn gyntaf dywedir mai Efe yw y Cyfryngwr rhwng pechadur a Duw, yna nad oes arall ond Efe. Nid un Cyfryngwr yn mhlith lluaws ydyw,—nid oes ond Efe. Ni ddefnyddia yr Arglwydd Iesu y gair Cyfryngwr,—Paul yw y cyntaf i arfer y gair; ond dysgir yn ddiamwys wirionedd y Gyfryngwriaeth yn yr adnod hon. Crist yw yr unig Gyfryngwr rhwng Duw a dynion: caua hyn allan holl saint y Dwyrain a holl athronwyr y Gorllewin—nid oes neb yn ddrws i adnabyddiaeth o Dduw a chymundeb ag Ef ond Iesu Grist. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall;" gan hyny Efe yw yr unig berson hanfodol i hanes y byd. Enwogion eraill hanesyddiaeth, er cymaint eu gwasanaeth, gallasai y byd wneyd hebddynt; nid oedd eu bodolaeth neu eu diddymiad yn peri fawr o wahaniaeth—nid oedd y byd ond ychydig ar ei enill trwyddynt, ac ni fuasai fawr ar ei golled hebddynt. Ond y mae Iesu Grist yn anhebgor. Gydag Ef, iachawdwriaeth; hebddo Ef, colledigaeth. Saif ar ei ben ei hun. Un Cyfryngwr, un Oen yn nghanol yr orsedd, a'r un yn ddigon. Ond sylwer y gesyd yr Iesu yma y Tad, nid Ty y Tad, fel terfyn y ffordd; trawsnewidir y drychfeddwl o le i'r drychfeddwl o Berson—Duw yw nefoedd y saint; Efe, nid Paradwys pa mor hardd bynag. "Duw yw fy rhan a fy etifeddiaeth."

**ADN. 7. Ped adnabuasech fi, fy Nhad hefyd a adnabuasech.** Y mae y gair am adnabod (*ginoskein*), yr hwn a ddefnyddir yma ddwywaith, yn golygu adnabyddiaeth gynyddol, yn tarddu o sylwadaeth ac adfyfyriad ar yr Arglwydd Iesu yn ei berson, ei ddysgeidiaeth, a'i waith. Adnabyddiaeth o Grist yw y porth i'r adnabyddiaeth o Dduw. Nid creadigaeth, ond Cristionogaeth, sydd yn gweini i ni wir adnabyddiaeth o'r Tad. Gwir y gwelir yn amlwg yn y greadigaeth ei "dragwyddol allu Ef a'i Dduwdod"; ond nis gwelir ynddi hi ei Dadoliaeth, a'i Dadoliaeth yw y peth ardderchocaf ynddo. Priodoleddau ei fraich a welir yn ngwaith ei law; yn Mab ei gariad y gwelir priodoleddau ei galon. Nid yw yr adnabyddiaeth yn gyflawn—cynyddol ydyw fel yr arwydda y gair; ond er mai adnabyddiaeth anmherffaith ydyw, eto y mae yn adnabyddiaeth wirioneddol. **Ac o hyn allan yr adwaenoch Ef, a chwi a'i gwelsoch Ef.** "O hyn allan": nid o'r foment hon (*nun*), ond

8 Dywedodd Phylip wrtho, Arglwydd, dangos i ni y Tad, a
9 digon yw i ni. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, A ydwyf

---

o'r adeg hon (*arti*), pan yr wyf wedi ei ddadlenu o'ch blaen mewn geiriau ac y dadlenaf Ef yn helaethach y fory yn fy angeu—"o'r adeg hon allan yr adwaenoch Ef." Nid ei amgyffred, ond ei adwaen. Ni ddeuwn byth i amgyffred Duw, oblegid ei fawredd Ef sydd anfesurol, ac nis gall y meidrol gynwys yr anfeidrol. Ond y mae ei fawredd, tra yn anfantais i'w amgyffred, yn fantais i'w adnabod—y mae ei anfeidroldeb yn nod amlwg ag sydd yn ei wahaniaethu oddiwrth bawb eraill. **A chwi a'i gwelsoch ef.** Ei weled a llygaid y corph, fel y prawf y gair (*orao*). Nid fel yr Ail Berson yn y Drindod Fendigaid y dywed Paul fod yr Iesu yn ddelw weledig o'r Duw anweledig (Col. i. 15), ond fel Mab ymgnawdoledig yn llanw ei swyddau Cyfryngol. Nid yn unig yr oedd bywyd yr Iesu yn adlewyrchiad moesol o gymeriad y Tad, megis ag y dysga Undodiaeth; ond yn y dyn Crist Iesu edrychodd y byd am unwaith ar Dduw mewn cnawd. I weled Duw rhaid edrych, nid ymaith oddiwrth Grist, ond yn unionsyth ar Grist.

**ADN. 8. Dywedodd Phylip wrtho.** Dyma y bedwaredd waith (i. 44—49; vi. 5—7; xii. 22) y daw Phylip o'n blaen ar dudalenau yr Efengyl hon; a phob tro gwisga yr un cymeriad—*practical common sense*. Y gair mawr nodweddiadol o hono ef yw "gweled." "Phylip a ddywedodd wrtho, Tyred a *gwel*." "Y Groegiaid a ddymunasant arno gan ddywedyd, Syr, ni a ewyllysiem *weled* yr Iesu." Ac yma dyhea am *weled* Duw. **Arglwydd, dangos i ni y Tad.** Yr oedd yr Iesu newydd fynegu eu bod wedi gweled y Tad. Ei weled, meddai Phylip, pryd? Dyna yr hyn a hoffem, yr unig beth a ymddengys i ni sydd ar ol; yr ydym wedi cael pobpeth ond ei weled. Hwyrach ei fod yn cofio am Dduw yn dangos ei ogoniant i Moses yn yr agen yn y graig (xxxiii. 17—23) neu i Elias yn yr ogof. Nid annhebyg fod rhyw sibrwd yn mhlith y dysgyblion am y weledigaeth ryfedd ar Fynydd y Gweddnewidiad; ond nid oedd Phylip yno, dyhea am *weled* Duw—dyhead y ddynoliaeth mewn rhyw ffurf neu gilydd yn mhob oes a gwlad. **A digon fydd i ni.** Digon yn mha ystyr? (1) Digon i'n hargyhoeddi am byth o'r berthynas rhyngot Ti a'r Tad. Yr ydym yn credu yn dy ddwyfoldeb, ac eto y mae ein ffydd yn wàn ei fferau; dangos i ni y Tad—gwna i Dduw basio o flaen ein llygaid fel y gallom edrych ar ei wedd, a dyna brawf terfynol, paid ein hamheuon a'n pryderon am byth. Anhawdd gwybod ai at gryfder, ynte gwendid, ei ffydd y dylem ryfeddu fwyaf. Rhaid ei bod yn gryf anghyffredin i ddychymygu y medrai yr Iesu ddwyn yr anweledig anfeidrol Fôd allan o'i gafell sanctaidd a'i ddangos o flaen eu llygaid fel *curiosity* mewn Arddangosfa. Ar y llaw arall, rhaid ei fod yn dywyll ryfeddol i deimlo anghen arddangosiad o'r fath i foddloni ei synwyrau corphorol. Eto nid diffyg ffydd, ond gwendid ffydd, sydd yma. (2) Digon i foddloni dyheadau yr enaid. Y mae enaid dyn fel y gele yn llefain, Moes, moes; nis gall y greadigaeth, pa un ai yn ei chyfoeth ai yn ei dysgeidiaeth, lanw y gwagle dan y fron. Teimla y bobl mwyaf eu hanrhydedd a helaethaf eu gwybodaeth anesmwythyd poenus yn y fynwes—y dymuniadau yn ymestyn yn mhell y tu hwnt i'r cyrhaeddiadau. Nid oes ond yr anfeidrol Fôd a fedr lanw yr anfeidrol wagle.

gyhyd o amser gyd â chwi, ac nid adnabuost fi, Phylip?
Y neb a'm gwelodd i, a welodd y Tad: a pha fodd yr wyt
ti yn dywedyd, Dangos i ni y Tad? Onid wyt ti yn credu 10
fy mod i yn y Tad, a'r Tad ynof finnau? Y geiriau yr
wyf fi yn eu llefaru wrthych, nid o honof fy hun yr wyf yn
eu llefaru; ond y Tad yr hwn sydd yn aros ynof, efe sydd

---

Yr ystyr diweddaf a dŷn pregethwyr yn gyffredin allan o'r adnod, a hyny yn ddigon cyfreithlon; ond dilys genym mai y cyntaf oedd yn meddwl Phylip, canys nid athronydd mohono ef, ond gwr o synwyr cyffredin yn gofyn am brawf cadarn ymarferol.

**ADN. 9. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, A ydwyf wedi bod gyhyd o amser gyda chwi ac nid adnabuost fi, Phylip?** Geilw Phylip wrth ei enw, peth anarferol iawn, i amlygu cymysgedd o dynerwch a siomedigaeth. Tair blynedd yn nghwmni eu gilydd, ac eto Phylip heb ddirnadaeth gywir am dano. Yn awr ac eilwaith tywynai ei ddwyfoldeb gyda disglaerdeb canolddydd ar eu meddyliau; cyffesent hwythau eu ffydd ynddo fel y Messiah; drachefn syrthiai eu ffydd amryw raddau nes bron creu amheuaeth a ydoedd yn bod o gwbl. **Y neb a'm gwelodd i a welodd y Tad.** Dyma rai o'r geiriau mwyaf beiddgar a lefarwyd erioed; ac nid oes ond ein cynefindra â hwy yn cuddio eu mawredd a'u dewrder o'r golwg. Gwr gwledig yn ymyl marw, yn mhlith dynion gwledig fel ei hunan, yn llefaru yn araf a phwysleisiol, Y neb a'm gwelodd I a welodd y Tad! Ei weled Ef megis gweled Duw! Gwallgof-ddyn neu Dduw-ddyn: nid oes le canol. Haen isaf ei ymwybyddiaeth, ei *sub-consciousness*,—rhyw deimlad sefydlog ydoedd o'i undod â Duw. **A pha fodd yr wyt ti yn dywedyd, Dangos i ni y Tad.** Y "ti" yn bwysleisiol. "Pa fodd yr wyt *ti*, ti a gafodd y fath fanteision i wybod yn amgenach, pa fodd yr wyt *ti* yn dywedyd, Dangos i ni y Tad?" Ti a'i gwelaist Ef pan y gwelaist Fi. Ar un llaw, rhaid myned at y Tad trwyddo Ef (adn. 6); ar y llaw arall, pan yr ymdrechwn fyned trwyddo, yr ydym yn cael fod Duw ynddo. Y mae yr Iesu yn Gyfrwng ac yn Ddyben (*Means and End*).

**ADN. 10. Onid wyt ti yn credu fy mod i yn y Tad a'r Tad ynof finau?** Fel Mab ymgnawdoledig y llefara. Ond y mae yr undeb perffaith sydd rhyngddynt yn nhrefn yr iachawdwriaeth yn brawf o ryw undeb dirgeledig rhyngddynt yn y drefn dragwyddol o hanfodi—y mae deall y perthynasau allanol yn help i ddeall y perthynasau tufewnol (Gwel ar v. 19, 20). Y mae Efe yn y Tad fel creawdydd y swydd Gyfryngol a ffynhonell wreiddiol trefn y cadw; ar y llaw arall, y mae y Tad ynddo Ef fel ei Fab ymgnawdoledig yn cario i weithrediad fwriadau ei ras. Y Fi yn y Tad, a'r Tad ynof Fi! Hanfodant ar lefel eu gilydd. O ddirgelwch duwioldeb! Duw a ymddangosodd yn y cnawd. Nis gallwn ddirnad, ond gallwn ryfeddu, ac addoli wrth ryfeddu. Y mae eu hundeb yn ffaith; y mae dull eu hundeb yn ddirgelwch. **Y geiriau yr wyf fi yn eu llefaru wrthych, nid o honof fy hun yr wyf yn eu llefaru.** Gwel ar v. 19. **Ond y Tad, yr hwn sydd yn aros ynof, efe sydd yn gwneuthur y gweithredoedd.** "Y Tad, yr hwn sydd yn *aros* ynof": er iddo ddyfod allan oddiwrth y Tad i gyflawni ei Gyfryngwriaeth, eto yr oedd y Tad yn *aros* ynddo,—nid yn ymweled

11 yn gwneuthur y gweithredoedd. Credwch fi, fy *mod* i yn
y Tad, a'r Tad ynof finnau: ac onid ê, credwch fi er mwyn
12 y gweithredoedd eu hunain. Yn wir, yn wir, meddaf i
chwi, Yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr
wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna, a mwy na'r

---

yn achlysurol ag Ef ond yn preswylio o'i fewn. Yr oedd yr undeb yn fwy nag undeb, yr oedd yn undod; nid rhyfedd gan hyny, i bobl dduwiol fel y Sabeliaid gynt a'r Swedenborgiaid presenol dynu y casgliad mai y Tad yw y Mab, ac nad yw y gwahaniaeth rhyngddynt ond goruchwyliaethol yn unig. Ond rhaid i ni serch hyny, er mwyn cysondeb y ffydd, ddàl yr undod hanfodol a'r gwahaniaeth personol, canys cawn Ef yn pen. xvii. yn galw ei Dad yn Tydi, *Thou*. Ond yma dysga undeb y Tad a'r Mab mewn geiriau a gweithredoedd.

**ADN. 11. Credwch fi.** Try yn awr oddiwrth Phylip i gyfarch yr Un-ar-ddeg, canys y mae y ferf "credwch" yn y rhif lluosog. Credwch fi,—y ffurf isaf o gredu. **Fy mod i yn y Tad, a'r Tad ynof finau.** Nis gellir rhoddi prawf gwyddonol o'r undeb achubol ac hanfodol rhyngddynt, prawf allanol i'r synwyrau corphorol; ond dyna oedd tystiolaeth ddiamwys ei ymwybyddiaeth, ac nis gallasai ddatgan ei ymwybyddiaeth ond mewn iaith. Y mae yr undeb yn bwngc o wybodaeth iddo Ef, ond o dystiolaeth i bawb eraill; ac yn natur angenrheidiol pethau nis gall fod yn amgen. Credwch fod fy nhystiolaeth hon--y Tad ynof Fi, a Fi yn y Tad—yn ddatganiad gonest o'm hymwybyddiaeth; a chredwch fod fy ymwybyddiaeth yn fynegiad cywir, llawn, a gonest o ffaith dragwyddol. **Ac onide, credwch fi er mwyn y gweithredoedd eu hunain.** Ni olyga hyn fod y gwyrthiau yn fwy dwyfol na'r geiriau, ond eu bod fwy yn myd y synwyrau, ac felly yn nes at ddynion daearol eu syniadau. I feddylwyr y geiriau sydd yn fforddio y prawf cryfaf o ddwyfoldeb; ond i weithwyr a masnachwyr, y rhai sydd heb hamdden lawer i feddwl a darllen, y gwyrthiau. Mor ffol, gan hyny, yw gwaith awdwyr diweddar yn dibrisio gwyrthiau, fel pe byddai holl blant dynion yn athronwyr.

TRYDEDD SYLFAEN CYSUR—NERTH YCHWANEGOL. ADN. 12—14.

**ADN. 12. Yn wir, yn wir, meddaf i chwi.** Arwydd ei fod yn symud at fater arall o'r pwys mwyaf, ac eto perthynasol i'r materion sydd wedi bod eisoes dan sylw. **Yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna.** Y mae priodoldeb mawr yn sylw Ogwen Jones *(Test. yr Ysgol Sabbothol)*: "Y mae yn yr adnod hon ddesgrifiad o gynydd graddol—o gredu *i'r* Iesu i gredu *ynddo*; o *weled* y gweithredoedd i'w *gwneuthur*; ac o wneuthur rhai o'r *un* natur i wneuthur rhai mwy." Y gweithredoedd = y gwyrthiau. Diau fod y gwyrthiau yn un elfen gref yn mhoblogrwydd yr Iesu, a bod y dysgyblion yn gosod pris uchel ar y gallu i'w cyflawni. Naturiol oedd iddynt dybied y buasai ei ymadawiad Ef â'r ddaear yn cael ei ddilyn gan ddiflaniad y gallu gwyrthiol, ac o ganlyniad y buasai un ffynhonell o ddylanwad yn sychu. Peidiwch digaloni, meddai yr Iesu,—yn lle fod fy ymadawiad i yn gwtogiad ar y gallu goruwch-

rhai hyn a wna efe: oblegid yr wyf fi yn myned at fy
Nhad. A pha beth bynnag a ofynoch yn fy enw i, hynny 13
a wnaf; fel y gogonedder y Tad yn y Mab. Os gofynwch 14

---

naturiol, bydd yn helaethiad arno, cynysgaeddir chwi â'r ddawn wyrthiol yn helaethach nag erioed. "Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna"—chwi barhewch i gyflawni gwyrthiau. **A mwy na'r rhai hyn a wna efe.** Mwy yn mha ystyr? (1) Etyb Bengel ac amryw o'r Tadau mai gwyrthiau o'r un natur, ond lluosocach o ran nifer. Iachawyd cleifion ar ochrau yr heolydd gan gysgod Petr (Act. v. 15, 16), a chan "napcynau neu foledau" oddiwrth gorph Paul (Act. xix. 12), ie, cyfodid y meirw (Matt. x. 8; Act. xx. 9). Ond o braidd y gellir desgrifio y gwyrthiau hyn yn fwy nac yn lluosocach na'r eiddo yr Iesu (Matt. iv. 23—25). (2) Oherwydd paham credwn fod y cyfeiriad yn benaf at weithredoedd goruwchnaturiol yn myd yr ysbryd —nid gweithredoedd mwy o ran nifer a graddau ond o ran natur. Y mae cyfodi y meirw ysbrydol yn waith uwch o ran natur na chyfodi y meirw naturiol; y mae agor llygaid y meddwl yn waith dwyfolach nag agor llygaid y corph; y mae yr ail-enedigaeth yn fwy rhyfeddol na throi y dwfr yn win. Ymgoda yr Iesu yma o'r anianol at yr ysbrydol. A gyflawnwyd yr addewid? Do: cafodd mwy eu hachub ar ddydd y Pentecost nag yn ystod tair blynedd ei weinidogaeth Ef. Hyd yr Ymgnawdoliad a'r Iawn ar i waered yr oedd y byd yn myned; ond ar ol hyny gwelir hanesyddiaeth yn symud yn gyson tuag i fynu. Beth yw yr eglurhad? Gallu goruwchnaturiol yr Iesu sydd mewn hanesyddiaeth yn graddol dderchafu y byd. **Oblegid yr wyf fi yn myned at y Tad.** Rheswm yw hyn dros gyflawniad y gweithredoedd mwy. Os gallodd Crist gyflawni y fath wyrthiau ag a groniclir yn yr Efengylau yn ystâd ei ddarostyngiad, onid all gyflawni gweithredoedd mwy yn ystâd ei ogoneddiad? Trwy ei angeu a'i esgyniad agorodd y ffordd rhwng nefoedd a daear, sefydlodd fasnach rydd rhwng y ddeufyd; a mwy—y mae wedi myned i'r byd arall, esgyn at y Tad, at ffynhonell pob nerth a dylanwad, er mwyn bod mewn sefyllfa fwy manteisiol i achub y byd hwn. O feddwl arddunol a difrifol! Mab tragwyddol y Tad wedi esgyn yn natur dyn i orsedd y nef, ac eistedd wrth ffynhon pob gallu a gogoniant, er mwyn anfon dylanwadau achubol a sancteiddiol i'n daear ni. Y mae yr "afon bur o ddwfr y bywyd, disglaer fel y grisial," ag sydd yn llifo yn ddylanwadau bywiocaol trwy y byd, "yn dyfod allan o orseddfaingc Duw a'r Oen" (Dat. xxii. 1). Nid yw Actau yr Apostolion ond Actau y Crist gogoneddedig trwy ei Apostolion.

**ADN. 13. A pha beth bynag a ofynoch yn fy enw i, hyny a wnaf.** Pwy yw gwrthrych y gofyn? (1) Y mae yn amlwg mai y Tad, meddai un dosbarth, oblegid nid oes synwyr gofyn i'r Iesu yn ei enw ei hun. Ond nid ydym ni mor sicr. Onid yw yr Eglwys fawr gyffredinol yn gweddio o'r dechreu ar yr Iesu "er mwyn ei grôg a'i angeu drud"? (2) O ganlyniad, etyb dosbarth arall, gan fod yr Iesu yn dyweyd "hyny a wnaf fi," ac nid "hyny a wna y Tad," y rhaid mai gofyn iddo Ef ei hun a olygir. Tueddir ni, fodd bynag, gan y frawddeg sydd yn dilyn i feddwl mai gofyn i'r Tad sydd benaf mewn golwg. **Fel y gogonedder y Tad**

ddim yn fy enw i, mi a'*i* gwnaf.

---

**yn y Mab.** Y Tad yn wrthrych gweddi, y Mab yn atebwr gweddi, a thrwy hyny y Tad yn cael ei ogoneddu yn y Mab. Nid "pa beth bynag a ofynoch," ond "pa beth bynag a ofynoch yn fy enw i"—rhaid dwyn y "pa beth bynag" o fewn terfynau yr Enw. Felly nid oes yma addewid i ateb pob erfyniad a offrymir gan gredinwyr, ond y mae addewid i ateb pob erfyniad sydd yn symud o fewn cylch yr Enw. Hyd yma "enw" y Tad a ddefnyddir (v. 43; x. 25); yn yr adnod hon am y tro cyntaf y dwg yr Iesu ei "enw" ei hun i mewn. Gan hyny, beth a ddeallir wrth weddio yn ei Enw Ef? (1) Arfer yr Eglwys yw terfynu pob gweddi gyda y geiriau, "yn enw Iesu Grist ein Harglwydd." Paham? Er mwyn dwyn y weddi i mewn i gylch yr Enw. Os oes ynddi ryw ddeisyfiadau, megis am aur ac arian, ag sydd yn sawru o hunanoldeb neu yn anghyson â'r Enw, y mae y gweddiwyr eu hunain yn eu tocio oll ymaith pan yn ychwanegu "yn enw Iesu Grist." (2) Beth ynte yw gweddio yn yr "Enw"? Yr ateb arferol yw,—yn haeddiannau Iesu Grist, ac y mae hynyna yn gywir mor bell ag y cyrhaedda. Ond gwelsom eisoes fod yr "Enw" (i. 12) yn cynwys datguddiad o'r person y mae yn enw arno. Gan hyny gofyn yn yr enw yw gofyn o fewn cylch datguddiad Iesu Grist ac yn ysbryd y datguddiad hwnw. Caua hyn allan bob dymuniadau cnawdol, daearol; caua allan bob bendithion sydd yn gweini i hunan-foddhâd megis cyfoeth ac enwogrwydd llenyddol: nid yw gweddio am y pethau hyn yn gyson â'r Enw. Ond beth bynag sydd yn unol â'r datguddiad o hono ei hun ac yn gydnaws â'i ysbryd, "hyny a wnaf"—"hyny" yn bwysleisiol. Yn lle y cymundeb corphorol lleol sydd wedi ffynu rhyngddo Ef a'i ddysgyblion hyd yn bresenol, sefydla gymundeb ysbrydol—trwy weddi o'u tu hwy, a thrwy atebiad i weddi o'i du Ef. Gwnewch chwi eich rhan chwi mewn gofyn, gwnaf finau fy rhan inau mewn ateb. Yn y fan hon daw gweddi y gallu cryfaf ar y ddaear,—"pa beth bynag a ofynoch yn fy Enw i, hyny a wnaf." Dyma ddeddf sefydlog y deyrnas.

ADN. 14. **Os gofynwch ddim yn fy enw i, mi a'i gwnaf.** Ail-adroddiad, er mwyn cyfleu y syniad o sicrwydd. Yn ol lluaws o'r prif lawysgrifau amrywia y darlleniad yma. (1) "Os gofynwch ddim i mi yn fy enw i, mi a'i gwnaf:" dyma ddarlleniad y Cyf. Diw. Megis y gosodir y Tad allan fel gwrthrych gweddi yn yr adnod flaenorol, felly gosodir Crist allan fel gwrthrych gweddi yn yr adnod hon. (2) Ond y mae lluaws o'r prif esbonwyr yn dadleu dros gywirdeb y darlleniad fel y mae yn y Beibl Cymraeg, a chydnabyddir ef ar ymyl dalen y Cyf. Diw. Y naill ffordd neu y llall, erys y meddwl yn go debyg. Yn ol yr adnod flaenorol, "pa beth bynag a ofynoch"—yr helaethrwydd mwyaf; yma, "os gofynwch ddim"—yr helaethrwydd mwyaf eto. Ond yn y naill a'r llall, rhaid dwyn yr erfyniadau o fewn terfynau yr Enw; a phryd bynag y gwneir felly, y mae y ddeddf mewn grym, "hyny a wnaf"—"mi a'i gwnaf." "Hyny" yn bwysleisiol, a "mi" yn bwysleisiol. Gan hyny, nid effeithiolrwydd pob gweddi a ddysgir yma, ond effeithiolrwydd pob gweddi sydd yn gyson â'r Enw ac i ddybenion yr Enw. Y mae hon yn ddeddf sefydlog yn nheyrnas nefoedd. Ond beth am ddeddfau teyrnas natur? Beth hefyd ond y rhaid iddynt blygu i ddeddfau teyrnas nefoedd?

O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion. A mi a 15, 16

Y mae hynyna hefyd yn ddeddf—y rhaid i'r deddfau isaf blygu i'r deddfau uchaf.

PEDWAREDD SYLFAEN CYSUR—Y DIDDANYDD ARALL. ADN. 15—26.

**ADN 15. O cherwch fi.** Cymerir yma gam yn mlaen, o "gredu" i "garu." Credu yw y gair mawr o ddechreu y benod hyd yma; oddiyma yn mlaen y mae "caru" yn cymeryd lle "credu." **Cedwch fy nghorchymynion.** Gan fod y modd gorchymynol a'r modd mynegiadol yn gyffelyb yn eu terfyniadau yn yr iaith wreiddiol, cyfyd y cwestiwn, Pa fodd y dylid cyfieithu yma? (1) Dewisir y modd gorchymynol yn y Cyf. Cymraeg a'r Cyf. Awdurdodedig Saesonaeg, "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion"—dangoswch eich cariad mewn ufudd-dod. Yn ol hwn, prawf yw cadw gorchymynion Crist o gariad at Grist. Dyma y cyfieithiad a amddiffynir gan Meyer a Godet. (2) Ond yn y Cyf. Diw. mabwysiedir y modd mynegiadol: "O cherwch fi, chwi a gedwch fy nghorchymynion." Yn ol hwn, nid prawf sydd yma ond effaith—cariad yn achos, cadw y gorchymynion yn effaith. Y mae hon yn ddeddf mor gref a chyson a dim deddf mewn natur—lle y ceir cariad Crist yn y galon fel achos, ceir ufudd-dod i orchymynion Crist yn y fuchedd fel effaith, a mesur y naill ydyw mesur y llall. Nid ufudd-dod yn cyfodi oddiar deimlad o ddyledswydd fel dan yr H. D., neu oddiar ofn cosp megis yn llywodraethau y ddaear, ond oddiar yr egwyddor o gariad. Pan y bydd cariad yn y galon, y mae y traed yn *rhedeg* yn ffordd y gorchymynion—y mae iddynt adenydd fel yn yr hen gerfluniau. Mor rhwydd yw ufuddhau, yn naturiol ac ysbrydol, lle y mae cariad yn cymhell. "Fy ngorchymynion"—y rhagenw "fy" yn bwysleisiol. Y ffordd oreu yn y Gymraeg i ddwyn allan y meddwl yw dyblu y rhagenw, "fy ngorchymynion i." Pa orchymynion ydynt? Nis cauir allan y Deg Gorchymyn yn Ex. xx.; canys y mae yr Iesu yn y Bregeth ar y Mynydd yn gafael yn y rhai hyny, yn eu derchafu i safon uwch, a thrwy hyny yn eu meddiannu fel ei eiddo ei hun. Ond diau y cynwysir, yn ychwanegol at orchymynion y Bregeth ar y Mynydd, y gorchymynion ychwanegol a roddodd o dro i dro, megis yn xiii. 14, 15, 34. Rhaid oedd i'r gymdeithas newydd ag oedd Efe yn ei sefydlu yn y byd wrth orchymynion newydd, megis y rhai perthynol i'r ddau Sacrament.

**ADN. 16. A mi a geisiaf gan y Tad.** Y "mi" yn bwysleisiol. Gweddiwch chwi yn fy enw i, a chedwch fy ngorchymynion fel prawf neu effaith o'ch cariad tuag ataf, "a mi a ofynaf gan y Tad," &c. Y gair am "ofyn" y saint yn adn. 13 a 14 yw *aitein*—gair sydd yn arwyddocau gweddio, yr israddd yn erfyn ar yr uwchradd. Ond yma y gair yw *erōtan*—gair sydd yn golygu ceisio, gofyn, *making request*, cydradd yn gofyn gan gydradd. Hwn yw y gair a ddefnyddia yr Iesu yn ddieithriad am dano ei hun (xvi. 26; xvii. 9; xv. 20). Gwir y cymhwysa Martha y gair cyntaf ato (xi. 22), ond prawf yw hyny nad oedd hi wedi cyrhaedd syniadau cyflawn am ddwyfoldeb ei berson. Nid ei gair hi, ond ei air Ef, sydd i fod yn sylfaen i'n golygiadau duwinyddol. Diau fod Trench (*Synonyms of the New Testament*) wedi creu gagendor ormodol rhwng y ddau air, megis y prawf Deut. x. 12, Act.

weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall,

---

xvi. 29; 1 Petr iii. 15 gyda golwg ar y gair *aitein*, a Marc vii. 26, Luc iv. 38, vii. 3, Ioan iv. 40, 47, ac Act. iii. 3 gyda golwg ar y gair *erōtan;* eto y mae gwahaniaeth yn bod ac nid yw yr Iesu unwaith yn ei anymwybyddu. Pan y gweddia y saint ar Dduw, yr iselradd sydd yn erfyn ar yr uchelradd; ond pan y gweddia yr Iesu, cydradd sydd yn gofyn gan ei gydradd. Nid yr isel yn deisyf ar yr uchel yw yr Eiriolaeth; ond y Gogyfuwch yn gofyn gan y Gogyfuwch – mae nerth cydraddoldeb ynddi. Ond paham y gofyna gan y Tad o gwbl? (1) Oblegid nad oes rwymedigaeth ar y Tad i roddi yr Ysbryd Glân nac un o fendithion yr iachawdwriaeth i neb pwy bynag. Oherwydd paham gweddus ar ran y saint yw gweddio, ac ar ran yr Iesu ydyw eiriol. Cyfyd yr angenrheidrwydd am yr eiriolaeth o'r ffaith mai ffrwyth rhad ras yw yr Efengyl, ac nid canlyniad rhwymedigaethau cyfiawnder. (2) Oblegid hefyd mai trwy gyfryngau priodol y mae Duw bob amser yn cyfranu bendithion i ddynion. Efe sydd yn rhoddi i bawb eu bara beunyddiol, eithr nid yn uniongyrchol ond trwy gyfrwngwriaeth natur. Efe hefyd sydd yn rhoddi maddeuant pechodau a glanhâd ein natur; ond nid yn uniongyrchol, eithr trwy gyfrwngwriaeth, gan gynwys eiriolaeth, yr Arglwydd Iesu.

**Ac Efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall.** Ond y mae "Arall" yn rhagdybied dau: pwy ynte yw y ddau Ddiddanydd? Dengys y cyddestyn yn eglur mai yr Iesu ydyw un, ac mai yr Ysbryd yw yr "Arall." O ganlyniad cawn Ioan yn 1 Ep. ii. 2, yn cymhwyso y term at yr Arglwydd Iesu, yr hwn a gyfieithir yno yn Eiriolwr. Ond beth neu bwy yw y Diddanydd arall? A'i Person dwyfol ynte Dylanwad dwyfol? (1) Dadleua yr Undodiaid, gan y gwâdant athrawiaeth y Drindod, mai Dylanwad ydyw—dylanwad yn dylifo o'r Natur Ddwyfol cyffelyb i'r dylanwad sydd yn dylifo o ddyn o athrylith i'w ddosbarth, *personal magnetism* y Duwdod. Y mae yn ddilys genym fod gwirionedd yn y ddysgeidiaeth Undodaidd, a gwirionedd gwerthfawr; ond ai dyna yr holl wirionedd? Yn ngoleuni dysgeidiaeth Crist yn y benod hon a'r penodau dilynol, gorfodir ni i ateb yn nacäol. (2) Oherwydd paham credwn gyda y Ffydd Gatholig fod yr Ysbryd yn berson yn y Drindod—person gwahaniaethol oddiwrth y Tad a'r Mab. Ar un llaw, bodola yr undod llwyraf rhyngddynt, undod natur a hanfod, fel lle y mae un y mae y Tri; ar y llaw arall, bodola gwahaniaeth rhynddynt, gwahaniaeth yn eu dull o hanfodi a gweithio. Yn nysgeidiaeth Crist yn yr adnodau hyn, saif y ddau wirionedd yn gyfochrog. Nid ydym yn proffesu y medrwn egluro yr undod na'r gwahaniaeth; ond ein dyledswydd gyntaf yw cydnabod y ffeithiau, nid eu hesbonio. Llefara yr Iesu am dano fel yr "Efe" – *He*, nid *It*, oddigerth pan y gesyd Ef allan fel "dawn" neu "rodd" Duw i'r Eglwys, pan y mae rhyw y dawn yn penderfynu rhyw y rhagenw; a phriodola iddo holl briodoliaethau personoliaeth.

Beth yw ystyr y gair Diddanydd? Y gwreiddiol yw *Paraklētos* (*para*=gyda neu ymyl, *kletos*=galwyd, megis saint y rhai a alwyd),—un a alwyd i'n hymyl. Gwir nad yw tarddiad y gair yn ein dysgu pa un ai i'n hymyl i'n cynorthwyo ynte i'n gwrthwynebu; ond gan fod gair arall, *kategoros*, yn yr iaith Roeg am un yn dadleu yn erbyn (Dat.

fel yr arhoso gyd â chwi yn dragywyddol; Ysbryd y 17

---

xii. 10--cyhuddwr y brodyr), gellir cymeryd yn ganiataol fod *paraklētos* yn golygu un yn dadleu o blaid. Ni ddefnyddir ef yn y Test. Newydd ond yn ysgrifeniadau Ioan yn unig, pedair gwaith yn yr Efengyl (xiv. 16, 26; xv. 26; xvi. 7), ac unwaith yn 1 Ep. ii. 1. Yn yr Efengyl cyfieithir ef yn Ddiddanydd (*Comforter*), yn yr Epistol yn Eiriolwr (*Advocate*). Pa un sydd gywiraf? (1) Dadleua y Tadau Groegaidd, Origen, Chrysostom, Theophylact, a Cyril o blaid Diddanydd. Dyna hefyd yr ystyr a roddir iddo yn y Cyf. Lladinaidd a elwir y *Vulgate*, a thrwy hwn trosglwyddwyd ef i holl gyfieithiadau y Gorllewin. Ond y mae yn amlwg nad yw "Diddanydd" ddim yn gyfaddas yn 1 Ep. ii. 1: nid Diddanydd gyda'r Tad yw Iesu Grist. (2) Dadleua eraill, gan gynwys mwyafrif yr esbonwyr diweddar, o blaid Eiriolwr (*Advocate*) yn y pedwar lle yn mha rai y defnyddir ef yn y penodau hyn. Ond priodolir gwaith iddo ynddynt, megis goleuo, dysgu, dwyn ar gof, nad yw Eiriolwr yn Gymraeg nac *Advocate* yn Saesonaeg yn ei gynwys. (3) Y gwir yw, nid oes un gair yn y Gymraeg na'r Saesonaeg yn gyfystyr hollol â'r gwreiddiol; y nesaf ato yw y gair Saesonaeg *Counsel*, Cynghorwr Cadarn (Es. ix. 6), oherwydd gwaith *Counsel*, yw cynghori, goleuo, arwain, yn gystal a dadleu. Diau fod y gwreiddiol yn cynwys Diddanydd (cysurwr, ond cysurwr am ei fod yn gryfhawr, *confortare*—to *make strong*) ac *Advocate*, un yn dadleu o'n plaid. Hyd yma yr Iesu oedd wedi bod yn dadleu rhan y dysgyblion ac yn eu diddanu yn eu treialon; ond a oeddynt i fod yn ddiamddiffyn ar ol ei ymadawiad? Na; anfonid atynt Ddiddanydd arall, un a weinyddai nerth ysbrydol iddynt, ac un a ddadleuai eu hachos ger bron y byd—un yn lle yr Iesu, ei gynrychiolydd yn ei Eglwys ar y ddaear.

**Fel yr arhoso gyda chwi yn dragwyddol.** Yr oedd yr Iesu ar ymadael oddiwrthynt; ond yr "Arall" a arhosai hyd byth--nid oedd gwahanu i fod. Dyma gordial cryf i'r dysgyblion yn eu trallod (adn. 1).

**ADN. 17. Ysbryd y gwirionedd.** Mewn cyferbyniad i "Ysbryd y cyfeiliorni" (1 Ep. iv. 1—4). Yn adn. 6 dywed yr Iesu mai "Efe yw y gwirionedd"; yma geilw yr Ysbryd yn "Ysbryd y gwirionedd." Beth yw y gwahaniaeth? Yr Iesu yw y gwirionedd gwrthrychol (*objective*) fel datguddiad llawn o'r Tad; yr Ysbryd yw y gwirionedd tufewnol (*subjective*). Y Tad = gwirionedd yn ei ffynhonell; y Mab = gwirionedd mewn datguddiad; Yr Ysbryd = gwirionedd mewn cymhwysiad. Yr Arglwydd Iesu yw egwyddor y datguddiad *objective*—yr haul yn y ffurfafen; yr Ysbryd yw egwyddor y datguddiad *subjective*—y ganwyll yn y llygad. Yn yr Epistolau desgrifia yr apostolion yr Ysbryd yn ol gwahanol ganghenau ei weithrediad, yn "Ysbryd doethineb a datguddiad" (Eph. i. 17), "Ysbryd nerth a chadernid a phwyll" (2 Tim. i. 7), &c. Ond desgrifia Crist Ef yn nghyfanrwydd ei waith, nid yn y canghenau ond yn y bôn, yn Ysbryd y gwirionedd (gwel ar xvi. 13). Yr Iesu yn ei berson a'i waith yw y gwirionedd *objective*; a chan fod ei waith ar gael ei gwblhau, y mae yn bryd i'r datguddiad *subjective* ddechreu yn mherson a gwaith yr Ysbryd; ac yn y penodau hyn eglurir y cyfnewidiad o'r datguddiad allanol i'r datguddiad tufewnol. Hyd nes i'r Mab orphen y datguddiad gwrthrychol, nis gallasai yr Ysbryd ddechreu, ar raddfa

gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adnabod ef: ond chwi a'i hadwaenoch ef; o herwydd y mae yn aros gyd â chwi, ac

---

effeithiol, y datguddiad tufewnol" (vii. 39). Nes i'r Iesu orphen y datguddiad allanol ac esgyn i ogoniant, nid oedd gan yr Ysbryd y defnyddiau angenrheidiol i ddwyn yn mlaen y datguddiad tufewnol, canys nid yw y naill ond eilun (ail-lun) o'r llall. **Yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn am nad ydyw yn ei weled nac yn ei adnabod.** Annichonolrwydd moesol: os yw y byd yn gwrthod yr Iesu fel datguddiad allanol o Dduw, pa fodd y medr dderbyn yr Ysbryd fel datguddiad tufewnol o Dduw? Ond pa fodd y mae cyfrif am yr anghydnawsedd rhwng y byd ac Ysbryd y gwirionedd? Dyry yr Iesu yma ddau reswm. (1) Y cyntaf yw, nad yw y byd yn ei weled (*theōrei*)—ei weled yn allanol, canys nid oes ynddo ddim i apelio at synwyrau corphorol. Awyddfryd mawr y byd yw "gweled"—y mae wedi ei lyngcu i fyny gan yr hyn y gall y llygad ei ganfod, y glust ei glywed, a'r dwylaw ei deimlo. Arluniaeth gelfydd—gwêl y byd hon â'i lygaid; cerdd tafod a thant—clyw y byd hon â'i glustiau; y celfau cain i gyd—daw y byd i gymundeb â'r rhai hyn trwy synwyrau y corph. Gall y byd eu darganfod, eu meithrin a'u gwerthfawrogi. Ond am Ysbryd Duw, nid oes ynddo ddim i apelio at y pum synwyr; nis gellir dal un math o gymundeb ag Ef trwy y synwyrau anianyddol. (2) Y rheswm arall a nodir paham na ddichon y byd dderbyn yr Ysbryd yw, nad yw yn ei adnabod (*ginōskein*)—ei adnabod trwy sylwadaeth ac efrydiaeth. Y mae gwirioneddau ag y gall dyn eu gwybod yn nerth rheswm,—gwirioneddau mesuroniaeth, eneideg, a moeseg; gall ymresymu ei hun i ddealldwriaeth o honynt. Dyma ynte ddau ddosbarth mawr gwirioneddau y byd: gwirioneddau y celfau cain y rhai a adwaenir trwy y synwyrau corphorol, a gwirioneddau athroniaeth y rhai a ganfyddir trwy y rheswm. Ond nid yw Ysbryd Duw yn perthyn i'r naill na'r llall o honynt: nis gellir ei feddiannu trwy ymresymiad y meddwl na chael gafael ynddo trwy sylwadaeth y synwyrau. Nis gall y rhanau materol a deallol o ddyn, yr hyn a gyfansodda y "byd," dderbyn yr Ysbryd Glân—perthyn Efe i randiroedd yr ysbryd (1 Cor. ii. 14).

**Ond chwi a'i hadwaenoch ef.** Chwi a'i hadwaenoch; nid yn gyflawn y mae yn wir,—ond gwyddis wrth diriondeb yr awel pan y mae y nefol ddylanwad ynddi. Dan hyfforddiant yr Iesu yr oedd cyneddf newydd wedi ei deffro a'i meithrin ynddynt—cyneddf i adnabod yr Ysbryd. Yr oedd cydnawsedd â'r ysbrydol a'r pur wedi ei gynyrchu o'u mewn,—yr oedd yr awyr wedi tyneru, digon o leiaf i Ysbryd y Gwirionedd drigo ynddynt. Adwaenant Ef yn ddigon i'w dderbyn; ac ar ol ei dderbyn adnabyddent Ef yn well—*action and reaction*. **O herwydd y mae yn aros gyda chwi.** *Para*—gyda. Nid ynoch chwi, ond gyda chwi, yn eich ymyl, yn ffynhonell pob cysur a nerth. **Ac ynoch y bydd efe.** Dadleua Luthardt a Westcott, ar sail amryw hen lawysgrifau, mai y darlleniad cywir yw, "Ac ynoch y mae Efe,"—yn yr amser presenol. Ond dâl Tischendorf a Godet mai y darlleniad arferol sydd gywir, ac ategir hwy gan y Cyf. Diw,—"ac ynoch y bydd Efe," gan gyfeirio at y cyfnod

ynoch y bydd efe. Nis gadawaf chwi yn amddifaid: mi 18
a ddeuaf attoch chwi. Etto ennyd bach a'r byd ni'm gwel 19
mwy; eithr chwi a'm gwelwch: canys byw wyf fi, a byw

---

ar ol y Pentecost. Defnyddir tri arddodair yn y gwreiddiol i ddangos perthynas yr Ysbryd a'r disgyblion: gyda (*meta*, yn xiv. 7 a xv. 27) i osod allan gymdeithas; yn ymyl (*para*, yn yr adnod hon) i osod allan ei agosrwydd, ac felly ei barodrwydd, i nerthu a thywys; yn (*en*, yn yr adnod hon) i osod allan ei allu i gynorthwyo, nid y gymdeithas yn gyffredinol, ond pob aelod yn unigol. Gyda, yn ymyl, yn: tair *stage* yn ngorymdaith y gwaith achubol.

**ADN. 18. Nis gadawaf chwi yn amddifaid.** Amddifaid (*orphanous*) —dim ond yma ac Iago i. 27. Dychwelir at y drychfeddwl o "blant bychain" yn xiii. 33. Ni fwriadai ei gadael yn ddiamddiffyn a diswcwr yn y byd drwg presenol. **Yr wyf yn dyfod atoch chwi.** Nid "Mi a ddeuaf" fel yn y darlleniad arferol, ond "yr wyf yn dyfod." Y mae absenoldeb pob cysylltair a defnyddiad amser presenol y ferf yn dangos fod angerddoldeb ei gariad yn difodi amser. "Yr wyf yn dyfod atoch" —awgrym fod y ddau Ddiddanydd mewn rhyw ystyr ddofn yn un. Symuda yn mlaen yn araf at y drychfeddwl mai nid un yn ei *le* yw yr Ysbryd, ond Efe ei hunan mewn rhyw ystyr ddofn a dirgeledig, yr hwn wirionedd a ddadblygir yn yr adnodau dilynol.

**ADN. 19. Eto enyd bach a'r byd ni'm gwêl mwy.** Gwel y byd fi am ychydig oriau; ond wedi fy nghladdu mewn bedd ni'm gwel mwy. Ac y mae yn ffaith na welodd yr un anghredadyn Ef ar ol ei gladdedigaeth. Ffaith i gredinwyr yw yr Adgyfodiad, nid i anghredinwyr. Paham na ymddangosodd i'r rhai digred? Am y rheswm syml "Ni chredasent pe cyfodai un oddiwrth y meirw." **Ond chwi a'm gwelwch.** (1) Cyfeiriad yn y lle cyntaf at ei ymddangosiadau amryfal i'r Unarddeg rhwng ei Adgyfodiad a'i Esgyniad. (2) Ond prin y mae yr ymddangosiadau hyny yn dihysbyddu yr ymadrodd, a diamheu genym y cymerir i mewn y cyfnod ar ol y Pentecost yn gystal, y dysgyblion yn ei weled (*theōreite*) â llygaid y meddwl mor wirioneddol ag y gwelsant Ef erioed â llygaid y corph. Oblegid wrth anfon yr Ysbryd, nid anfon un i lanw ei le yn ei absenoldeb yr oedd, ond yn hytrach i ddwyn ei bresenoldeb i agosrwydd nes a mwy effeithiol. **Canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd.** Gellir deall y geiriau mewn tair ffordd. (1) "Chwi a'm gwelwch, canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Gan y byddaf fi byw yn y byd ysbrydol, a chan y byddwch chwithau byw trwy y bywyd ysbrydol, pery cymundeb personol rhyngom a'n gilydd. (2) "Chwi a'm gwelwch, canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Chwi a gyfranogwch o fy mywyd; a thrwy gyfranogiad o fy mywyd chwi a sylweddolwch fy mod, ie, teimlwch fy mhresenoldeb. (3) Ond yn lle cysylltu y "canys" â'r frawddeg flaenorol, gan ddwyn i mewn y rheswm dros ddyweyd y cânt ei weled, barna Hengstenberg, Lange, Godet a Westcott mai gwell ei gysylltu â'r frawddeg sydd yn dilyn: "Chwi a fyddwch byw, canys byw ydwyf fi." Felly gwneir o hwn wirionedd annibynol,—bywyd Crist yn wystl dros fywyd ei bobl. "Byw wyf fi," yn yr amser presenol, canys er ei fod yn gwynebu angeu teimlai o'i

20 fyddwch chwithau hefyd. Y dydd hwnnw y gwybyddwch
fy *mod* i yn fy Nhad, a chwithau ynof fi, a minnau ynoch
21 chwithau. Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac
yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i:
a'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i: a
22 minnau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo. Dywed-

---

fewn "nerth bywyd annherfynol." O flaen, islaw, ac ar ol marwolaeth ymdreigla ei fywyd yn y blaen. Siarada am ei angeu mewn *tenses*—presenol, gorphenol, a dyfodol; ond nid oes *tenses* i'w fywyd. "Yr hwn *wyf* fyw, ac a *fum* farw; ac wele, byw *ydwyf* yn oes oesoedd" (Dat. i. 18). Y mae y bywyd dwyfol fel y Bôd dwyfol, uwchlaw amser a lle, heb foddau ac amserau, y bywyd *absolute*. Y mae ein bywyd *relative* ni yn sylfaenedig ar ei fywyd *absolute* Ef.

**ADN. 20. Y dydd hwnw chwi a wybyddwch fy mod i yn fy Nhad, a chwithau ynof fi, a finau ynoch chwithau.** Y pwylais ar "chwi." "Y dydd hwnw," sef y cyfnod yn dilyn y Pentecost. "Chwi a wybyddwch" (*ginōskein*),—bydd eich gwybodaeth, yr hon sydd eisoes wedi dechreu yn iawn, gynyddu i'r graddau y bydd eich profiad ysbrydol yn cynyddu, nes o'r diwedd y cyrhaeddwch sicrwydd diymod o dair ffaith, pob un y tu allan i gylch gwybodaeth y byd; (1) fy mod i yn y Tad; (2) a chwithau ynof fi; (3) a minau ynoch chwithau. Dyna y Tad, y Mab, a'r credinwyr bleth yn mhleth a'u gilydd, ac nid oes meddwl yn ddigon treiddgar i egluro y berthynas na bysedd yn ddigon celfydd i ddadrys y cysylltiad. Yn adn. 17 yr Ysbryd sydd yn trigo yn y saint; yma y Tad a'r Mab. Weithiau y Personau yn eu gwahaniaeth sydd amlycaf, ac weithiau y Personau yn eu hundod; rhaid wrth y ddau er mwyn cydbwysedd yr athrawiaeth.

**ADN. 21. Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo.** Yr hwn sydd wedi eu meddiannu yn eiddo iddo, megis y dengys y ferf *echōn*,—wedi eu dodi, nid yn ei gof yn unig, ond hefyd yn ei galon a'i ysbryd. Nid gwybodaeth o honynt fel rheolau allanol, ond meddiant tufewnol o honynt yn nirgel ddyn y galon. Nid efe sydd yn perchen y gorchymynion, ond y gorchymynion sydd yn ei berchen ef. **Ac yn eu cadw hwynt.** "Cadw" (*tērein*)—eu gwylied hwynt. Eu gwylied yn mha fodd? Fel ysgolor yn gwylied y llinellau yn ei ysgriflyfr, fel aradrwr yn gwylied y nod er tynu y gŵys yn union, fel plentyn yn cerdded ar fur yn gwylied pa le i roddi ei droed i lawr. Rhaid wrth wyliadwriaeth barhaus i lunio y bywyd ar linellau y gorchymynion. Gweddiwch, meddai yn adn. 13; gwyliwch, meddai yn yr adnod hon: dwy amod cynydd yr enaid mewn crefydd. **Hwnw yw yr un sydd yn fy ngharu i.** Nid "efe," and "hwnw" (*ekeinos*) yn bwysleisiol: hwnw, a neb arall. Nid proffes a hwyl, nac hyd nod melusder profiad, ond meddiant llwyr o orchymynion Crist ac ymdrech gyson i fyw yn eu hôl, yw y prawf goreu fod genym gariad at Grist. Twyllodrus pob prawf arall. Y fath foesoldeb uchel sydd yn nodweddu ei ddysgeidiaeth Ef! **A'r hwn sydd yn fy ngharu i a gerir gan fy Nhad i, a minau a'i caraf ef.** Dyma gariad triphlyg: cariad y credadyn at yr Iesu, cariad y Tad at y credadyn, a chariad yr Iesu ato

odd Judas wrtho, (nid yr Iscariot,) Arglwydd, pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr dy eglurhâu dy hun i ni, ac nid i'r

---

hefyd. Cariad o ymhyfrydiad, meddai yr esbonwyr. Fod hyfrydwch mawr ynddo sydd yn ddigon tebyg; ond *agapān* yw y gair, nid *philein*, ac felly dynodir cariad fel egwyddor yr ewyllys, ac y mae y cariad sydd yn sylfaenedig ar egwyddor yn rhagorach o ran ei natur ac yn sicrach o ran ei barhad na'r cariad sydd yn sylfaenedig ar deimlad. Cariad ydyw o du Duw a thu y credadyn mewn cysylltiad a chadw y gorchymynion. **Ac a amlygaf fy hun iddo.** Gyda ac yn y Diddanydd y mae Efe ei hun yn bresenol. Nid yr Ysbryd a wêl y credadyn yn y presenoldeb tufewnol yn ei galon, ond yr Iesu. Pan y preswylia yr Ysbryd ynddo, teimla ef mai yr Iesu yw y trigiannydd. Mor fawr yw dirgelion y ffydd! ac eto gwirir hwy yn mhrofiad pob duwiol. "Ac a amlygaf fy hun iddo." Nid egluraf, ond amlygaf. Ni all y fam egluro ei hun i'r plant; ond mor hawdd yr amlyga ei phresenoldeb—y mae fel llewyrch haul yn y ty. Felly nid yw Crist yn egluro ei hun, esbonio rhyfeddodau ei berson; pery y rhai hyny yn ddirgelwch; ond medr amlygu ei hun—gŵyr y credadyn pwy yw yr ymwelydd wrth yr heulwen ar ei aelwyd. "Mi a amlygaf fy hun iddo." Y fath fawredd a hawlia iddo ei hun! Rhaid fod yr ymadrodd yn tarddu o'i ymwybyddiaeth fyw o'i undod hanfodol a Duw, rhaid fod rhyw *background* tragwyddol iddo. "Dangos i ni y Tad," yw llais y ddynoliaeth yn mhob oes, yn ol datganiad Thomas yn nechreu y benod. "Myfi a ddangosaf fy Hun," yw ateb Crist. Ac eto taera rhai mai dyn yn unig ydoedd. Anmhosibl: cuddio ei hun sydd yn gweddu i ddyn, i Dduw yn unig y mae yn weddus i ddangos ei hun.

**ADN. 22. Dywedodd Judas wrtho, nid yr Iscariot.** Heblaw y Judasiaid a enwir yn llechres achyddol yr Arglwydd Iesu, enwir yn y Test Newydd chwe Judas: 1, Judas Iscariot; 2, Judas, nid yr Iscariot, brawd neu fab i Iago (Luc vi. 16; Act. i. 13), ac a gyfenwir yn Matt. x. 3 yn Lebbeus a Thadeus; 3, Judas, brawd yr Iesu (Matt. xiii. 55; Marc vi. 3); 4, Judas Barsabas (Act. xv. 22, 27, 32); 5, Judas o Galilea (Act. v. 37); 6, Judas o Damascus (Act. ix 11). Yr ail yw y gwr y cyfeirir ato yma. Dyma yr unig sylw o'i eiddo sydd ar gof a chadw. Cawn felly yn y benod hon dri o'r dysgyblion lleiaf enwog yn gofyn cwestiynau. **Arglwydd, pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr eglurhau dy hun i ni, ac nid i'r byd?** "Pa beth yw yr achos" (*ti gogonen*), pa beth sydd wedi digwydd? Parhâi Judas i goledd syniadau Iuddewig am y Messiah, disgwyliai amlygiadau gwyrthiol i apelio at y synwyrau corphorol nes argyhoeddi y byd pwy ydoedd. Ond dysgai yr Iesu yn yr adnodau blaenorol na amlygai ei hun i neb ond i'r rhai a'i carent, sef, i'r dysgyblion. Tarawai hyn Judas yn dra hynod a gofyna, Beth sydd wedi digwydd dy fod yn newid y *programme*? Deallem ni y bwriadet amlygu dy hun i'r byd yn dy ogoniant Messianaidd; a ydwyt wedi newid dy gynllun? Beth sydd wedi cymeryd lle i achosi y cyfnewidiad? Gwyddom ni nad oedd dim cyfnewidiad yn nghynllun yr Iesu, ond yn nirnadaeth Judas.—deallai Judas y mater yn wahanol, dyna'r oll. Ond i deimlad Judas yr oedd cyfnewidiad yn ei ddirnadaeth ef yn gyfartal i gyfnewidiad yn rhaglen yr Iesu.

23 byd? Yr Iesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Os câr
neb fi, efe a geidw fy ngair; a'm Tad a'i câr yntau, a nyni
24 a ddeuwn atto, ac a wnawn ein trigfa gyd âg ef. Yr hwn

---

**ADN. 23. Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho.** Aiff yr Iesu yn mlaen i symud y ddau gamgymeriad y llafuriai Judas danynt: (1) am natur yr hunan-amlygiad a roddai; (2) am yr amodau ar ba rai y rhoddai yr hunan-amlygiad hwn. Amlygiad cyhoeddus anianyddol oedd yn meddwl Judas,—gwneir hwnw i'r byd yn niwedd amser; ond yr amlygiad y llefara Crist am dano yn awr sydd amlygiad ysbrydol tufewnol, nid i lygaid y corph, ond i olygon y meddwl. **Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair.** Ailadroddiad o wirionedd adn. 15, ond yno yr oedd ei gymhwysiad yn cael ei neillduoli tra yma y mae yn cael ei gyffredinoli: "Os câr *neb* fi"—y mae deddf cariad yn unffurf yn ei gweithrediadau yn mhawb. "Efe a geidw fy ngair,"—nid fy nghorchymynion fel yn adn. 15, ond fy "ngair." Y mae "gair" Crist yn ehangach na'i orchymynion, cynwysa yr Efengyl yn ei chyfanrwydd,—yn ei hathrawiaeth yn gystal ag yn ei moeseg. Y mae "cadw y gorchymynion" yn gosod allan ufudd-dod buchedd; y mae "cadw y gair" yn cynwys ufudd-dod ffydd yn gystal. Y mae cariad Crist yn gwneuthur dynion mor zelog dros yr "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb" â thros y gorchymynion sydd yn ol moesoldeb. Paham y diofalwch a'r llacrwydd sydd yn nodweddu ein hoes gyda golwg ar yr athrawiaeth? Y mae lle i ofni y tardda, nid o gariad, ond o ddiffyg cariad, at yr Arglwydd Iesu. **A'm Tad a'i câr yntau.** Wrth garu Crist aiff y credadyn yn wrthrych arbenig cariad y Tad: wrth garu y mae yn cael ei garu. **A nyni a ddeuwn ato.** "Nyni"—y Tad a Fi! Pa greadur a feiddiai gynwys ei hun yn y dwyfol "Ni"? Y mae y *Plural* dwyfol hwn yn arddangosiad sicr o'i ymwybyddiaeth ddyfnaf. Nid yw yn bradychu un teimlad o anweddusrwydd wrth gyplysu ei hun a Duw,—"**Nyni** a ddeuwn ato." Yn adn. 17 dywed y daw yr Ysbryd i drigo yn y credadyn; yn adn. 18 dywed y daw Ef yn ei Ysbryd i drigo ynddo; ac yma dywed y daw y Dwyfol Dri -Tad, Mab, ac Ysbryd—i drigo ynddo. O dan wahaniaeth y Personau dwyfol gorwedd undod y Natur ddwyfol. **Ac a wnawn ein trigfan gydag ef.** Yr un gair sydd yn adn. 2 ac yma, trigfan (*monēn*). Felly yn nechreu y benod addewir trigfan i'r credadyn gyda Duw yn y nefoedd; yma addewir trigfan i Dduw gyda'r credadyn ar y ddaear. Y Drindod Sanctaidd yn gwneyd eu trigfan gyda y credadyn, yn "gymdeithion ty a bwrdd," ys dywed Luther. Nid ynddo Ef a ddywedir, ond gydag Ef: beth yw y gwahaniaeth? Ynddo (adn. 16)—golyga undeb; gyda—golyga gymundeb; ac y mae cymundeb yn rhagdybied undeb, megis y mae y goruwch-adeilad yn rhagdybied sylfaen. Ond pa berthynas sydd rhwng yr adnod hon a gofyniad Judas? Y berthynas agosaf sydd bosibl. Y rheswm paham yr eglura yr Iesu ei hun i'r dysgyblion yn unig, ac nid i'r byd hefyd, yw mai cariad yw amod yr eglurhâd, yr amod anghenrheidiol yn natur pethau. Nis gall dim ond calon lawn o gariad dderbyn datguddiedigaethau gras yr Iesu. Rhaid wrth enaid cerddor i ddeall cerddoriaeth; rhaid wrth farddoniaeth yn yr enaid i ddehongli barddoniaeth anian; rhaid wrth gariad at Grist . werthfawrogi cyfrinach Crist. Ffydd yn Nghrist yw amod ein hiachaw-

nid yw yn fy ngharu i, nid yw yn cadw fy ngeiriau: a'r
gair yr ydych yn ei glywed, nid eiddof fi ydyw, ond eiddo
y Tad a'm hanfonodd i. Y pethau hyn a ddywedais 25
wrthych, a mi yn aros gyd â chwi. Eithr y Diddanydd, 26
yr Ysbryd Glân, yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, efe a

---

dwriaeth; cariad at Grist yw amod ein dealldwriaeth. Rhyfedd mor syml yr amodau! Nid dysg a gwrteithiad meddyliol, ond credu a charu —pethau y medr pawb eu gwneuthur, y gwreng yn gystal a'r bonheddig, yr annoeth yn gystal a'r dysgedig.

ADN. 24. **Yr hwn nid yw yn fy ngharu i nid yw yn cadw fy ngeiriau.** Y cadarnhaol yn adn. 23, y nacäol yma, yn ol arfer Crist. I'r hwn sydd yn caru Crist y mae dysgeidiaeth Crist yn "air," yn y rhif unigol,—y mae y Person yn egwyddor o unoliaeth yn nghanol yr amrywiaeth. Ond i'r hwn nad yw yn ei garu, nid yw ei ddysgeidiaeth ond "geiriau," yn y rhif lluosog,—colla ei hun yn y rhanau, gormesa yr amrywiaeth ar yr unoliaeth. Yn Nghrist y mae y ddysgeidiaeth yn "air"; allan o Grist y mae yn "eiriau," heb un canolbwynt iddynt. **A'r gair yr ydych yn ei glywed, nid eiddo fi ydyw, ond eiddo y Tad a'm hanfonodd i.** Yr oedd ei athrawiaeth Ef fel Cyfryngwr yn ffynhonellu, nid ynddo Ef, ond yn y Tad a'i gosododd yn ei swydd (gwel ar v. 19). Felly yr oedd gwrthod ei ddysgeidiaeth Ef gan y byd yn wrthod dysgeidiaeth y Tad; pa fodd, gan hyny, y gallasai y Tad a'r Mab amlygu eu hunain i'r byd? Yr oedd y gwrthnawsedd yn gwneyd amlygiad ysbrydol i'r byd yn annhosibl.

ADN. 25. Ymddengys fel pe bai yr Iesu wedi aros yn synfyfyriol am funyd neu ddwy ar ol adn. 24. **Y pethau hyn a ddywedais wrthych.** "Y pethau hyn" yn bwysleisiol ac yn gyferbyniol i'r "holl bethau" yn yr adnod nesaf. Pa bethau ydynt? (1) Etyb rhai mai holl faterion ei weinidogaeth o'r dechreu. Ond ymddengys i ni fod yr ymadrodd "y pethau hyn" yn gofyn am ystyr mwy pendant. (2) Oherwydd paham tybiwn y cyfeiria yn benaf at y gwirioneddau a draethodd yn yr oruwchystafell. **A mi yn aros gyda chwi.** Ond y mae amser fy arhosiad ar ben. A ydyw eu gyrfa addysgawl hwy, gan hyny, i derfynu? Nac ydyw; canys addawa yn yr adnod nesaf y dygir eu haddysg hwy yn mlaen.

ADN. 26. **Eithr y Diddanydd, yr Ysbryd Glân.** Tra y gelwir Ef yn aml yn Ysbryd Glân yn yr efengylau eraill (Matt. i. 18; iii. 3; xii. 31, &c.), yma yn unig y cyfenwir Ef felly yn Efengyl Ioan, canys nid yw yr ansoddair "Glân" yn vii. 39, yn y llawysgrifau goreu. Fel Ysbryd Duw gweithreda trwy yr holl greadigaeth resymol ac afresymol; ond fel Ysbryd Glân perthyn y mae i'r greadigaeth resymol. **Yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i.** Yn xvi. 7 Efe ei hun sydd yn ei anfon, yma y Tad—amrywiaeth yn yr unoliaeth, ac unoliaeth yn yr amrywiaeth. Ond pa beth a feddylir wrth fod yr Ysbryd Glân yn cael ei anfon yn enw yr Iesu? (1) Etyb De Wette ac Alford mai yr un peth ag a olygir wrth ei anfon mewn atebiad i weddi yr Iesu yn adn. 16—ailadroddiad diamcan. (2) Barna Godet mai y meddwl yw yr enfyn y Tad yr Ysbryd oherwydd yr Iesu—oherwydd cariad y Tad at ei Fab ac at yr hwn sydd yn caru y

ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gôf i chwi yr

---

Mab. (3) Tybia Ewald, Tholuck a Watkins mai fel ei gynrychiolydd ac yn ei le. (4) Ar y cyfan doethach yn ein bryd ni yw cymeryd yr "Enw" yn y fan hon yn ei ystyr arferol, yn golygu datguddiad llawn a pherffaith o'r hyn y mae yn enw arno. Felly anfon yr Ysbryd yn ei Enw yw ei anfon yn ei gymeriad, i weithredu o fewn cylch ei ddatguddiad, ac i'r amcanion achubol i ba rai yr anfonwyd Ef ei hun. Daeth y Mab i'r byd yn "Enw" ei Dad: h.y. nid yn ei garictor fel Person noeth anfeidrol, ond yn ol rhag-gynllun ei Dad, ffurfiodd ei fywyd yn ol y cynllun. Yr un modd daeth yr Ysbryd i'r byd yn enw y Mab: nid yn ei gymeriad noeth fel Trydydd Person yn y Drindod, ond yn nghymeriad achubol yr Arglwydd Iesu—daeth yma yn "mold yr athrawiaeth," yr un mold ag y traddodir y saint iddi (Rhuf. vi. 17). Trwy ei Ymgnawdoliad a'i Iawn cynyrchodd y Mab wirioneddau gwrthrychol yr iachawdwriaeth; yma daw yr Ysbryd yn enw yr Iesu yn oleuni tufewnol yn y llygaid i weled y ffeithiau, i roddi iddynt yr iawn ddehongliad, a'u sylweddoli yn hanes credinwyr.

**Efe a ddysg i chwi yr holl bethau.** Efe (*ekeinos*) yn bwysleisiol, Efe mewn ffordd arbenig, Efe a neb arall. Yn gymaint a'i fod yn rhagenw gwrywaidd, arwydda ei fod yn berson byw gwahaniaethol, ac nid yn unig yn ddylanwad iachusol. Hyd yn hyn *It* a ddefnyddir; yma y mae yr *It* yn dadblygu yn *He*. "Efe a ddysg i chwi yr holl bethau"—nid holl bethau y cread, ond holl bethau yr Enw, yr holl bethau sydd yn perthyn i'r iachawdwriaeth. Gellais i ddyweyd y "pethau hyn," meddai yr Iesu yn yr adnod flaenorol; ond y mae genyf lawer o bethau eraill i'w dywedyd i chwi, y rhai ni ellwch eu dwyn yr awrhon; eithr pan ddêl yr Ysbryd Glân, Efe a ddysg i chwi yr "holl bethau"—yr holl bethau mewn cyferbyniad i'r "pethau hyn." Felly cydmara yr Iesu ei hun fel dysgawdwr â'r Ysbryd fel dysgawdwr, a phriodola effeithiolrwydd mwy a *scope* ehangach i'r olaf. Ni chynwysa hyn mewn un modd fod gwaith yr Ysbryd yn bwysicach na'i waith Ef,—gwaith y Mab yw sylfaen gwaith yr Ysbryd, yr *objective* yw y rheswm dros y *subjective*. Beth sydd yn gynwysedig yn yr "holl bethau"? Y mae yn amlwg mai holl bethau yr "Enw" a feddylir. (1) O ganlyniad, cauir allan syniadau y cyfrinwyr eithafol, megis Swedenborg, fod yr Ysbryd yn hysbysu gwirioneddau newyddion ac ychwanegol i saint unigol, gwirioneddau y tu allan i gylch yr Enw, h.y. i gylch y Datguddiad ysgrifenedig. (2) Cauir allan hefyd y syniad Pabyddol fod yr Ysbryd yn dysgu athrawiaethau newyddion i'r byd, megis dibechadurusrwydd Mair ac anffaeledigrwydd y Pab. Ychwanegiadau at y Datguddiad yw y rhai hyn, ac nid dehongliad o'r Datguddiad sydd eisoes gan yr Eglwys. Tafl yr Ysbryd Glân oleuni llawn a chlaer ar hanes yr Iesu; dehongla i'r Eglwys ffeithiau sylfaenol yr Ymgnawdoliad a'r Iawn, y rhai yn natur pethau ni allasai yr Iesu eu dysgu gydag eglurder. A gyflawnwyd yr addewid hon? Do; nid yw yr Epistolau ond dehongliad o'r ddwy ffaith hyn yn hanes yr Iesu. **Ac a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi.** Am dair blynedd bu yr Iesu yn traethu gwirioneddau mawrion yn nghlyw ei ddysgyblion. Ond pa fodd, gofyna y rhai digred, y gallasai yr efengylwyr gofio pregethau yr Iesu a'u hysgrifenu haner cân

holl bethau a ddywedais i chwi. Yr wyf yn gadael i chwi 27

---

mlynedd ar ol eu traddodiad, a hwythau heb un *short-hand reporter* yn eu plith? Dywedai Dr. James Martineau, un o'r troion diweddaf yr ymddangosodd ar lwyfan gyhoeddus, nad oedd efe yn cofio ond ychydig iawn o frawddegau y proffeswyr dysgedig y bu yn eistedd wrth eu traed yn Germani haner càn mlynedd cyn hyny; pa fodd, gan hyny, y medrai yr apostolion gofio yn mhen haner càn mlynedd, mwy neu lai, areithiau yr Iesu? Yna tỳn efe, ac esbonwyr o'r un ysgol, y casgliad nad oes sylfaen hanesyddol gadarn i'r pregethau a briodolir i'r Iesu. Ond (1) camsyniad yw tybied mai yr amser y cyhoeddwyd yr efengylau yw yr amser y cafodd eu cynwys ei osod mewn ysgrifen am y waith gyntaf (Luc i. 1—4). Ac (2) y mae yn amlwg nad oedd Dr. Martineau yn cydnabod gwirioneddolrwydd yr adnod hon: "Efe a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi." Nid yw yn perthyn i ni yn awr i ymholi pa fodd y mae yr Ysbryd yn bywiocau y cof—y mae gweithrediad goruwchnaturiol Ysbryd Duw ar ysbryd dyn yn ddirgelwch; eithr nid yw, oherwydd hyny, yn ffiloreg. Ond yma cyfyd cwestiwn arall o bwys, I bwy y gwnaed yr addewid hon? (1) Dadleua rhai mai i'r saint yn gyffredinol. Diau y gellir ei chymhwyso ar raddfa gyfyng at yr holl saint, oblegid y mae cynheddfau meddyliol pob dyn duwiol i raddau dan ddylanwad yr Ysbryd Glân; ond y mae y geiriau, i'n tyb ni, yn rhy gryfion i'w cymhwyso at gorph y credinwyr. (2) Am hyny credwn fod eu cyfeiriad arbenig at yr apostolion, nid fel saint yn gymaint ag fel swyddogion yn yr eglwys ieuangc. Addewid sydd yma, nid yn gymaint o oleuni (*illumination*) ag o ysbrydoliaeth (*inspiration*). Perthyn y cyntaf i'r holl saint fel eu gilydd, ond yr olaf i'r dysgyblion dan amgylchiadau neillduol. Dyma ein gwarant dros wirionedd y Test. Newydd a'i safle safonol yn yr Eglwys. Y mae yr "holl bethau" perthynol i iachawdwriaeth yn gynnwysedig ynddo; efe, gan hyny, yw safon ffydd ac ymarweddiad. Ond ar ol ysbrydoli yr Apostolion i'w ysgrifenu, parheir i oleuo y saint i'w amgyffred fwyfwy. Ond a ysbrydolwyd yr Apostolion i ddysgu gwirioneddau newyddion, y tu allan i ddysgeidiaeth, gwaith, a pherson yr Arglwydd Iesu? Prif waith yr Iesu oedd gwneyd Efengyl,—ei gwneyd, nid trwy ddysgu, ond trwy ymgnawdoli a marw; ond prif waith yr Apostolion oedd esbonio yr Efengyl ag oedd eisoes wedi ei gwneyd, egluro yr Ymgnawdoliad a'r Iawn yn eu swyddogaeth yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Felly nid ydynt hwy yn dysgu yr un gwirionedd nad ydyw i'w gael yn yr hedyn mewn ymddiddan neu bregeth neu ffaith yn yr Efengylau: dadblygiad o, ac eglurhâd ar, yr Efengylau yw yr Epistolau. Yn yr Efengylau cawn yr hanes ysbrydoledig; yn yr Epistolau cawn yr esboniad ysbrydoledig arnynt. Hanes ysbrydoledig—"Efe a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau a ddywedais i chwi," ac esboniad ysbrydoledig ar yr hanes—"Efe a ddysg i chwi yr holl bethau": pa synwyr gan hyny sydd yn y cri diweddar, "Yn ol at Grist"?

PUMED SYLFAEN CYSUR—EI DANGNEFEDD. ADN. 27—31.

**ADN. 27. Yr wyf yn gadael i chwi dangnefedd.** Golyga y gair am adael (*aphiēmi*) anfon ymaith, gollwng yn rhydd, ac felly trwy dreigliad naturiol drychfeddyliau gadael mewn ewyllys. Dyma yr hyn a adawodd

dangnefedd ; fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi : nid fel y mae y byd yn rhoddi, yr wyf fi yn rhoddi i chwi.

---

yr Iesu i'w ddysgyblion yn ei ewyllys olaf, tangnefedd. Yr oedd eu meddyliau hwy mewn terfysg a chyffro; ond yr oedd ei fynwes Ef yn llawn tangnefedd, er fod Gethsemane a Chalfaria yn y golwg. Cyfarchiad gwledydd y Gorllewin yw, "Dydd da i chwi," gan fod sefyllfa y tywydd yn elfen bwysig yn ein hapusrwydd ni. Cyfarchiad Groeg oedd "Gras *(charis)* i chwi"—nid gras yn yr ystyr Feiblaidd o ddawn ysbrydol, ond yn yr ystyr glassurol o hawddgarwch allanol, sylfaenedig ar iechyd da. Ond yn Israel y cyfarchiad oedd, "Tangnefedd (*shalom*) i chwi"—*shalom*, gwraidd y gair *salaam* sydd yn disgyn mor fynych ar glustiau teithwyr yn Mhalestina a'r Aipht. Yr oedd ynddynt hwy ymwybyddiaeth o ryw anghydgord yn y byd ysbrydol, a'r fendith werthfawrocaf a fedrent ddymuno i'w gilydd oedd "tangnefedd." Ond y mae tangnefedd ysbrydol yn ddyblyg, allanol a thufewnol. Y mae yn amlwg mai y tangnefedd allanol (*objective*) a ddynoda Crist yn y frawddeg hon, oherwydd tangnefedd ydyw sydd yn cael ei adael ganddo yn ei ewyllys, ac felly tangnefedd seiliedig ar a deilliedig o'i farwolaeth,—tangnefedd y cyfiawnhad, yr hwn a eilw Paul yn "heddwch tuagat Dduw" (Rhuf. v. 1), a'r hwn a eilw Bengel yn "heddwch cymod" *(pax reconciliationis)*, heddwch sylfaenedig ar Iawn. **Fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi.** Y mae y rhagenw "fy" yn bwysleisiol, "fy nhangnefedd i": y tangnefedd, yn ol Bengel, ag yr oedd Efe yn ei feddiannu, y tangnefedd, yn ol Tholuck a Meyer, ag oedd Efe yn ffynhonell iddo. Diau genym y golygir y ddau. Tangnefedd oedd y blaenaf ag oedd yn cael ei *adael*, ac felly tangnefedd allanol, cyfreithiol; tangnefedd yw hwn sydd yn cael ei *roddi*, ac felly golyga dangnefedd tufewnol profiadol. Yn ol hyn gosodir allan yma dangnefedd yr Efengyl yn ei ddwy wedd: tangnefedd allanol, heddwch tuagat Dduw, yn y frawddeg gyntaf; tangnefedd tufewnol, heddwch cydwybod mewn canlyniad i'r heddwch cyfreithiol, yn y frawddeg hon. Pan y cyfiawnheir dyn y mae iddo heddwch tuagat Dduw, ac ar yr un pryd symudir yr euogrwydd oddiar y gydwybod. Nid heddwch calon,—gall hono fod yn dònog a thymhestlog, ofnau lu yn ei haflonyddu; ond heddwch cydwybod—argyhoeddiad dwfn fod y pechod wedi ei faddeu. Mòr gyfoethog yw geiriau syml yr Arglwydd Iesu. **Nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn rhoddi i chwi.** Beth yw y cyferbyniad rhwng ei roddi Ef a rhoddi y byd? (1) Ymddengys fod prif bwys y cyferbyniad yn syrthio ar y *modd* y rhoddir, fel yr awgrymir yn y gair *kathōs*, megis. Pa fodd y mae y byd yn rhoddi? "Addaw yn hael, cyfranu yn brin," a'r rhoddion yn myned yn brinach nes llwyr ddiflannu. Pa fodd y mae Crist yn rhoddi? Rhoddi yn helaeth a sylweddol, y rhoddion bob amser yn fwy na'r disgwyliadau. (2) Ond y mae y cyferbyniad yn y modd yn rhagdybied cyferbyniad yn y gwrthrychau. Pe yr un gwrthrychau a roddasai Crist a'r byd, yr un modd hefyd eu cyfrenid; ond y mae y gwahaniaeth cynhenid yn y gwrthrychau yn peri gwahaniaeth hefyd yn y moddau. Beth y mae y byd yn ei roddi? Tai, tiroedd, golud, clod, anrhydedd—clych ewyn heb ddim sylwedd y tu fewn. Beth y mae Crist yn ei roddi? Tangnefedd—dwyn dyn i gydgordiad â Duw a darostwng yr holl nwydau a'r dymun-

Na thralloder eich calon, ac nac ofned. Clywsoch fel y 28
dywedais wrthych, Yr wyf yn myned ymaith, ac mi a
ddeuaf attoch. Pe carech fi, chwi a lawenhâech am i mi
ddywedyd, Yr wyf yn myned at y Tad; canys y mae fy
Nhad yn fwy na myfi. Ac yr awrhon y dywedais i chwi 29

---

iadau i ewyllys Duw. Nid llonyddwch, ond tangnefedd; nid diogi, ond heddwch—cydbwysedd hollol rhwng egnion ein natur a'u gilydd. Cydweithia dau allu mawr yn ein planed ni—y gallu ffoedigol *(centrifugal)* a'r gallu atdyniadol *(centripetal)*; ond oherwydd mantoliad y galluoedd hofrana y ddaear yn ei chylch mewn tangnefedd heddychol. Dyma y tangnefedd oedd yn mynwes yr Iesu ei hun—perffaith fantoliad pob gallu moesol; dyma y tangnefedd a gyfrana i'w bobl—y *balance* yn rhy sefydlog i ystormydd y byd ei ddadymchwel. **Na thralloder eich calon, ac nac ofned.** Dychwel yr Athraw yma at y gwirionedd gyda yr hwn y dechreuodd yn yr adnod gyntaf, yr hyn a brawf ei fod yn awr yn cyrhaedd y *climax;* ac fel y dylasai *climax* fod, y mae ar lefel uwch na'r dechreu. "Na thralloder eich calon, ac nac ofned." Beth yw y gwahaniaeth rhwng y trallod a'r ofn? (1) Yn ol Bengel arwydda y trallod yr hyn sydd oddifewn, ac ofn yr hyn sydd oddiallan. (2) Ond dàl Stier fod y trallod yn gosod allan raddau llai, a'r ofn raddau mwy, o'r un peth. (3) Ond wrth gydmaru yr adnod hon ag adnodau eraill lle y dygwydda y gair *(deiliaō)* a gyfieithir yma yn ofni, casglwn mai ei brif ddrychfeddwl yw llwfrdra, *cowardice*. Na therfysgwch, meddai yr Iesu, a pheidiwch bod yn *cowards*. "I'r rhai ofnog *(deilois—cowards)*, a'r ffiaidd, a'r llofruddion, . . . . y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi o dân a brwmstan" (Dat. xxi. 8). Rhestrir y *cowards* crefyddol gyda y cymeriadau gwaethaf. *Cowardice* a ddamniodd gannoedd o'r Iuddewon; credent yn yr Iesu, ond rhag ofn y Phariseaid ni chyffesent Ef!

**ADN. 28. Clywsoch fel y dywedais wrthych, Yr wyf yn myned ymaith, ac mi a ddeuaf atoch.** Cyfeiriad at gynwys adn. 3 a 9. **Pe carech fi, chwi a lawenhaech.** Nid yw yn gwadu diffuantrwydd eu cariad, ond awgryma ei fod yn gymysgedig ag elfenau daearol a chnawdol. Nid oedd eu cariad wedi ymloewi, yr oedd y sorod heb ddisgyn i'r gwaelod. Pe carech fi a chariad gloew perffaith, chwi a lawenhaech; ond yn gymysedig â'ch cariad ataf fi, y mae eich cariad atoch eich hunain, yr hwn sydd fel llwch yn eich llygaid. Yn lle meddwl am y lles a ddeillia i mi yn fy ymadawiad at fy Nhad, yr ydych yn gofyn, Beth a ddaw o honom ni? ac y mae meddwl am eich dyfodol eich hunain, yn lle am fy nyfodol i, yn llanw eich calon a thristwch. **Am i mi ddywedyd, Yr wyf yn myned at y Tad.** Y mae bod gyda y Tad yn y nefoedd yn well i mi na bod gyda chwi ar y ddaear; a phe carech fi, chwi a lawenhaech fod amser fy ngogoneddiad wedi dyfod. Ac nid yn unig byddaf fi ar fy enill, ond y chwithau hefyd. Try yr hyn a fydd yn fantais i mi yn fendith i chwi.

**Canys y mae y Tad yn fwy na Myfi.** Y mae yr ymadrodd hwn wedi achlysuro dadleuon lawer. 1. Y dadleuon rhwng y duwinyddion hereticaidd a'r duwinyddion uniongred. Ar sail yr ymadrodd hwn dadleuai Arius mai creadur oedd y Gair, y creadur cyntaf a'r mwyaf a greodd

Duw erioed, trwy yr hwn y gwnaeth Efe bob peth arall,—ond israddol i Dduw mewn safle a naturiaeth. Ganrifoedd ar ei ol ef daeth Sosin a'r Undodiaid yn dâl mai dyn yn unig oedd Iesu Grist, gan wadu ei fod yn Dduw yn ol y dduwinyddiaeth uniongred, neu yn eil-dduw yn ol y dduwinyddiaeth Ariaidd. Dyna un ochr i'r darian, ond y mae ochr arall iddi. Beth a feddyliem am ddyn yn dywedyd, Y mae Duw yn fwy na myfi? Wrth reswm y mae yn fwy; y mae yn wirionedd mor amlwg fel na freuddwydiai dyn yn ei synwyrau roddi mynegiad iddo. Pe clywem wr yn dyweyd hynyna, deuem ar unwaith i'r casgliad fod gwallgofrwydd mawr yn ei ben neu annuwioldeb mawr yn ei galon. Ond dengys yr holl hanes nad oedd Crist yn wallgof nac yn annuwiol; ac eto meiddia gydmaru eu hun â Duw. Rhaid gan hyny fod ynddo ymwybyddiaeth o fawredd teilwng i'w gydmaru â'r mawredd Dwyfol. Y mae llawer o bwynt yn sylw Godet: "Y creadur a ddywedai, 'Y mae Duw yn fwy na myfi,' a gablai ddim yn llai na'r hwn a ddywedai, 'Yr wyf fi gystal a Duw.' Duw yn unig a fedr gydmaru ei hun a Duw." Diau genym fod gan uniongrededd, hyd yn nod yn yr adnod hon, seiliau cadarnach nag Ariaeth nac Undodiaeth. 2. Y dadleuon rhwng y duwinyddion uniongred a'u gilydd. "Y mae fy Nhad yn fwy na myfi"—yn mha ystyr? (1) Etyb mwyafrif y Tadau Groegaidd, a dilynir hwy gan Olshausen, Godet, a Westcott, mai cyfeiriaid sydd yma at drefn eu bodolaeth yn y Drindod Fendigaid. Oblegid mai y Tad yw y person cyntaf, Efe yw ffynhonell neu wreiddyn y Duwdod; o hono Ef y derbynia y Mab ei bersonoliaeth; o ganlyniad y mae y Tad yn fwy na'r Mab, gan y dibyna yr olaf ar y cyntaf am ei fodolaeth. Ond gan y credwn mai un o egwyddorion mwyaf hanfodol esboniadaeth ydyw, mai nid amcan Cristionogaeth ydyw dagtuddio perthynasau tufewnol (*metaphysical*) y Duwdod, ond perthynasau y Personau a'u gilydd yn nhrefn yr achub, gorfodir ni i wrthod yr eglurhâd hwn. (2) Ateb Cynghor Nicea ydyw fod y Mab ymgnawdoledig yn gydradd â'r Tad o ran ei natur ddwyfol, ond yn israddol iddo o ran ei natur ddynol. Dyma hefyd y golygiad a amddiffynir gan y duwinyddion Puritanaidd. Gwrthddadleuir yn erbyn y farn hon ei bod yn rhanu yr Arglwydd Iesu yn Dduw ac yn ddyn; un "myfiaeth" oedd ganddo, ac nid dwy. Eithaf gwir; ac eto nis gellir deall yr undod ar wahân i'r ddeudod,—trwy *analysis* y gallwn ddirnad y *synthesis.* Rhwydd gyfaddefwn fod tuedd yn y Puritaniaid i dderchafu y dwyfol ar draul y dynol; ond mae tuedd grefach mewn dosbarth swnfawr o dduwinyddion yr oes hon i dderchafu y dynol ar draul y dwyfol. O'r ddau eithafion yr olaf yw y mwyaf dinystriol: oherwydd yn y Test. Newydd, nid y dynol sydd yn llywodraethu y dwyfol, ond y dwyfol sydd yn rheoli y dynol. Gwell i'r dafol ogwyddo i ochr y Duw-ddyn nag i ochr y dyn-Dduw; ond rhagorach fyth yw ei chadw yn wastad. (3) Gwell na'r ddau eglurhad unochrog uchod yw, mai fel Mab Duw yn natur dyn, yn llanw y swydd Gyfryngol, mewn ystad o ddarostyngiad y llefara. Rhaid wrth dair elfen—natur dyn, y swydd Gyfryngol, ac ystad o ddarostyngiad—i egluro ei isafiaeth; nid y ddwy gyntaf heb yr olaf, canys y mae yn natur dyn ac yn y swydd Gyfryngol heddyw yn y nefoedd, ond nid yw oherwydd hyny yn llai nac is na'r Tad. Nid yw hyn mewn un modd yn wadiad ar y perthynasau tragwyddol yn yr Hanfod; ond yn lle gwneyd y Cenhedliad Tragwyddol yn foddion i egluro yr Ymgnawoliad, doethach yn ein tyb ni yw gwneyd yr Ymgnawdoliad yn foddion i egluro

cyn ei ddyfod, fel pan ddêl, y credoch. Nid ymddiddanaf 30
â chwi nemawr bellach: canys tywysog y byd hwn sydd
yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi. Ond fel y gwypo 31

---

y Cenhedliad. Yn lle disgyn o'r Cenhedliad i'r Ymgnawdoliad, dyogelach esgyn o'r Ymgnawdoliad i'r Cenhedliad. Nid ydym yn rhyfeddu fod y Tadau Groegaidd yn dilyn y dull blaenaf, oherwydd dyna ysbryd eu hoes,—*deduction*, gweithio oddiwrth egwyddorion at ffeithau; ond synwn dipyn fod duwinyddion diweddar yn gwneyd hyny, oblegid ysbryd yr oes, yr ysbryd gwyddonol, yw— *induction*, gweithio oddiwrth ffeithiau at egwyddorion. Rhaid i ni astudio y Duwdod yn ngoleuni yr iachawdwriaeth, ac nid yr iachawdwriaeth yn ngoleuni y Duwdod.

**ADN. 29. Ac yr awrhon y dywedais i chwi cyn ei ddyfod, fel pan ddel y credoch.** Cyn dyfod peth? (1) Cyn dyfod yr Ysbryd Glân. Yr wyf yn dywedyd i chwi cyn ei ddyfod, fel pan ddel y credoch. (2) Cyn dyfod yr ymadawiad. Rhagfynegai ei farwolaeth iddynt, a'i esgyniad at y Tad, ac eglurai iddynt yr ystyr, fel, pan y digwyddai hyn, yn lle eu tarfu, y cadarnhâi hwynt yn y ffydd.

**ADN. 30. Nid ymddiddanaf a chwi nemawr bellach.** Digon tebyg ei bod yn tynu ar y deg o'r gloch; tua chanol nos byddai yn y ddalfa. **Canys tywysog y byd hwn sydd yn dyfod.** Y diafol (gwel ar xii. 31). Yr oedd Judas a'r archoffeiriaid y funyd hon yn penderfynu ar eu cynllun, ymgasglai gwŷr y gwaewffyn at eu gilydd,—yn mhen dwy awr byddent ar eu taith i Gethsemane i'w gymeryd yn garcharor. Ond fel arferol treiddia yr Iesu trwy bob ymddangosiadau allanol at yr egwyddor ddrwg, yr "Un drwg," ag oedd yn ffynhonell y cyfan,—gesyd ei fys ar y *bottom fact*. Yn ngelyniaeth yr Iuddewon, gwelai Efe yr Ysbryd Drwg ag oedd yn ymgynddeiriogi yn ei erbyn. Gweithiai trwy ddynion fel ei offerynau. Eithr onid oes yma awgrymiad pellach fod gornest law-yn-llaw ar gymeryd lle rhwng yr Iesu a'r diafol? Bu un ymladdfa o'r fath yn nechreu ei weinidogaeth (Matt. iv. 1—11); ar derfyn hono cofnodir, "Ac wedi i ddiafol orphen yr holl demtasiwn, Efe a ymadawodd ag Ef dros amser" (Luc iv. 13). Yn awr eto, ar derfyn ei weinidogaeth, gwna y diafol ymosodiad ofnadwy arall arno. "Hon yw eich awr chwi a gallu y tywyllwch" (Luc xxii. 53). Dywedai y Parch. John Jones, Blaenanerch, yn un o'i bregethau mawrion, fod tair haen yn nyoddefiadau yr Arglwydd Iesu: y gyntaf, ymosodiadau creulon dynion arno, yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid; yr ail, ymosodiadau mwy echrydus y cythreuliaid ar ei enaid glân, "*sharks* y gwaelod" fel y galwai Mr. Jones hwynt, y *sharks* mwyaf ysglyfaethus o'r oll; y drydedd, dwyn cospedigaeth ein heddwch ni, "ei daro a cleddyf ei Dad." O'r Ceidwad bendigedig! **Ac nid oes iddo ddim ynof fi.** "Ac" *adversative*, fel yn aml yn ysgrifeniadau Ioan, yn gyfystyr ag "ond" (gwel y Rhaglith: cyf. I. tud. 10, 11). "Ond nid oes iddo ddim ynof fi"—dau nacâd er mwyn cryfder. Dim peth? Dim byd. Yr oedd yn hollol rydd oddiwrth bob peth drwg, nid oedd y diafol wedi gadael cymaint ag ôl ei bawen ar ei natur lân, nid oedd ynddo un hedyn pechadurus. Nid yn unig nid oedd yr hedyn wedi tyfu, ond nid oedd wedi gwreiddio. Y mae i'r diafol ryw gymaint yn mhawb eraill; "ond nid oes iddo ddim ynof fi," meddai yr Iesu, gan roddi y pwyslais ar "fi." Ac am nad oedd

y byd fy mod i yn caru y Tad, ac megis y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur, Codwch, awn oddi yma.

---

iddo ddim ynddo, nid oedd ganddo hawl arno,—nid oedd ganddo allu marwolaeth arno. Nid oedd gan y diafol hawl cyfraith i'w ladd, ond yr oedd gan yr Iesu hawl cyfraith i fyw. Wel, fe fŷn yr Iesu ei hawl? Na; megis yn yr Ymgnawdoliad y rhoddodd i fyny ei hawl i'r bywyd dwyfol (Phil. ii. 5—8), felly yn ei Iawn rhoddodd i fynu ei hawl i'r bywyd dynol—ymostyngodd i allu dienyddiol y diafol o'i fodd, megis y dengys yr adnod nesaf.

**ADN. 31.** Y mae modd darllen yr adnod hon mewn dwy ffordd. (1) Fel yn y Cyf. Diw.: **Canys tywysog y byd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi; ond fel y gwypo y byd fy mod i yn caru y Tad, ac megis y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur. Codwn, awn oddiyma.** Yn ol y darlleniad hwn, atalnod, nid diweddnod, sydd ar ddiwedd yr adnod flaenorol. Y meddwl felly yw: Nid oes gan y diafol hawl marwolaeth arnaf fi; ond gan fod fy Nhad wedi rhoddi gorchymyn i mi farw (x. 18) yr wyf yn ufuddhau iddo, gostyngaf fy mhen i'r diafol gael gafael arno; ac yn fy ufudd-dod yn marw, pan nad oedd gan farwolaeth hawl arnaf, caiff y byd brawf o'm cariad at fy Nhad. Sonia yn aml am y Tad yn ei garu Ef, ond dyma yr unig dro y sonia am dano ei Hun yn caru y Tad; ac yma edrych ar ei farwolaeth, nid fel prawf o'i gariad at y byd, ond fel prawf o'i gariad at ei Dad. Dengys ei gariad at ddynion trwy farw yn eu lle; dengys ei gariad at Dduw trwy farw mewn ufudd-dod i'w orchymyn, pan nad oedd marw yn ddyledus i Dduw oddiwrtho. (2) Y darlleniad arall a wna ran gyntaf yr adnod i ddibynu ar y rhan olaf, ac nid ar yr adnod flaenorol fel yn y darlleniad sydd wedi bod eisoes dan sylw. **Ond fel y gwypo y byd fy mod i yn caru y Tad, ac megis y gorchymynodd y Tad i mi, felly yr wyf yn gwneuthur,—codwn, awn oddiyma.** Dyma y darlleniad a amddiffynir gan Godet. Fel prawf o'i gariad at ei Dad, dengys ei barodrwydd i ufuddhau i'r gorchymyn i farw trwy godi a myned allan yn wrol i gyfarfod y diafol a'i ellyllon. Codwn, awn oddiyma i gyfarfod byddin y fagddu, fel y byddo i mi roddi fy hunan yn nwylaw yr hwn sydd a nerth marwolaeth ganddo; yn lle ffoi oddiwrtho, mi a roddaf fy hunan i'w law. Pa un bynag o'r ddau ddarlleniad a fabwysiedir, erys y gwirionedd sylfaenol yr un—gwirfoddolrwydd ei aberth yn brawf o gariad Crist, nid yn unig at ddynion, ond hefyd at Dduw. "Megis y gorchymynodd y Tad i mi"—ei orchymyn i farw, pan nad oedd dan rwymau i farw. "Felly yr wyf yn gwneuthur"—ufuddhau heb ddim rhaid, marw o'i fodd. **Codwn, awn oddiyma.** Codwn oddiwrth y bwrdd, awn o'r oruwchystafell i'r Ardd. A aethant yn uniongyrchol? (1) Cred Grotius, Luther, Lange, Godet a Westcott iddynt gychwyn yn ddiymaros, ac mai ar y ffordd i Gethsemane y llefarodd y tair penod ddilynol. (2) Teimla eraill megis Alford, Luthardt, a Meyer, yn anhawdd i gymodi eu hunain â'r syniad yna, a barnant sefyll o'r Iesu ar ei draed, a'r dysgyblion yn dŵr pryderus o'i amgylch, ac iddo ail ddechreu—cymaint oedd ganddo i'w llefaru wrthynt yn ei oriau olaf—a thraddodi y tair penod sydd yn canlyn cyn gadael yr ystafell. Nid oes dim yn yr hanes i'n galluogi i

ddod i benderfyniad terfynol. Os dilynwn lythyren yr hanes, rhaid mabwysiadu y golygiad cyntaf; os dilynwn yr hyn a ymddengys yn fwyaf gweddaidd a naturiol, rhaid derbyn yr olaf.

---

## PENOD XV.

Tra y mae yr efengylwyr eraill yn hoff o groniclo damhegion yr Arglwydd Iesu, ni choffha Ioan gymaint ag un; ond rhydd i ni ddwy alegori—y Bugail yn pen. x., a'r Winwydden yn y benod hon. Beth yw y gwahaniaeth rhwng damheg ac alegori? Gair mawr damheg yw yr ansoddair "cyffelyb" (*like*)—"cyffelyb" yw teyrnas nefoedd i hyn ac arall; ond gair mawr alegori yw y parwyddair "yw"—"Myfi yw drws y defaid," "myfi yw y bugail da," "myfi yw y wir winwydden." Felly mewn damheg cedwir y gydmariaeth a'r gwirionedd ar wahân, rhedant ar linellau cyfochrog; ond mewn alegori cymhlethir y gydmariaeth a'r gwirionedd yn un gaingc; mewn un brawddeg y gydmariaeth sydd amlycaf, yn y nesaf y gwirionedd,—nid oes un ffin rhyngddynt megis mewn damheg. Yr oedd yr Arglwydd Iesu fel Dysgawdwr yn hael ar gydmariaethau ac *illustrations* i drosglwyddo y gwirionedd i feddyliau dynion. Megis yr oedd Efe ei hun yn ymgnawdoliad o'r Dwyfol Fôd, felly yr oedd ei ddamhegion a'i *illustrations* yn ymgorphoriad o'r Dwyfol wirionedd,—rhaid oedd gosod y ddau mewn ffurf faterawl o flaen dynion. Cyfrifir *illustrations* gan lawer ond addurniadau mewn pregeth neu araeth: y maent yn addurniadau, ond y maent yn llawer mwy—y maent yn esboniadau hefyd. Y mae yr haul yn addurn disglaer i'r wybr; ond heblaw ei fod yn addurniadol, y mae hefyd yn ddefnyddiol. Cyffelyb yw *illustration*—addurno a goleuo yr un pryd.

Pa beth a achlysurodd lefariad alegori y winwydden? (1) Etyb y beirniaid sydd yn dàl mai yn yr oruwchystafell y llefarwyd penodau xv., xvi., xvii., mai sefydliad y Swper Sanctaidd. "Nid yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y winwydden, hyd y dydd hwnw," &c. (Matt. xxvi. 29). (2) Amrywia atebion y dosbarth a dybiant mai ar y ffordd i Gethsemane y llefarwyd hwynt. Rhai a dybiant fod yr Athraw a'r dysgyblion yn myned heibio i'r deml, ac y gwelent yn ngoleuni y lloer y winwydden euraidd a osododd Herod ar ffrynt y deml fel arwyddlun o genedl Israel; eraill eu bod yn rhodio trwy rai o'r gwinllanoedd ffrwythlawn ar eu ffordd i'r Ardd; eraill, megis Godet, eu bod wedi ymgynull dan gysgod gwinwydden. Digon y naill neu y llall o'r achlysuron uchod i awgrymu i feddwl yr Iesu yr alegori brydferth hon. (3) Ond amlwg mai dychymygion yw hyn oll. A oedd eisieu achlysur allanol o gwbl? Onid yw alegori y winwydden wedi ei gwau trwy lenyddiaeth yr H. D. (Ps. lxxx. 8; Es. v. 1; Jer. ii. 21; Ez. xv. 2, a xix. 10)? Ac i un cyfarwydd yn ei Feibl nid oedd un ffugr yn fwy naturiol a chynefin.

## PENOD XV.

1 MYFI yw y wir winwydden, a'm Tad yw y llafurwr.
2 Pob cangen ynof fi heb ddwyn ffrwyth, y mae efe yn

---

UNDEB CRIST A'R SAINT.—ADN. 1—4.

**ADN. 1. Myfi yw y wir winwydden.** (1) Dywed esbonwyr y gwnai unrhyw bren arall y tro fel *illustration* yma. Ond pe y caniataem hyny, eto y mae priodoldeb mawr yn newisiad y pren hwn. Ystyrir y winwydden, o'i chymeryd oll yn oll, yr esiampl berffeithiaf o'r byd llysieuol—y goeden berffeithiaf ar wyneb y ddaear. Gellir enwi eraill yn rhagori arni mewn ansoddau neillduol; ond o gymeryd yr oll gyda'u gilydd, iddi hi y priodolir yr uchafiaeth. Dysgir ni gan athrawiaeth dadblygiad mewn natur mai po diweddaraf yr ymddengys planhigyn neu anifail, perffeithiaf oll ydyw—yr anmherffaith yn gyntaf, y perffaith yn ddiweddaf. Un o'r coed diweddaf i ymddangos oedd y winwydden, dywedir nad oes *fossils* daearegol o honi,—prawf y perthyn i'r dosbarth perffeithiaf o goed y maes. Onid oedd gweddusrwydd arbenig, gan hyny, i'r Athraw gymeryd y winwydden, y corphoriad perffeithiaf o'r drychfeddwl dwyfol o goeden, i osod allan ei berson, a ffrwyth y winwydden i anfarwoli ei goffadwriaeth yn mhlith dynion. Yr hyn yw y winwydden yn mysg y planhigion yw yr Arglwydd Iesu yn mhlith y meibion—corphoriad perffaith o'r drychfeddwl dwyfol o ddyn. "Myfi yw y wir winwydden." Nid y wir winwydden mewn cyferbyniad i'r winwydden wyllt, ond y cyflawn a'r perffaith *(alēthinē)* mewn cyferbyniad i'r anmherffaith a'r rhanol. Ynddo Ef y mae y *real* yn llanw yr *ideal*—y ffaith hanesyddol yn mhob dim yn cyfateb i'r drychfeddwl dwyfol. Iesu Grist yw sylwedd creadigaeth yn gystal ag iachawdwriaeth; ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll. Tuedd dynion yw credu mai pethau naturiol—gwinwydd yr ardd—yw y pethau sylweddol. Nage, medd athroniaeth, ymddangosiad yw mater i'r synwyrau corphorol, y mae y sylwedd o'r golwg,—*phenomenon*, ac nid *noumenon*. Beth yw y *noumenon* sydd o dan y *phenomenon?* Etyb Paul, "Y corph, y sylwedd, sydd o Grist" (Col. ii. 17). Nid yw Natur ond gwisg y byd anweledig, y tu ol i bob ymddangosiad materol gorwedd rhyw wirionedd ysbrydol. Y mae Natur yn dal yr un berthynas â'r byd ysbrydol ag yw gwisg dyn â'i gorph. Nid y corph sydd yn cael ei lunio ar ffurf y wisg, ond y wisg ar ffurf y corph; yr un modd nid yr ysbrydol sydd yn cael ei benderfynu gan y naturiol, ond y naturiol gan yr ysbrydol. Y byd ysbrydol yw y gwreiddiol, ac nid yw y naturiol ond copi. Crist yw y wir winwydden,—Efe yw yr *original*, copi yw gwinwydden y winllan.

**A'm Tad yw y llafurwr.** Y gair am lafurwr yn nameg y winllan yn Matt. xx. 1 yw *ergatēs*, yn golygu gweithiwr; ond y gair yma yw *georgos*, yn dynodi o bosibl perchenog yn gystal a gweithiwr. Duw bia'r winllan,—y mae y winwydden yn ei chyff a'i changhenau dan ddysgyblaeth y Tad; ond triniaeth y canghenau sydd yn benaf mewn golwg yn yr alegori hon.

**ADN. 2. Pob canghen ynof fi heb ddwyn ffrwyth.** (1) Mỳn rhai, ac yn eu plith Godet, ddarllen yn wahanol—"Pob canghen heb ddwyn ffrwyth ynof fi." "Ffrwyth ynof fi": perthyn i ni gyfaddef nad ydym yn gallu

ei thynnu ymaith: a phob un a ddygo ffrwyth, y mae efe yn
ei glanhâu, fel y dygo fwy o ffrwyth. Yr awrhon yr ydych 3

---

cysylltu yr un drychfeddwl â'r frawddeg yn natùriol nac ysbrydol, ac nid ydym heb feddwl fod y cyfieithiad hwn wedi ei goledd er mwyn gochel anhawsderau tybiedig yn y darlleniad arferol. (2) "Pob canghen ynof fi heb ddwyn ffrwyth"—a oes canghenau marw yn Nghrist? A llefaru o ochr dyn, yn ol ymddangosiad, rhaid ateb fod. O safle yr eglwysi Esgobaethol y mae pob un a fedyddir yn aelod o Grist, wedi ei cydblanu ynddo Ef yn y bedydd; ac o safle yr eglwysi Anghydffurfiol y mae pob un a dderbynir i lawn gymundeb yn aelod o Grist. O ran ymddangosiad a seremoni allanol y maent yn ganghenau yn y Wir Winwydden. Ond er ynddo Ef yn ol rheolau dysgyblaethol yr Eglwys, a ydynt yn dwyn ffrwyth? Na; canghenau marw yw llawer o honynt; a gwaeth na hyny,—yn lle dwyn gwinwydd Seion tyfant afalau Sodom. Annheg yw ymdrechu sylfaenu Calfiniaeth nac Arminiaeth ar yr adran hon. **Pob canghen ynof fi sydd yn dwyn ffrwyth.** Pob gwir Gristion ag sydd wedi ei impio yn Nghrist, ac nid pob Cristion ymddangosiadol wedi ei impio trwy fedydd neu broffes. **Y mae Efe yn eu glanhau, fel y dygo fwy o ffrwyth.** Tuedd pob pren yw rhedeg yn wyllt, a swydd y garddwr yw ffrwyno ei dueddiadau drwg a chynorthwyo ei dueddiadau da. Felly tuedd greddfau llygredig ein natur, er i ni fod yn blanhigion gwirioneddol yn Nghrist, yw rhedeg yn wyllt; oherwydd paham rhaid ein rhoddi dan ddysgyblaeth—tocio ymaith y canghenau gwylltion, glanhau y rhisgl, teilio y gwraidd. Sylwer ar y tebygolrwydd rhwng y gair gwreiddiol am "dynu ymaith" (*airein*) a'r gair gwreiddiol am lânhau (*kathairein*); ac megis y mae cyffelybrwydd rhwng y ddau air, felly hefyd y mae cyffelybrwydd mawr rhwng y ddau *brocess*—rhwng y dinystrio a'r sancteiddio. Rhaid wrth y fwyall a'r gyllell, nid o drugaredd ar wreiddyn y pren bellach, ond ar ei ganghenau; a phan y mae Duw yn *swingio* y fwyall i dòri ymaith y tyfiant gwyllt, gwaedda y Cristion druan, mewn dychryn, Y mae Duw am fy ninystrio i. Na, Gristion, nid dy ddinystrio ond dy sancteiddio, nid dy ladd ond dy gryfhau, sydd ganddo mewn golwg. Mor aml y camgymera y saint driniaeth y glanhau am driniaeth y lladd!

**ADN. 3. Yr awrhon yr ydych chwi yn lân.** Yn mha ystyr y dywedai Crist eu bod yn lân? (1) Yr ydym wedi gweled eisoes fod y gair "glanhau" yn 1 Ioan i. 7, yn cynwys cyfiawnhad. Diau genym fod y gair yn dynodi hynyna yma hefyd,—glanhâd oddiwrth euogrwydd pechod, amod gyntaf ffrwythlondeb yn eglwys Dduw. Tra y bydd dyn yn llafurio dan deimlad o euogrwydd, anmhosibl ei fod wedi ei impio yn Nghrist ar un llaw, ac anmhosibl iddo ffrwytho mewn defnyddioldeb ar y llaw arall. (2) Ond y mae cysylltiad y glanhâd hwn a'r "gair" a lefarodd Crist yn ei gwneyd yn ddymunol, os nad yn anghenrheidiol, i gynwys glanhâd moesol yn ogystal a glanhâd cyfreithiol. "Nid dyweyd yr oedd," medd yr Esgob How, "eu bod hwy eisoes wedi eu glanhau fel y dygent fwy o ffrwyth, oherwydd yr oeddynt i fyned trwy driniaeth chwerw y glanhau yn yr ystyr hwn eto, fel ag i ymddiosg o hên syniadau anghywir; ond yr oeddynt eisoes yn lân yn rhinwedd eu hundeb diragrith a didwyll â Christ, wedi eu himpio i mewn i aros ynddo

4 chwi yn lân twy y gair a lefarais i wrthych. Arhoswch
ynof fi, a mi ynoch chwi. Megis na all y gangen ddwyn
ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y winwydden; felly
5 ni ellwch chwithau, onid arhoswch ynof fi. Myfi yw y
winwydden, chwithau *yw* y canghennau. Yr hwn sydd yn
aros ynof fi, a minnau ynddo yntau, hwnnw sydd yn dwyn
ffrwyth lawer: oblegid hebof fi ni ellwch chwi wneuthur

---

Ef. Oni allwn ddeall hyn yn yr ystyr yma, Yr ydych wedi eich *cyfiawnhau;* dyfalbarhewch, ac yn eich sancteiddhâd dygwch ffrwyth lawer." **Trwy y gair a leferais i wrthych.** "Trwy y gair" *(dia ton logon)*—*dia with the accusative,* ac felly yn dynodi y gair, nid fel moddion, ond fel achos,—"oherwydd y gair a leferais i wrthych." Pan edrychir ar y "gair" fel moddion *(dia with the genitive)* y sancteiddhad sydd amlycaf; pan edrychir arno fel achos, y cyfiawnhad.

**ADN. 4. Arhoswch ynof fi, a mi ynoch chwi.**—Yma tŷr y gydmariaeth i lawr, ac oblegid hyny y mae yr hyn sydd yn dechreu fel damheg yn trawsnewid yn alleg. Nid oes gallu yn y ganghen i aros yn y cyff nac i ymadael ag ef; ond y mae gan ddyn ewyllys—dibyna ei arosiad yn Nghrist ar ei ewyllys. Y mae y geiriau, fel y dywed Bengel, yn dangos y gwahaniaeth rhwng natur a gras. Yn y naill y mae yr "aros" yn effaith anghenrheidiol, yn y llall yn weithred ewyllysgar. "Arhoswch ynof fi, a mi ynoch chwi"—y ddau yn orchymynol; felly yr ystyr yw, Arhoswch ynof fi, a gadewch i mi aros ynoch chwi. Neu y cyntaf yn orchymynol, a'r ail yn fynegiadol; felly yr ystyr yw, Arhoswch ynof fi, ac fel canlyniad mi a arhosaf ynoch chwi. Ar y cyfan mwy naturiol ac esmwyth yw y diweddaf. **Megis na all y ganghen ddwyn ffrwyth o honi ei hun, onid erys yn y winwydden, felly ni ellwch chwithau onid arhoswch ynof fi.** Oblegid fod gan ddyn ewyllys o'i eiddo ei hun temtir ef yn barhaus i ddwyn ffrwyth iddo ei hun, Ond nid pren yn tyfu o'i wreiddyn ei hun yw dyn, dibyna ar wreiddyn y tu allan iddo ei hun,—y mae dibyniaeth yn hanfodol i'r drychfeddwl o ddyn. Camsyniad Adda oedd tybied fod ganddo wreiddyn ynddo ei hun; yn lle dibynu yn hollol ar Dduw, meithrinodd annibyniaeth ysbryd; y canlyniad—dim ffrwyth. Ond nid dyn yn ei gyflwr natur a olygir yma, ond dyn ailanedig—atalier cylchrediad y gwaed yn nghorph dirgeledig Crist, a'r canlyniad fydd diffrwythder yn yr aelodau.

CYMUNDEB CRIST A'R SAINT. ADN. 5—7.

**ADN. 5. Myfi yw y winwydden, chwithau yw y canghenau.** Yma symudir gam yn mlaen. Yn y pedair adnod gyntaf y mae y winwydden yn cynwys y canghenau; yma gwahaniaethir rhyngddynt. Y mae undeb yr adnodau blaenorol yn angenrheidiol fel sail i gymundeb y paragraph hwn. **Yr hwn sydd yn aros ynof fi, a minau ynddo yntau, hwnw sydd yn dwyn ffrwyth lawer.** Lle y mae y cymundeb yn berffaith, cylchrediad y nodd yn drwyadl a dirwystr,—ffrwyth lawer. **Oblegid ar wahân i mi ni ellwch chwi wneuthur dim.** Nid hebof fi, ond ar wahân i mi. Nid yn unig ar wahân i mi nid all yr anghredinwyr

dim. Onid erys un ynof fi, efe a daflwyd allan megis 6
cangen, ac a wywodd; ac y maent yn eu casglu hwynt, ac
yn *eu* bwrw yn tân, a hwy a losgir. Os arhoswch ynof fi, 7
ac aros o'm geiriau ynoch, beth bynnag a ewyllysioch,

---

wneuthur dim, ond nid ellwch chwi, y credinwyr. Onid ydym wedi gweled pregethwyr, diaconiaid, ac athrawon—pobl dduwiol—yn ymdrechu dwyn y gwaith yn mlaen heb ddibyniad priodol ar Grist, yn eu nerth ac ar eu cyfrifoldeb eu hunain? Beth yw y canlyniad? Dim. Y fath gyferbyniad rhwng rhan gyntaf yr adnod—ffrwyth lawer, a rhan olaf yr adnod—dim. Llawer—dim! Ac onid oes yma honiad digyffelyb? Yr Arglwydd Iesu yn gosod ei hunan allan fel gwraidd yr Eglwys Gyffredinol, ac fel unig amod defnyddioldeb crefyddol. Yr honiad mwyaf beiddgar a all neb wneyd byth, ie, honiad na wnaeth neb erioed. Y Fi a chwi—llawer; chwychwi hebof Fi—dim! Yr addfwynaf o blant dynion, o fewn awr neu ddwy i'r ddalfa, yn gwneyd y fath honiadau: pa fodd y mae cyfrif am danynt? Nid oes ond un ffordd—dyma'r "dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo."

**ADN. 6. Onid erys un ynof fi, efe a daflwyd allan megis canghen ac a wywodd.** "Erys" yn y dyfodol; "a daflwyd allan" yn y gorphenol. Paham? I ddangos sicrwydd diamheuol. Hyny o nodd sydd mewn cymdeithas heddyw'r dydd, o'r Arglwydd Iesu y deillia; heb Gristionogaeth crinai gwâreiddiad y Gorllewin i dân. Nid yw hyn yn gwadu gweithgarwch dynion anghrediniol mewn amryfal gyfeiriadau cymdeithasol; canys oni welsom eleni ddiweddaf goeden yn blaendarddu ac yn bwrw allan ddail, er wedi ei chwympo y llynedd? Hen nodd y gwraidd oedd heb lwyr *evaporatio;* ond y flwyddyn nesaf hi fydd yn ddigon marw, **Ac y maent yn eu casglu hwynt, ac yn eu bwrw yn tân, a hwy a losgir.** Troir yma yn ddirybudd o'r rhif unigol i'r rhif lluosog—awgrym o bosibl fod llu mawr o broffeswyr yn ddiddefnydd. Am un canghen ffrwythlawn, y mae llawer canghen ddiffrwyth. Defnyddir yma bum berf i osod allan eu llwyr ddistryw,—taflu allan; gwywo, casglu, bwrw yn tân, llosgi! "Hwy a fwrir yn tân, ac y maent yn llosgi" (Marc ix. 43; Dat. xx. 15, a xxi. 18). Nid pobl anfucheddol ydynt, ond proffeswyr crefydd—segur, diwaith, diffrwyth; "hwy a fwrir yn tân, ac a losgir!" Beth feddyliwch, broffeswyr diog? Oni weithiwch yma, chwi fflamiwch yn ofnadwy draw. Amcan mawr gwinwydden yw ffrwytho; ac os na ffrwytha, nid yw dda i ddim ond i dân (Ezek. xv.).

**ADN. 7. Os arhoswch ynof fi, ac aros o'm geiriau ynoch.** Y ffordd y mae Crist yn aros yn y credadyn yw trwy ei "eiriau"—adnodau yn cael lle mawr yn y meddwl; yr Iesu trwy ei eiriau yn anfon nodd ei fywyd ei hun i'r credadyn, a'r nodd yn troi allan yn ddefnyddioldeb i fyd ac eglwys. Nid aiff hwnyna byth ar dân, canys "y mae fel pren wedi ei blanu ar lân afonydd dyfroedd"—y mae gormod o *sap* ynddo i losgi ar chwareu bach. Pa fodd y daeth y fath ireidd-dra i'w ysbryd? Oherwydd fod "ei ewyllys yn nghyfaith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith Ef ddydd a nos." **Gofynwch beth bynag a ewyllysioch, ac efe a fydd i chwi.** "Gofynwch" (*aitesesthe*), yr un gair ag yn xiv. 14,—

8 gofynwch, ac efe a fydd i chwi. Yn hyn y gogoneddwyd
fy Nhad, ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer; a disgyblion
9 fyddwch i mi. Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais innau

---

yr isradd yn gofyn gan ei uwchradd, gweddio. "Efe a fydd i chwi": y mae yr undeb ddau-ochrog a ddesgrifir yn y frawddeg flaenorol yn peri fod ewyllys dyn yn symud ar linellau ewyllys Duw. Lle y mae dyn mewn undeb â Christ trwy ffydd, a Christ mewn cymundeb â dyn trwy ei eiriau, annichonadwy i'r dyn hwnw ofyn dim ond y sydd yn ol yr Ewyllys Ddwyfol. Ond os bydd yr undeb yn llac a'r cymundeb yn hanerog, aiff yr ewyllys grëedig fel dafad ar grwydr,—er iddi frefu am borfa amgenach ni fydd i Fugail Israel wrando.

**ADN. 8. Yn hyn y gogoneddir fy Nhad.** Felly yn y Cyf. Diw. "Yn hyn": yn mha beth? Mŷn Meyer a Lange fod y cyfeiriad at gynwys yr adnodau blaenorol; ond gwell genym ni yr eglurhad sydd yn dàl fod y cyfeiriad at gynwys y fraweddeg sydd yn dilyn. **Ar ddwyn o honoch ffrwyth lawer.** Pa beth sydd yn fwy o anfri ar y garddwr na gwinllan ddiffrwyth? Ar y llaw arall, pa beth sydd yn dwyn mwy o anrhydedd iddo na gwinwydd llwythog o rawnsypiau goludog? Planodd Duw Israel fel gwinwydden yn Nghanaan, gwlad frodorol y gwinwydd fel y tybir; ond trodd Israel allan yn winwydden wyllt—dygodd anfri ar enw ei Duw yn mhlith y cenhedloedd amgylchynol. Planodd Duw yr eglwys Gristionogol yn ei lle, a'r cyff yw Crist; pa beth a ddwg iddo fwy o ogoniant na bod y winwydden a blanodd ei ddeheulaw yn dwyn ffrwyth lawer mewn cyfiawnder a chariad—defnyddioldeb cymdeithasol? Y dysteb oreu i arddwr ydyw ffrwyth ei ardd; y ganmoliaeth uchaf a fedr yr eglwys roddi i Dduw yw bywyd sanctaidd ar un llaw, a chymwynasgar ar y llaw arall. Y mae ychydig ffrwyth yn well na dim—arwydda fod bywyd yn yr aelod, digon o bosibl i'w gadw rhag ei losgi, eithr nid digon i ogoneddu Duw. Ffrwyth lawer! **A dysgyblion fyddwch i mi.** Y pwyslais ar "mi." A oeddynt ddim yn ddysgyblion eisoes? Oeddynt a nac oeddynt. Oeddynt, mòr bell a'u bod wedi dechreu ar y grefft o fyw yn dduwiol a defnyddiol; nac oeddynt, mor bell ag nad oeddynt wedi llawn sylweddoli eu galwedigaeth nefol. Duw yn unig *sydd;* dyfod y mae pob peth arall, ar ei daith at yr *ideal.* "*Be*"—gair perthynol i Greawdwr yw hwnyna; "*becoming*" yw y gair noddweddiadol o greadur. Duw yn unig sydd yn bod; haner bod y mae pawb eraill, dyfod i fod, tyfu yn raddol tuagat yr *ideal*, ac fel y mae y tyfiant yn cynyddu, y mae yr *ideal* yn ymddyrchafu. Na; nid dysgyblion neb o honom, ond ar y ffordd i fod yn ddysgyblion, tyfu yn nghyfeiriad y safon. Gwelwn, gan hyny, briodoldeb yr ymadrodd: "A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai oedd ar y ffordd i fod yn gadwedig" (Act. ii. 47). Estyn at y nod oedd Paul, a "champ" yr ystyriai ei gyrhaedd (Phil. iii. 14); dyfod yn Gristionogion yr ydym oll.

**ADN. 9. Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais inau chwithau.** Ffydd yw rhwymyn yr undeb rhwng y credadyn a Christ, ond cariad yw rhwymyn y cymundeb. Gall undeb fod rhwng gwr a gwraig yn rhinwedd y cwlwm priodasol; ond rhaid i gymundeb rhyngddynt fod yn sylfaenedig ar gariad. "Megis y carodd y Tad fi, felly y cerais inau

chwithau: arhoswch yn fy ngharia i. Os cedwch fy 10
ngorchymynion, chwi a arhoswch yn fy nghariad; fel y
cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei
gariad ef. Hyn a ddywedais wrthych, fel yr arhosai fy 11

---

chwithau." "Megis" (*kathōs*),—golyga hyn ddau beth. (1) Cariad y Tad at y Mab yw cynllun cariad y Mab at ei bobl. (2) Ond gall cynllun fod ar raddfa wahanol; eithr dywed yr Iesu yma fod ei gariad Ef at y dysgyblion o'r un natur a'r un gradd, o'r un *quality* a'r un *quantity*, â chariad ei Dad ato Ef. Ai syn genym, gan hyny, fod Ioan yn dechreu ei adroddiad o'r ymddiddan y noson olaf trwy ddyweyd, "Yr Iesu, yn caru yr eiddo y rhai oedd yn y byd, a'u carodd hyd berffeithrwydd.' Ei gariad Ef at ei bobl yn gyfryw o ran ansawdd, ac yn gymaint o ran gradd, â chariad y Tad at y Mab! **Arhoswch yn fy nghariad i.** Nid parhewch chwi i fy ngharu i, ond gadewch i mi barhau i'ch caru chwi,—parhewch yn wrthrychau fy nghariad. Onid yma y cafodd Ioan yr enw a rydd arno ei hun, nid y dysgybl oedd yn caru yr Iesu, ond y "dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu?" Ond pa fodd yr oeddynt i barhau i fod yn wrthrychau ei gariad? Cawn yr ateb yn yr adnod nesaf.

**ADN. 10. Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a arhoswch yn fy nghariad.** Pa orchymynion? Yn benaf y gorchymynion a roddodd iddynt y noson hon,—i fod yn ostyngedig (xiii. 14), i garu eu gilydd (xiii. 34), i "wneyd hyn er coffa am dano" (Matt. xxvi. 26). Ufudd-dod oedd y ffordd ar ba un y gallent fwynhau ei gariad, oblegid cariad ei ewyllys sydd yma (*agapē*), ac y mae cariad sydd yn gwreiddio mewn ewyllys yn disgwyl cymeriad fel canlyniad. **Megis y cedwais i orchymynion fy Nhad, ac yr wyf yn aros yn ei gariad Ef.** Pa ddyn a feiddia wneuthur gosodiad mor fawr, honiad mor uchel? At ba orchymynion o eiddo ei Dad y cyfeiria? Yr holl orchymynion, ond yn enwedig y gorchymyn i ymgnawdoli (xii. 49, 50) a marw (x. 18). Carai ei Dad Ef o'r blaen yn rhinwedd y Tragwyddol Genhedliad, ond câr Ef yn awr yn rhinwedd ei "ufudd-dod hyd angeu, ïe, angeu y Groes." Ar yr un amod y parhâ yr Arglwydd Iesu i'n caru ni,—ufudd-dod i'w orchymynion; ac y mae ei orchymynion Ef i ni yn llawer ysgafnach na gorchymynion ei Dad iddo Ef. Anhawdd iawn, ïe, anfeidrol anhawdd oedd iddo Ef gadw gorchymynion ei Dad; eto penderfynodd "ddysgu ufudd-dod trwy y pethau a ddyoddefodd." Anhawdd genym ninau ufuddhau—rhêd yn ngwddf ein balchder cysefin; dywed Awstin mai gostyngeiddrwydd yw y gras anhawddaf i neb ei gyrhaedd; ond er yr anhawsder, rhaid dysgu ufudd-dod, ac ar lwybr ufudd-dod y parhawn yn wrthrychau cariad y Ceidwad.

**ADN. 11. Y pethau hyn a ddywedais wrthych fel yr arhosai fy llawenydd ynoch.** "Fy llawenydd"—"fy llawenydd i." Rhyfedd ei fod, yn ymyl y Groes, yn sôn am lawenydd. Teimlai ryw lawenydd ysbrydol hyd yn nod yn yr angeu; ond diau mai y llawenydd ar ol yr angeu, ar ol rhoddi ufudd-dod i orchymyn mawr ei Dad, sydd ganddo yn benaf mewn golwg, y llawenydd sydd yn sylfaenedig ar ac yn wobr am farw (Heb. xii. 2). Y llawenydd yma, sylfaenedig ar Iawn, y mae yn gyfranu i'r Cristion. Llawenydd tufewnol wrth reswm, canys nid oes llawenydd ar

llawenydd ynoch, ac y byddai eich llawenydd yn gyflawn.
12 Dyma fy ngorchymyn i; Ar i chwi garu eich gilydd, fel y
13 cerais i chwi. Cariad mwy na hwn nid oes gan neb; sef,
14 bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion. Chwychwi yw

---

wahân i deimlad; ond llawenydd tufewnol sylfaenedig ar Iawn gwrthrychol, y llawenydd mewn canlyniad i ufudd-dod yr Arglwydd Iesu i orchymynion ei Dad. **Ac y byddai eich llawenydd yn gyflawn.** Nid fel y byddech chwi yn gyflawn o lawenydd, ond fel y byddai y llawenydd ei hun yn gyflawn (*plērothē*). Pa beth yw llawenydd cyflawn? Y mae Crist newydd enwi ei ddwy elfen yn yr adnodau blaenorol. Yr elfen gyntaf yw derbyn o gariad Crist, bod yn wrthrychau ei gariad (adn. 10); yr ail yw cyfranu y cariad i eraill, "dwyn ffrwyth lawer" (adn. 5). Heb y cyfuniad hwn o dderbyn a rhoddi, duwioldeb a defnyddioldeb, cael ein hachub ein hunain a bod yn foddion i achub eraill, anmherffaith a hanerog yw ein llawenydd.

### UNDEB Y SAINT A'U GILYDD. ADN. 12—17.

ADN. 12. **Dyma fy nghorchymyn i.** Y gorchymyn sydd yn nodweddiadol o honof fi yn mhlith holl ddysgawdwyr a holl sylfaenwyr crefydd o'r dechreuad,—dyma *badge* cymdeithasol fy nghrefydd i. **Ar i chwi garu eich gilydd fel y cerais i chwi.** (Gwel ar xiii. 34).

ADN. 13. **Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion.** Syrth y pwyslais, nid ar "gyfeillion," ond ar einioes. Cariad mwy na rhoddi ei einioes nid oes gan neb, am y rheswm syml nad oes ganddo ddim gwerthfawrocach na'i einioes i'w roddi. Os rhoddir y pwyslais ar "gyfeillion," fel y gwna rhai esbonwyr, awgrymir yr hyn nad yw gywir—y mae marw dros elynion yn arddangosiad amlycach o gariad na marw dros gyfeillion (Rhuf. v. 6—8). Gan hyny, nid yw y ddyfais o ddyweyd fod yr un pobl yn elynion un amser yn eu hanes ac yn gyfeillion amser arall ond *makeshift* i ochel anhawsder. Os dodir y pwyslais yn gywir, diflanna yr anhawsder. Dyma y cariad a ddangosodd Crist tuag at ei ddysgyblion,—bu farw drostynt; beth all'sai wneuthur mwy? Ond yn mha ystyr yr ydym i ddeall i'r Arglwydd Iesu farw dros yr Un-ar-ddeg? Nid oedd yr awdurdodau Iuddewig a Rhufeinig yn ceisio eu bywydau hwy,—pa anghen ynte oedd iddo ddyweyd ei fod yn rhoddi ei einioes drostynt? O safle hanesyddiaeth ddynol edrych yn fwy tebyg mai hwynthwy oedd yn rhoddi eu heinioes drosto Ef nag Efe drostynt hwy. Amlwg, gan hyny, mai nid gwirionedd hanesyddol yn unig sydd yma, ond gwirionedd hanesyddol sylfaenedig ar wirionedd duwinyddol: yr oedd rhyw ystyr yn mha un yr oedd Efe yn marw drostynt hwy nad oeddynt hwy yn marw drosto Ef. Mewn geiriau eraill, yr oedd dwy wedd i'w angeu. (1) Gwedd gymdeithasol, ac yn y wedd yma yr oedd Efe yn ei angeu yn esiampl i'w ganlynwyr. Os bu Crist farw trosom ni, felly ninau a ddylem farw tros y brodyr. (2) Gwedd Iawnol. Bu Efe farw dros y dysgyblion mewn ystyr na fu y dysgyblion farw drosto Ef. Fel Iawn saif ei angeu mewn arbenigrwydd ac unigedd tragwyddol.

fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynnag yr wyf yn
eu gorchymyn i chwi. Nid ydwyf mwyach yn eich galw 15
yn weision; oblegid y gwas ni ŵyr beth y mae ei arglwydd
yn ei wneuthur: ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion;

---

**ADN. 14. Chwychwi ydych gyfeillion i mi, os gwnewch y pethau yr wyf yn eu gorchymyn i chwi.** Nid "pa bethau bynag" (*hosa*), fel mewn rhai llawysgrifau, ond "y pethau" (*ha*). Nid cyffredinolrwydd ond diffuantrwydd yr ufudd-dod sydd yma mewn golwg. Yr oedd Efe yn gyfaill iddynt hwy, profodd hyny trwy farw drostynt; ond a oeddynt hwy yn gyfeillion iddo Ef? Oeddynt, os cadwent ei orchymynion; nac oeddynt, os esgeulusent hwy. Yn adn. 13 noda y prawf ei fod Ef yn gyfaill iddynt hwy; yma noda y prawf eu bod hwy yn gyfeillion iddo Ef. Gan hyny, "cyfaill" yw yr hwn sydd nid yn unig yn derbyn cariad, ond hefyd yn dangos cariad; rhaid i gyfeillgarwch wrth ddwy elfen—derbyn a rhoddi.

**ADN. 15. Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision.** (1) Mynant alw eu hunain yn weision, ie, yn gaethweision (*douloi*). "Iago, gwasanaethwr Iesu Grist," &c.; ond nid dyna yr enw a rydd Efe arnynt yma. A alwodd Efe y dysgyblion yn weision cyn hyn? Do; "nid yw y gwas yn fwy na'i Arglwydd" (xiii. 16),—geiriau a awgryment iddynt mai mewn sefyllfa gweision yr oeddynt. (2) Ond yn benaf gesyd y geiriau allan nid eu perthynas bersonol â'r Iesu, ond eu perthynas swyddogol fel cynrychiolwyr yr eglwys; yn awr y mae yr eglwys yn ymdderchafu i sefyllfa meibion a chyfeillion yn ei pherthynas â Duw. Yn y dyn unigol nodweddir ei ddadblygiad gan dair *stage*,—pan y mae yn blentyn, yn ddyn ieuangc, ac yn wr addfed. Felly hefyd yr Eglwys. (*a*) Yn y cyfnod Patriarchaidd gwelir hi yn ei mabandod; y mae yno lawer o ryddid, ond rhyddid baban yn y teulu ydyw. Ac yn gyfatebol datguddia Duw ei hun, "Myfi yw Duw Hollalluog" (*Elshaddai*), neu, os olrheinir y gair i'w ystyr gyntaf, "Myfi wyf Dduw yn llawn bronau" (Gen. xvii. 1),—digon yn y bronau ar gyfer yr Eglwys yn ystod ei mabandod. (*b*) Yn y cyfnod Mosenaidd, gwelir y baban wedi tyfu i fynu yn fachgen ieuangc; rhaid gan hyny ei roddi dan ymgeleddwyr a llywodraethwyr, deddfau a rheolau. Y Duw a ddatguddiodd ei hun i Eglwys Genesis fel Duw yn llawn bronau a ddatguddia ei hun i Eglwys Exodus fel Deddfroddwr a Barnwr. "Dros gymaint o amser ag y mae yr etifedd yn fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a gwas" (Gal. iv. 1—4). Dyna gyflwr yr Eglwys Iuddewig hyd "gyflawnder yr amser." (*c*) Ond yn yr Ymgnawdoliad dechreuodd yr Eglwys ar drydydd cyfnod ei hanes,—derchafwyd y saint o gyflwr gweision i gyflwr meibion a chyfeillion. Y mae y pellder anfeidrol rhwng Duw a dyn wedi ei symud. **Oblegid y gwas ni ŵyr beth y mae ei arglwydd yn ei wneuthur.** Gweithia y gwas yn galed ddigon, eithr ni ŵyr amcan ei feistr yn y gwaith. Troiasom i mewn i adeilad cyhoeddus mewn tref. Gofynasom i'r crefftwyr beth oedd y gwahanol ystafelloedd da. Ni wyddent: nid oedd cynllun yr arch-adeiladydd wedi ei egluro iddynt. Gweision oeddynt, pob un yn cyflawni y rhan o'r gwaith a ymddiriedwyd iddo, ond heb ddeall ei berthynas â'r adeilad yn ei gyfanrwydd. Y

oblegid pob peth a'r a glywais gan fy Nhad, a hysbysais i
16 chwi. Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais
chwi, ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech
ffrwyth, ac yr arhosai eich ffrwyth; megis pa beth bynnag

---

gwas, er gweithio, ni ŵyr beth y mae ei arglwydd yn ei wneuthur. **Ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion, oblegid pob peth ar a glywais gan fy Nhad a hysbysais i chwi.** Cydmarer Gen. xviii. 17: "A gelaf fi rhag Abraham yr hyn a wnaf"? "A chyfaill Duw y galwyd ef." Yn viii. 26 dywed, "A'r pethau a glywais i ganddo, y rhai hyny yr ydwyf yn eu dywedyd i'r byd": yn yr adnod yna maentumia ddwyfoldeb ei holl ddysgeidiaeth. "Y pethau, y rhai hyny," a dim arall. Ond yma hona ei fod wedi cwblhau ei waith fel Datguddiwr. "Pob peth a glywais gan fy Nhad"—pob peth mewn ystyr *intensive*, nid *extensive*; yr oedd wedi datguddio yr oll yn eu hegwyddorion llywodraethol, er nad yn eu manylion hanesyddol (xvi. 7). Yr wyf wedi datguddio yr oll, heb gelu dim,—prawf fy mod yn rhoddi ymddiried ynoch fel fy nghyfeillion. Yr wyf wedi hysbysu i chwi gyfrinach ddyfnaf y Duwdod.

**ADN. 16. Nid chwi am dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi.** Beth yw amcan yr adnod hon? Profi iddynt fod ffynhonell ac egwyddor y cyfeillgarwch, nid ynddynt hwy, ond ynddo Ef. Nid chwi a'm hatdynasoch i, ond myfi a'ch hatdynais chwi,—cyfeiriad at eu galwad gyntaf i fod yn ddysgyblion. Yr un gair a gyfieithir yma yn "ddewis" ag a gyfieithir yn xiii. 18 yn "ethol" (*enlechein*). Eto nid yr etholedigaeth dragwyddol gan y Tad, ond yr etholiad hanesyddol gan y Mab; ar yr un pryd, nid yw y diweddaf ond amlygiad mewn amser o'r cyntaf. Cymerir y cam cyntaf bob amser yn nhragwyddoldeb, nid yw yr hyn a gymer le mewn amser ond yr effaith sydd yn canlyn. Yn holl augrefyddau y byd, dyn sydd yn dewis ei Dduw; ond yn y wir grefydd Duw sydd yn dewis ei ddyn. **Ac a'ch ordeiniais chwi.** Megis y dynoda y frawddeg flaenorol eu galwad i fod yn ddysgyblion, felly dynoda hon eu neillduad i fod yn swyddogion. Nid oedd dim ordeiniad trwy seremoniau, ac eto neillduodd hwynt i waith yr apostoliaeth, yr hyn a gynwysai ddau beth,—eu cynysgaeddiad a'r doniau angenrheidiol i gyflawni eu gwaith, a sicrwydd y cyrhaeddai eu gwaith yr amcanion bendithiol mewn golwg. Dewisodd ac ordeiniodd, etholodd a chymhwysodd. **Fel yr elech ac y dygech ffrwyth.** Nid ffrwythau, yn y rhif lluosog, ond ffrwyth yn y rhif unigol. Y mae rhyw unoliaeth amlwg mewn bywyd duwiol, tra mai amrywiaeth anghysylltiol sydd yn nodweddu bywyd annuwiol. "Ffrwyth yr Ysbryd," nid ffrwythau; ond "gweithredoedd y cnawd"—nid gwaith, nid oes dim *cohesion* mewn pechod (Gal. v. 19, 22). Dyma ynte yw etholedigaeth Duw: nid etholedigaeth i fraint, ond i ddyledswydd; nid i flaenoriaeth, ond i wasanaeth; nid i fyned i'r nefoedd ein hunain, ond i fyned a dynion eraill yno gyda ni. Nid oes ynddi ddim ffafraeth, gwasanaeth yw yr oll (Gen. xii. 1–3). **Ac yr arhosai eich ffrwyth.** (1) Barna Tholuck a Meyer mai ffrwyth i fywyd tragwyddol a feddylir. (2) Ond credwn ni mai ffrwyth yn y byd hwn a olygir, yn hytrach na ffrwyth yn y byd arall. Gwelsom ffrwyth weithiau yn marw ar y ganghen o eisiau mwy o nerth

a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi.
Hyn yr wyf yn ei orchymyn i chwi, garu o honoch eich 17
gilydd. Os yw y byd yn eich casâu chwi, chwi a wyddoch 18
gasâu o hono fyfi o'ch blaen chwi. Pe byddech o'r byd, y 19

---

bywyd yn y pren; gwelsom gynlluniau rhagorol o weithgarwch Cristionogol yn erthylu o eisieu mwy o frwdfrydedd ysbrydol y tu cefn iddynt. Ond aeth yr Iesu i drafferth anarferol i gymhwyso y dysgyblion—etholodd ac ordeiniodd hwy fel yr elent ar eu teithiau gweinidogaethol a chenhadol ac yr *arhosai* eu ffrwyth. A arhosodd? Do, ac erys hyd heddyw'r dydd. O waith eu cydoeswyr yn y ganrif gyntaf, beth sydd yn aros heddyw? O waith teulu Herod, beth? O waith yr Ymherawdwr Rhufeinig, beth? O waith yr athronwyr Gnosticaidd, beth? Ond y mae ffrwyth yr Apostolion i'w weled trwy pob dinas a phentref yn Ewrop; nis gallwn gerdded milldir ysgwar yn Mhrydain Fawr heb weled ol eu llafur. Y mae eu ffrwyth yn aros. Nid oeddynt i ddychrynu wrth ei weled Ef yn hoeliedig ar Bren; yr oedd yr achos i lwyddo, y ffrwyth i aros! Calondid nid bychan iddynt. **Ac fel pa beth bynag a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, y rhoddo efe i chwi.** Dyma yr ail "fel" yn yr adnod, ac nid "fel" israddol ond cydraddol â'r cyntaf. O ganlyniad gosodir allan yn yr adnod amcan dyblyg. Ordeiniodd hwy yn gyntaf fel y dygent ffrwyth—lles cymdeithas; ordeiniodd hwynt yn ail fel y caent pa beth bynag a ofynent gan y Tad yn ei enw Ef—gogoniant Duw. Dyma ddau amcan mawr sefydliad yr eglwys,—nid dyogelwch personol yr aelodau, ond lles y byd a gogoniant Duw. Yr eglwys nad yw yn dwyn ffrwyth yn y ddau gyfeiriad yna, hi a dynir ymaith ac a deflir yn tân ac a losgir. Oh na chofiai yr eglwysi mai nid etholedigaeth i ragorfreintiau yw eiddo y Beibl, ond etholedigaeth i wasanaeth!

**ADN. 17. Hyn yr wyf yn ei orchymyn i chwi, garu o honoch eich gilydd.** Symia i fynu yr oll mewn ail adroddiad pwysig. Nid un o addurniadau crefydd ymarferol yw cariad brawdol, ond ei hanfod; heb hyn, ofer pob dawn arall.

### PERTHYNAS Y SAINT A'R BYD. ADN. 18—27.

**ADN. 18. Os yw y byd yn eich cashau chwi.** Yr oeddynt hwy i feithrin cariad at eu gilydd; ond byddent yn wrthrychau casineb y byd. **Chwi a wyddoch gashau o hono fyfi o'ch blaen chwi.** Gellir darllen yn y modd gorchymynol, "gwybyddwch," neu yn y modd mynegiadol fel yn y darlleniad arferol. "Chwi a wyddoch gashau o hono fyfi"—y daioni yn Nghrist oedd yn enyn digllonedd y byd. "O'ch blaen chwi" (*eme prôtón humôn*), brawddeg gywrain (cyd. i. 15), ac yn golygu dau beth: (1) O'u blaen hwy fel y mae yr achos o flaen yr effaith, Efe oedd achos casineb y byd at y dysgyblion; (2) o'u blaen mewn graddau,—yr oedd casineb y byd ato Ef fel y blaenor yn chwerwach na'i gasineb atynt hwy fel dilynwyr o gymaint ag y rhagorai Efe arnynt hwy mewn daioni.

**ADN. 19. Pe byddech o'r byd, y byd a garai yr eiddo.** "A garai" *(philei)*—cariad sylfaenedig ar gydnawsedd. Y rheswm am y gwrthdarawiad rhwng yr eglwys a'r byd yw anghydnawsedd moesol, yr hwn nad yw ronyn yn llai yn awr nag yn y canrifoedd cyntaf. Paham ynte

byd a garai yr eiddo; ond oblegid nad ydych o'r byd, eithr
i mi eich dewis allan o'r byd, am hynny y mae y byd yn
20 eich casâu chwi. Cofiwch yr ymadrodd a ddywedais i
wrthych; Nid yw y gwas yn fwy na'i arglwydd. Os erlid-
iasant fi, hwy a'ch herlidiant chwithau: os cadwasant fy
21 ngair i, yr eiddoch chwithau hefyd a gadwant. Eithr hyn

---

nad yw y byd yn awr yn erlid yr eglwys? Nid am fod y byd wedi gwella ei ysbryd—"yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd," ond am fod yr eglwys wedi chwyddo ei dylanwad. Yr un yw ysbryd ystrywgar y byd; ond y mae yr eglwys yn ein hoes a'n gwlad ni wedi ei amddifadu o'i allu i erlid trwy garcharu, ond pery i erlid trwy wawdio ac enllibio. Ac nid yw y Test. Newydd heb awgrymu y casgl daioni yr eglwys a drygioni y byd i ben neillduol: yna Armagedon—gwrthdarawiadau ffyrnicach ac erledigaethau creulonach na dim a welwyd yn y gorphenol. **Ond oblegid nad ydych o'r byd.** Dim o hono, er ynddo. **Eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae y byd yn eich cashau chwi.** Tybia rhai fod y "dewis" yn adn. 16 yn golygu dewis i'r swydd apostolaidd; a'r dewis yn yr adnod hon yn cyfeirio at eu galwedigaeth gyntaf yn nechreu eu gyrfa grefyddol. Ond rhagorach yn ein bryd ni yw gwneyd i'r ddau ddewis ddynodi yr un weithred—adn. 16 yn gosod allan yr hyn y dewiswyd hwy iddo, a'r adnod hon yr hyn y dewiswyd hwy o hono, *o'r* byd ond *i* wasanaeth. Megis y mae gelyniaeth rhwng tân a dwfr, felly y mae gelyniaeth rhwng Cristionogaeth a llygredigaeth,—rhaid iddynt wrthdaraw. Llygredigaeth y byd—dyna yr achos; casineb at ddaioni—dyna yr effaith. Pan yn mhresenoldeb eu gilydd, gwrthwynebant eu gilydd gyda sefydlogrwydd deddf. Ond tra y mae llygredigaeth y byd yn peri iddo gashau yr eglwys, nid yw sancteiddrwydd yr eglwys yn peri iddi gashau y byd. Ffrwyth sancteiddrwydd yr eglwys yw, nid casineb at y byd, ond tosturi, a'r tosturi yn esgor ar ymdrech ddiflino i'w wared o'i ddrygioni. Nid erledigaeth, ond iachawdwriaeth, yw effaith gyfreithlawn sancteiddrwydd yn Nuw ac yn yr eglwys.

**ADN. 20. Cofiwch yr ymadrodd a ddywedais i wrthych, nid yw y gwas yn fwy na'i arglwydd.** Cyfeiriad at xiii. 16 (cyd. Matt. x. 14). **Os erlidiasant fi, hwy a'ch erlidiant chwithau.** Sylfaena yr haeriad hwn ar unffurfiaeth deddf—deddf *repulsion* yn y byd moesol. **Os cadwasant fy ngair i, yr eiddoch chwithau hefyd a gadwant.** A gadwodd y byd air Crist? (1) Etyb Bengel yn gadarnhaol i'r byd ei "gadw" i amcanion drwg, ei gadw trwy ei wylied fel y caent i'w gyhuddo Ef, megis yn Matt. xxvii. 36. Ond tybiwn na cheir yr ystyr hwn i'r gair gwreiddiol *(tērein)* un amser yn ysgrifeniadau Ioan. (2) Barna Lange, Stier, a Hengstenberg mai mewn gwawd *(irony)* y llefara yr Iesu; ond yr ydym wedi cael achlysur i sylwi fwy nag unwaith nad yw *irony* yn arf yr hoffa yr Iesu ei ddefnyddio. Ni ddylid tybied *irony* os oes ffordd arall i egluro. (3) Casgla Tholuck, Luthardt, a Meyer mai achosion tybiedig *(hypothetical)* sydd yma, gan adael i'r dysgyblion ddysgu trwy brofiad pa un o'r achosion tybiedig a gaiff ei wirio yn eu hanes hwy. (4) Gwell ar y cyfan genym ni esboniad Olshausen, Alford, Godet, a Westcott, sef er

oll a wnant i chwi er mwyn fy enw i, am nad adwaenant
yr hwn a'm hanfonodd i. Oni bai fy nyfod a llefaru wrth- 22
ynt, ni buasai arnynt bechod: ond yr awrhon nid oes
ganddynt esgus am eu pechod. Yr hwn sydd yn fy 23

---

fod y byd yn ei gyfanswm wedi gwrthod yr Arglwydd Iesu, eto yr oedd personau unigol yn y byd wedi rhoddi derbyniad calonog i'w ddysgeidiaeth. Digwyddai yr un peth yn hanes y dysgyblion. Byddai y byd yn ei gyfanswm yn eu gwrthsefyll; ond caent unigolion i'w croesawu ac i ddymuno "Duw yn rhwydd" iddynt. Y tebyg a dŷn ei debyg, yr annhebyg a wrthdery yr annhebyg: dwy ddeddf sefydlog yn y byd moesol megis ag yn y byd naturiol.

**ADN. 21. Eithr hyn oll a wnant i chwi oherwydd fy enw i.** "Hyn oll" yn cynwys pob math o ystrywiau dyfeisgar, heb ddesgrifio y manylion. Digwyddai yr oll iddynt, nid fel dynion, ond fel Cristionogion. Oherwydd enw Crist yr erlidiai y byd hwy; oherwydd yr un enw y dyoddefent hwythau yn llawen yr holl flinder a ddeuai ar eu gwarthaf. Byddai i'w cariad hwy at yr Enw brofi yn gryfach na chasineb y byd ato. Yn Matt. v. 10 prophwyda yr Iesu y cai y saint eu herlid "o achos cyfiawnder"—darluniad o bobl a lynant wrth egwyddorion oddiar gariad cryf atynt. Yn Matt. v. 11 dywed y caent eu herlid er "ei fwyn Ef"—nid o achos cyfiawnder, ond o'i achos Ef: dynion na feddant y gwroldeb angenrheidiol i fyned i garchar ac at y stange o ymlyniad wrth egwyddor, ond a fedrant o gariad at berson. Ond yn y ddwy adnod yna, egluro y mae athroniaeth merthyrdod o du yr Eglwys; ond yma athroniaeth erledigaeth o du y byd. Y mae y rheswm am y naill a'r llall yn ei berson Ef. **Am nad adwaenant yr hwn a'm hanfonodd i.** Erlidir y saint oherwydd yr Iesu; casheir yr Iesu oherwydd nad adwaenir Duw yn ei gymeriad achubol,—"yr hwn a'm hanfonodd i." Ymffrostiai yr Iuddewon yn eu gwybodaeth o Dduw, ond gŵyrdroasant eu gwybodaeth, a barnent gymeriad yr Iesu wrth eu safon gyfeiliornus eu hunain. Y mae gŵyriad yn safon ein gwybodaeth o Dduw—y safon gyntaf, *absolute*—yn dwyn i mewn ddyryswch i holl berthynasau bywyd. Llyfr yr Actau yw yr esboniad goreu ar yr adnod hon.

**ADN. 22. Onibai fy nyfod.** Nid ymddangos a wnaeth, ond "dyfod"—gair sydd yn cyfeirio yn ol at ei darddiad tragwyddol. **A llefaru wrthynt.** "Llefaru" *(elatesa)*—yn dynodi cynefindra, eglurder, a gwres. **Ni buasai arnynt bechod.** (Gwel ar ix. 41). Yn yr adnodau blaenorol olrheinia eu casineb i anwybodaeth, ond yma olrheinia yr anwybodaeth i gyndynrwydd ewyllys, ac y mae ewyllys ddrygionus yn llygru dynoliaeth yn llygad y ffynhon. Erlidiai y paganiaid y Cristionogion, ond tarddai eu casineb i raddau mawr o'u hanwybodaeth; a phan y cawsant oleuni ychwanegol, o fod yn erlidwyr troisant yn ganlynwyr; trodd Rhufain Baganaidd yn Rhufain Gristionogol. Ond erlidiai yr Iuddewon hwy yn ngoleuni gwybodaeth: nid o anwybodaeth y tarddai eu gelyniaeth hwy, ond o ŵyrgamrwydd yr ewyllys; a phrawf o hyny yw y parhânt yn eu pechod hyd heddyw. "Ni buasai arnynt bechod." Y pechod mawr, y pechod damniol yn awr yw anghrediniaeth; y mae gan Dduw drefn i symud ymaith bob pechod arall. **Ond yr awrhon nid**

24 nghasâu i, sydd yn casâu fy Nhad hefyd. Oni bai
wneuthur o honof yn eu plith y gweithredoedd ni wnaeth
neb arall, ni buasai arnynt bechod: ond yr awrhon hwy a
25 welsant, ac a'm casasant i a'm Tad hefyd. Eithr, fel y

---

**oes ganddynt esgus am eu pechod.** "Esgus," clogyn *(prophasin)*: cyd. Act. xxvii. 30; 1 Thes. ii. 5. "Yr awrhon" o ran amser ac ymresymiad: yr oedd y ffaith iddo Ef weinidogaethu am dros dair blynedd yn mhlith y genedl wedi rhwygo ymaith bob cochl, pob hug, pob esgus a allasai guddio o'u golwg ysgelerder eu pechod. "Eu pechod"—pa bechod? (1) Dadleua Godet mai y pechod o anwybodaeth o garictor Duw, fel y gosodir allan yn mrawddeg olaf yr adnod flaenorol. Diau fod yr anwybodaeth yn elfen yn y pechod, ond yn ein bryd ni cyfynga hynyna yn ormodol ar ystyr y gair. (2) Oherwydd paham mwy dewisol yw eglurhad Bengel, Meyer, a Westcott, mai y pechod o anghrediniaeth yn y ffurf o erledigaeth ar yr Arglwydd Iesu a'i ddysgyblion. Dyma *y* pechod, y pechod damniol. Y mae pechodau eraill, ac i gyd yn ddamniol ynddynt eu hunain; ond yn yr Efengyl nid ydynt ddamniol mwyach, y mae gan Dduw drefn ogoneddus i'w symud o'r ffordd trwy faddeuant llawn. Yr unig bechod damniol yn awr yw anghrediniaeth barhâol yn Nghrist a'i grefydd. Nid pechodau sydd yn awr, ond pechod (gwel ar v. 29). Saif pechod yr Iuddewon allan yn amlwg, diesgus, a diachos. Gwnaeth gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu holl breswylwyr Jerusalem yn "ddiesgus"—nid oes dim *extenuating circumstances.*

ADN. 23. **Yr hwn sydd yn fy nghashau i sydd yn cashau fy Nhad hefyd.** Nid oherwydd undeb eu personau, ond undod eu cymeriadau. Ai cashau Crist oedd yr achos o gashau ei Dad? Nage; ond cashau y Tad oedd yr achos o gashau y Mab. Tra y tybiai yr Iuddewon eu bod yn anrhydeddu Duw, dywed Crist, Na; nid y Duw sydd wedi ei ddatguddio yn yr H. D. yr ydych yn ei anrhydeddu, ond Duw o greadigaeth eich dychymyg eich hunain; yr ydych yn cashau Duw yr H. D., y Duw sanctaidd a glân, a phrawf o hyny yw eich bod yn cashau ei gymeriad Ef yn fy nghymeriad I, canys y ddau hyn un ydynt.

ADN. 24. **Onibai wneuthur o honof yn eu plith y gweithredoedd ni wnaeth neb arall, ni buasai arnynt bechod.** Yn adn 22. ei eiriau yw y mater, yma ei weithredoedd. Digon ei ddysgeidiaeth ar ei phen ei hun i'w hargyhoeddi o'i ddwyfol anfoniad; digon hefyd ei weithredoedd ar eu penau eu hunain i gynyrchu yr un argyhoeddiad; ond pan y rhedent yn gyfochrog, gan ategu y naill y llall, yr oedd yr *evidence* yn orthrechol,—rhwygwyd pob brat o esgus ymaith. **Ond yr awrhon**—o ran amser ac ymresymiad—**hwy a welsant ac a'm casasant i a'm Tad hefyd.** "Clywsant" yn ol adn. 22; "gwelsant" yn ol yr adnod hon. Clywsant a gwelsant: beth mwy allent ddymuno? Clywsant a gwelsant y Mab a'r Tad; ac ar ol eu clywed a'u gweled, casasant hwy! Pa anwiredd mwy a ellir ei ddychymygu? Na; nid oes ganddynt esgus am eu pechod.

ADN. 25. **Eithr fel y cyflawnid y gair sydd yn ysgrifenedig yn eu cyfraith hwynt.** Cyfeiriad at Salm xxxv. 19 (gwel hefyd lxix. 4; cix. 3).

cyflawnid y gair sydd ysgrifenedig yn eu cyfraith hwynt,
Hwy a'm casasant yn ddïachos. Eithr pan ddêl y Diddan- 26
ydd, yr hwn a anfonaf i chwi oddi wrth y Tad, (*sef* Yspryd
y gwirionedd, yr hwn sydd yn deilliaw oddi wrth y Tad,)

---

Ond paham y gelwir llyfr y Salmau yn gyfraith? Gwel ar x. 24. Gesyd y Salm allan y dyn cyfiawn yn ei dreialon a'i gyfyngderau, ac fel gwrthrych casineb y rhai annuwiol. Darlun o'r dyn cyfiawn ydyw y Salm; ac am fod yr Iesu yn gyfiawnach na neb o'i flaen nac ar ei ol, y mae yn ddarlun cywirach o hono Ef nag o neb arall; ie, ynddo Ef yn unig y llawn sylweddolir y darlun. **Hwy a'm casasant i yn ddiachos.** "Diachos" (*dōrean*): digwydd y gair naw gwaith yn y Test. Newydd; cyfieithir ef yn "rhad" neu "rydd" chwe gwaith, "yn ofer" unwaith, "am ddim" unwaith, a "diachos" unwaith; ond hawdd gweled mai yr un drychfeddwl llywodraethol sydd yn mhob engraipht. "Diachos"—beth yw yr ystyr? (1) Etyb Bengel mai diles, difudd, ofer: hwy a'm casasant i, gan feddwl rhoddi atalfa ar fy ngwaith; ond ofer eu hymdrechion, difudd eu cynllwynion, yn y blaen yr ä yr achos mawr. (2) Ond sicr genym fod y cyfieithiad Cymraeg yn hollol gywir; hwy a'm casasant i heb un achos ynof fi i enyn eu llid; y mae yr achos i gyd, nid ynof fi nac yn fy Nhad, ond yn eu calonau hwy eu hunain. Megis y mae cariad Duw at y byd yn ddiachos, felly y mae casineb y byd at Dduw yn ddiachos. Dau beth diachos y sydd, cariad Duw a phechod dyn!

**ADN. 26. Eithr pan ddel y Diddanydd.** Gwel ar xiv. 16. **Yr hwn a anfonaf fi i chwi oddiwrth y Tad.** Y "fi" yn bwysleisiol. Yn xiv. 26 y Tad sydd yn ei anfon, yma y Mab yn ei anfon oddiwrth y Tad: nid gosodiadau gwrthdarawiadol mohonynt, ceir eu cysondeb yn undeb y Personau. **Sef Ysbryd y Gwirionedd, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y Tad.** Nid Ysbryd gwirioneddol, ond Ysbryd ag y mae gwirionedd yn sylwedd ei ddysgeidiaeth ac yn wrthrych ei weithrediad. "Yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y Tad" nid o hono (*ek*), ond oddiwrtho (*para*), o'i ymyl, o ger ei fron. Pa wirionedd sydd yn cael ei ddysgu yn y frawddeg hon? (1) Dilyna Godet, Stier, ac Olshausen y Tadau Groegaidd, gan ddeall y geiriau fel yn dysgu perthynas dufewnol yr Ysbryd â'r Tad yn yr Hanfod dragwyddol. Ond gorfodir ni i lynu wrth y rheol mai nid amcan Cristionogaeth yw datguddio perthynasau tufewnol y Drindod Fendigaid, ond eu perthynas â'u gilydd yn nhrefn yr Iachawdwriaeth. Pe y Deilliad Tragwyddol a feddylid, yr arddodair "o" (*ek*) ac nid "oddiwrth" (*para*), a ddefnyddid. (2) Gwell genym, gan hyny, ddeall gyda Hengstenberg, Meyer, a Westcott mai perthynas yr Ysbryd â'r Tad yn nhrefn yr achub sydd yma. Daw yr Ysbryd o'r un màn goruchel ag y daeth y Mab ohono, o ymyl (*para*) y Tad; a daw gyda'r un amcan gogoneddus, dim amgen nag achub y byd. Ar yr un pryd, dylid sylwi, tra y mae y ferf "anfon" yn y frawddeg gyntaf o'r adnod yn yr amser dyfodol, fod y ferf "deilliaw" yn y frawddeg dan sylw yn yr amser presenol, ac felly yn awgrymu fod y "Deilliad" achubol yn sylfaenedig ar y Deilliad Tragwyddol. Y Mab yn genhedlig o'r Tad,—dyna sylfaen y geni mewn amser; yr Ysbryd yn ddeilliedig o'r Tad,—dyna sylfaen ei anfoniad ar ddydd y Pentecost. O barth i iawn

27 efe a dystiolaetha am danaf fi. A chwithau hefyd a dystiolaethwch, am eich bod o'r dechreuad gyd â mi.

---

ddehongliad yr adnod hon y rhwygodd yr Eglwys Gyffredinol yn ddwy adran—Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain. Dalia Eglwys Groeg neu Eglwys y Dwyrain mai deilliedig o'r Tad yw yr Ysbryd; ond Eglwys Rhufain neu Eglwys y Gorllewin (gan gynwys yr eglwysi Protestanaidd) ei fod yn ddeilliedig yn gyfartal o'r Tad a'r Mab. "Nid oes amheuaeth," meddai yr Esgob How, "na bu i'r Eglwys Orllewinol, heb awdurdod ddyladwy, ychwanegu y geiriau 'a'r Mab' at Gredo gwreiddiol Nicea; ond gan fod Crist yn llefaru yma (ac yn xvi. 7) mor eglur am anfon yr Ysbryd Glân, a chan y gelwir yr Ysbryd Glân yn Ysbryd Crist (Rhuf. viii. 9; 1 Petr i. 11) ni all fod gwir wrthwynebiad i'r geiriau." Symia Waterland y ddadl i fyny fel y canlyn: "Cafodd y Groegwyr a'r Rhufeinwyr lawer dadl flinderus o barth i'r *Deilliad*. Y mae un peth yn eglur,—er fod yr henafiaid, at y rhai yr apelia y ddwy blaid, yn dyweyd yn fynych fod yr Ysbryd Glân yn ddeilliedig o'r Tad, heb grybwyll y Mab, eto ni ddywedasant erioed ei fod yn ddeilliedig o'r Tad yn *unig*, fel y mae y Groegwyr presenol wedi dwyn newydd-beth i mewn i'r erthygl hon mewn *mynegiant* (*expression*) o leiaf, os nad mewn synwyr. Am y Rhufeinwyr (*Latins*), y mae ganddynt hyn i'w ddadleu, na chondemniwyd eu hathrawiaeth gan neb o'r henafiaid; fod llawer o honynt yn eu dysgu yn bendant; fod yr Eglwysi Dwyreiniol yn eu condemnio am ychwanegu at Gredo a ffurfiwyd mewn Cynghor Cyffredinol yn hytrach na chondemnio yr athrawiaeth ei hun; fod yr Eglwysi Groegaidd hyny sydd yn ystyried yr athrawiaeth yn heresi, eto yn gorfod addef yr un peth, ond yn unig mewn geiriau gwahanol; a bod yr Ysgrythyr ei hun yn eglur fod yr Ysbryd Glân yn deilliaw o leiaf *trwy y Mab*, os nid *o hono*, yr hyn a ddaw i'r un peth." **Efe a dystiolaetha am danaf fi.** "Efe" yn bwysleisiol. Dygai y byd gyhuddiadau difrifol yn erbyn yr Iesu, barnent Ef yn haeddu marwolaeth; yma trosglwydda Efe ei achos i ofal Ysbryd y Gwirionedd, ei dyst pwysicaf i burdeb dilychwin ei fywyd a dybenion achubol ei angeu (cyd. xvi. 13—15).

**ADN. 27. A chwithau hefyd a dystiolaethwch.** Y modd mynegiadol fel yn y cyfieithiad Cymraeg, neu y modd gorchymynol—"tystiolaethwch chwithau hefyd." Y naill ffordd neu y llall, erys y meddwl heb fawr o gyfnewidiad. Yr Ysbryd a dystiolaetha, a chwithau hefyd a dystiolaethwch. Ond beth yw y cysylltiad rhwng y ddwy dystiolaeth? A ydynt yn ddibynol, ynte yn annibynol, ar eu gilydd? Yn ddibynol, debygem ni. Tystiolaetha yr Ysbryd yn a thrwy yr Eglwys; nid tystiolaethu ar wahân y mae Efe, ond effeithioli eu tystiolaeth hwy. "Y mae y dystiolaeth yn un," meddai Alford,—"tystiolaetha yr Ysbryd ynddynt a thrwyddynt. Tystiolaeth hanesyddol yr Apostolion a ffurfia yr ochr *ddynol* i dystiolaeth fawr Ysbryd y Gwirionedd, ac o'r hon y mae ein Hefengylau ysbrydoledig yn grynodeb; a'r ochr *ddwyfol* yw ei dystiolaeth dufewnol barhaol yn mywyd a chalon pob credadyn hyd ddiwedd amser. Ond rhoddir y ddwy gan yr unrhyw Ysbryd, y naill heb fod yn anghyson â'r llall, nac yn ei gwneuthur yn ddianghenrhaid." **Am eich bod o'r dechreuad gyda mi.** O ddechreuad pa beth? O ddechreuad ei weinidogaeth. Rhaid oedd i'r tystion cyntaf fod yn sicr

## PENOD XVI.

Y PETHAU hyn a ddywedais i chwi, fel na rwystrer 1
chwi. Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r synagogau: 2
ac y mae yr awr yn dyfod, y tybia pwy bynnag a'ch lladdo,
ei fod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw. A'r pethau hyn 3

---

o'r ffeithiau. Oherwydd paham cynghora Petr yr eglwys ieuangc yn yr oruwchystafell y rhaid ethol yn olynydd i Judas ddyn ag oedd yn llygad-dyst o'r holl hanes (Act. i. 21, 22). Beth ynte oedd swyddogaeth yr Ysbryd? Nid cyflenwi ffeithiau, ond egluro y ffeithiau i ddeall yr Apostolion, eu cysylltiad ag iachawdwriaeth pechadur, a gwasgu y gwirioneddau adref i ddeall a chydwybodau y gwrandawyr. Crist yn ei fywyd a'i angeu oedd yn cyflenwi y ffeithiau; angenrheidiol, gan hyny, oedd iddynt fod wedi cael eu gweled gan y tystion: yr Ysbryd oedd yn cyflenwi y goleuni angenrheidiol er dehongliad priodol ac achubol o'r ffeithiau. Rhaid wrth Grist a'r Ysbryd—y ffeithiau allanol a'r eglurhad tufewnol—yn ngweinidogaeth pob oes.

---

## PENOD XVI.

### YR YSBRYD GLAN A'R BYD. ADN. 1—11.

**ADN. 1. Y pethau hyn a ddywedais i chwi.** Pa bethau? (1) Yn ol Westcott, yr holl bethau cynwysedig yn y benod flaenorol. (2) Ond barnwn fod Hengstenberg a Meyer yn gywirach pan yn eu cyfyngu at y paragraph diweddaf (adn. 20—27)—gelyniaeth y byd atynt, ac addewid yr Ysbryd iddynt i'w cynal yn eu trallodion. **Fel na rwyster chwi.** Am y gair "rhwystro" gwel ar vi. 61. Byddai y profedigaethau chwerwon a'u cyfarfyddent, yn herwydd eu hymlyniad wrth y grefydd newydd a'i sylfaenydd, yn sicr o fod yn fagl iddynt; ond calonoga yr Iesu hwy yma i ddâl yn mlaen gan nad faint eu treialon. Rhydd rybudd (adn. 20—25) ac addewid (adn. 26, 27).

**ADN. 2. Hwy a'ch bwriant chwi allan o'r synagogau.** H.y. caent ddyoddef esgymundod ar law yr Iuddewon, cyffelyb yn ei effeithiau i esgymundod yr Eglwys Babaidd yn y canol oesoedd—difreiniai ddyn o bobpeth oedd yn anwyl ganddo yn y teulu, y wladwriaeth, a'r eglwys, elai yn wibiad a chrwydriad yn ei wlad ei hun. Ni dderbynid ef i dŷ, gochelyd ef fel esgymunbeth. Gwel ar ix. 22. **Ie, y mae yr awr yn dyfod fel y tybia pwy bynag a'ch lladdo.** Ie (*alla*)=mwy. Felly gosodir allan yma ddwy radd o erledigaeth—esgymundod neu farwolaeth gymdeithasol, a merthyrdod neu farwolaeth naturiol. **Ei fod yn offrymu gwasanaeth i Dduw.** Y mae y gair am "offrymu" *(prospherein)* yn cael ei ddefnyddio yn Heb. v. 1; viii. 3; ix. 7, a phob tro golyga offrymu aberth; a defnyddir y gair am "wasanaeth" (*latreian*) yn Rhuf. ix. 4 a Heb. ix. 1—6, a dynoda bob tro wasanaeth crefyddol. Gan hyny, o gysylltu y gair "lladd" (*apokteino*=lladd fel aberth) a'r frawddeg "offrymu gwasanaeth" gwelir mai y meddwl yw fod yr Iuddewon yn eu dallineb barnol a'u cynddaredd aflywodraethus yn

a wnant i chwi, oblegid nad adnabuant y Tad, na myfi.
4 Eithr y pethau hyn a ddywedais i chwi, fel pan ddêl yr
awr, y cofioch hwynt, ddarfod i mi ddywedyd i chwi: a'r
pethau hyn ni ddywedais i chwi o'r dechreuad, am fy mod

---

perswadio eu hunain fod lladd Cristionogion fel offrymu aberth i Dduw, ac yn gymeradwy ganddo. Edrychid ar erlid y rhai oedd yn y "ffordd hon" fel dyledswydd grefyddol. "Pwy bynag a dywallto waed yr annuwiol a wna yr un peth ag a offrymo aberth," medd yr Esboniad (*Midrash*) Iuddewig. Onid yw hanes Saul, cyn ei gyfnewid yn Paul, yn gyflawniad llythyrenol o'r rhagfynegiad hwn (Act. xxvi. 9—11)? Rhyfedd fel y mae erlidwyr pob oes yn sylfaenu merthyrdod y saint ar ddyledswydd grefyddol! Yr oedd dyoddef merthyrdod (*suffer martyrdom*) yn gymeradwy; ond troent hwy y gwirionedd o'r chwith, gan wneuthur peri merthyrdod (*inflict martyrdom*) yn wasanaeth i Dduw. Gwisgid y pechod mwyaf mileinig â'r cysegredigrwydd mwyaf dwyfol.

ADN. 3. **A'r pethau hyn a wnant, oblegid nad adnabuant y Tad na myfi.** Ond a ydyw anwybodaeth yn esgus dros bechod? (1) Y mae anwybodaeth ag sydd yn esgus. "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur" (Luc xxiii. 24)—yr oedd anwybodaeth y milwyr yn *extenuating circumstance* yn eu heuogrwydd. Yr un modd Paul, yr hwn ni chafodd gyfle i wybod y gwirionedd, ond a ufuddhaodd pan y cafodd y weledigaeth nefol (1 Tim. i. 13). (2) Eithr y mae anwybodaeth ag sydd yn codi oddiar gasineb at y goleuni; yn lle lleihau, chwyddo euogrwydd y mae. Tybient hwy y cyflawnent yr hyn oedd yn gyson â chymeriad y Tad pan yn llofruddio dilynwyr yr Iesu, ac felly fod eu merthyrdod yn aberth cymeradwy ganddo; yr oeddynt wedi gŵyrdroi cymeriad Duw, ac yr oedd y gŵyrdroad, yn lle ysgafnhau, yn dyfnhau eu heuogrwydd.

ADN. 4. **Eithr y pethau hyn a ddywedais i chwi, fel pan ddêl yr awr y cofioch hwynt.** Dyma y rheswm cyntaf tros eu rhagfynegu,—eu harfogi hwy yn mlaen llaw ar eu cyfer. "*Forewarned, forearmed.*" **Ddarfod i mi ddywedyd i chwi.** Y "mi" yn bwysleisiol. Dyma yr ail reswm,—clirio ei gymeriad ei hun. Pan oddiweddyd hwy gan y triniaethau chwerwon, ni allasent ddyweyd: Camarweiniodd yr Athraw ni; addawodd dywydd teg, yn lle hyny drychin; addawodd hindda, yn lle hyny ystormydd blinion; prophwydodd dangnef a llwyddiant, yn lle hyny yr ystangc a'r dienyddle. Na, meddai yr Iesu, cofiwch ddarfod i *mi* eu rhagfynegu i chwi. **A'r pethau hyn ni ddywedais i chwi o'r dechreuad am fy mod gyda chwi.** Nid oedd eisieu eu dyweyd tra yr oeddwn i gyda chwi, nid oeddynt i ddigwydd y tymhor hwn; hyny o erlid sydd wedi bod myfi oedd y gwrthrych, nid chwychwi. Ond ai nid oedd yr Iesu wedi rhagfynegu erledigaethau ei ganlynwyr o'r blaen? Oedd, yw ateb yr esbonwyr, ac fel prawf cyfeiriant at Matt. v. 10, 11; x. 17, 21, 28; xxiv. 9; Luc vi. 22; xii. 4. Dengys y gyfres yna iddo ddechreu traethu am flinderau ei bobl mor gynar a'r Bregeth ar y Mynydd. Pa fodd y cysonir yr adnod sydd yn awr dan ein sylw â'r adnodau uchod? (1) Dadleua Godet, ac nid annhebyg yw syniad Meyer, mai Ioan sydd yn rhoddi i ni ddigwyddiadau yr hanes yn eu trefn amseryddol; o ganlyniad,

gyd â chwi. Ac yn awr yr wyf yn myned at yr hwn a'm 5
hanfonodd; ac nid yw neb o honoch yn gofyn i mi, I ba le
yr wyt ti yn myned? Eithr am i mi ddywedyd y pethau 6

---

os ceir cyfeiriadau yn yr efengylau eraill at yr erledigaethau yn foreuach na hyn eu bod allan o'u trefn amseryddol. Trefn byngciol oedd gan Matthew—casglu at eu gilydd ddywediadau yr Arglwydd Iesu ar fater neillduol, yn annibynol ar yr amser penodol y llefarwyd hwy. Diau fod llawer o wirionedd yn y syniad hwn; ond teimlwn ar yr un pryd fod Godet yn yr enghraipht bresenol yn ei wthio i eithafion gormodol. (2) Barna Bengel, a gwahanol ffurfiau ar ei farn ef sydd gan Luthardt, Hengstenberg, ac eraill, ei fod wedi rhagfynegu o'r blaen y blinderau a oddiweddent ei ganlynwyr, ond yn llai eglur ac yn fwy prin *(minus aperte et parcius)*; ac felly na wnaeth hwy yn fater arbenig ei ddysgeidiaeth hyd yn bresenol, pan nad ellid eu gohirio yn hwy. O'r blaen yn y *background* yr oeddynt, yn awr yn y *foreground*; ac mae newid y *perspective* yn gwneyd y darlun i gyd yn newydd. (3) Gorfodir ni, fodd bynag, gan eiriau pendant yr Iesu i gymhwyso yr ymadrodd, nid yn unig at yr amseroedd enbyd oedd yn eu haros, ond hefyd at y cysuron newyddion oedd o fewn eu cyrhaedd,—ei dderchafiad Ef at y Tad a thywalltiad yr Ysbryd Glân. Newidia hyn holl wedd yr amgylchiadau. Os oedd eu profedigaethau i luosogi, felly hefyd lluosogai eu cynorthwyon mewn cyfartaledd mwy. Haws fyddai iddynt ddàl erledigaethau llymion y dyfodol gyda help eiriolaeth Crist yn y nefoedd a help eiriolaeth yr Ysbryd yn eu calonau nag oedd iddynt ddàl treialon y tair blynedd ag oeddynt wedi myned heibio heb y cynorthwyon bendigedig hyn. O ganlyniad, darllenwn "y cyfrifent hi yn llawenydd pan y dywedid pob drygair yn eu herbyn er mwyn ei Enw Ef."

**ADN. 5. Ac yn awr yr wyf yn myned at yr hwn a'm hanfonodd.** Y mae y gwaith a ymddiriedwyd i mi wedi ei gwblhau, amcan fy anfoniad i'r byd wedi ei gyrhaedd—yr wyf yn awr ar ddychwelyd at yr hwn a'm hanfonodd i roddi cyfrif o fy ngoruchwyliaeth. **Ac nid oes neb o honoch yn gofyn i mi, I ba le yr wyt ti yn myned?** Oni ofynodd Petr y cwestiwn yn xiii. 36, a Thomas yn xiv. 5? Do a naddo. Do, o ran geiriau; naddo, o ran ystyr a phwysigrwydd. Ni wyddent gynwys eu gofyniadau eu hunain,—gofyniadau cywrain ar y wefus heb sylweddoli eu pwysigrwydd. "I ba le yr wyt ti yn myned?" Beth yw y berthynas sydd i fod rhyngot a ni yn y dyfodol? A yw y berthynas i ddarfod yn dy angeu, ynte i barhau a dyfnhau ar ol yr angeu? Nid oes neb o honoch yn cymeryd gafael tỳn yn y gwirionedd am amcan fy ymadawiad. Yr ydych bellach wedi cyrhaedd dirnadaeth i ryw raddau am amcan fy Nyfodiad, ond nid ydych yn gafael yn ddeallgar yn amcan fy Ymadawiad; ond y mae yr olaf mor hanfodol a'r cyntaf i iachawdwriaeth dyn. Buasai yn dda gan yr Arglwydd Iesu pe deallent yn well amcan ei Ymadawiad i'r nefoedd trwy y groes a gwaelod bedd; ond dyna—nid anwybodaeth, ond gwybodaeth, sydd yn medru gofyn cwestiynau.

**ADN. 6. Eithr am i mi ddywedyd y pethau hyn i chwi, tristwch a lanwodd eich calon.** Ei amcan Ef oedd eu diddanu, eu llanw a'i

7 hyn i chwi, tristwch a lanwodd eich calon. Ond yr wyf fi
yn dywedyd gwirionedd i chwi; Buddiol yw i chwi fy
myned i ymaith: canys onid âf fi, ni ddaw y Diddanydd

---

lawenydd ei hun; a phe y deallent amcan ei Ymadawiad, llawenychent yn y rhagolwg ar y lles diderfyn a ddeilliai i'r eglwys a'r byd o dderchafiad y Ceidwad i'r Ddeheulaw. Ond yn lle hyny tristwch a lanwodd eu calon; edrychent yn bruddaidd a digalon; y teimlad a'i meddiannai oedd, Wel, wel, os yw Efe yn myned ymaith, beth a ddaw o honom ni, druain, sydd yn cael ein gadael ar ol? Y "ni" oedd yn llon'd eu meddwl, nid Efe.

**ADN. 7 Ond yr wyf fi yn dywedyd y gwirionedd i chwi.** Y "fi" yn bwysleisiol—y "fi," un na ddarfu eich twyllo erioed, "Yr wyf fi yn dywedyd y gwir i chwi." O gyfieithu fel yna gwelir swyddogaeth y fanod o flaen gwirionedd—nid gwirionedd penodol mewn cyferbyniad i wirioneddau eraill, ond y gwir mewn cyferbyniad i gelwydd neu dwyll. Er nad ydych chwi yn holi, meddai yr Iesu, eto af fi yn mlaen i egluro. **Buddiol yw i chwi fy myned i ymaith.** (1) Buddiol yw i chwi fy myned *i* ymaith,—y fi, dyn da. Buddiol i eraill fod dyn drwg yn myned ymaith, a cholled i eraill fod dyn da yn myned ymaith; ond yma buddiol i eraill fod dyn da, y dyn goreu, yn marw. Paham? Rhaid fod rhyw gysylltiad arbenigol rhyngddo Ef a'r byd ar ol marw nag sydd rhwng apostolion, prophwydi, a dynion da eraill. (2) Buddiol yw i *chwi* fy myned i ymaith. Nid yn unig buddiol i *mi*, ond buddiol i *chwi*. Bydd yn enill mawr i mi i esgyn i ogoniant y Tad, bydd yn enill i chwithau hefyd. Pan y torir i lawr y goeden uchel a brigog, gall y mân brenau o gwmpas dybied eu bod yn colli eu hamddiffyn rhag y dymhestl a'u cysgod rhag y gwres—uda y ffynidwydd pan y cwympa y cedrwydd (Zech. xi. 2). Ond dengys yr effeithiau dymunol a ddilynant mai buddiol i'r mân blanhigion oedd yr oruchwyliaeth; trwy eu taflu ar eu hadnoddau eu hunain enillasant iechyd a nerth. Llawer bachgen da a nychwyd trwy fod yn rhy hir dan adenydd ei rieni; ac os oedd y dysgyblion i fagu rhyddyn, angenrhaid oedd eu taflu ar eu gwaelod eu hunain,—gwywai eu nerth moesol pe yr arhosent lawer yn hwy yn agosrwydd yr Iesu gweledig. Rhaid oedd iddynt o hyn allan i feddwl a gweithredu ar eu cyfrifoldeb eu hunain; a sŷn fel y mae y teimlad o gyfrifoldeb yn sobri y meddwl ac yn cryfhau yr ewyllys. (3) Ond yn y frawddeg sydd yn dilyn y nodir allan y prif reswm dros fuddioldeb ei ymadawiad, sef preswyliad yr Ysbryd Glân ynddynt. Mor eiddil yn ddeallol a moesol yw y dysgyblion ar dudalenau y pedair Efengyl; mor gadarn a chawraidd ydynt ar dudalenau yr Actau. Beth a weithiodd y fath wahaniaeth ynddynt mewn deufis o amser? Ymadawiad Crist ar un llaw, a dyfodiad yr Ysbryd ar y llaw arall.

**Canys onid af fi ni ddaw y Dadleuydd atoch.** Dychweliad Crist at y Tad oedd amod anfoniad yr Ysbryd oddiwrth y Tad. Ni allasai yr Ysbryd ddwyn ei waith yn mlaen *mewn* dynion nes fod y Mab wedi cwblhau ei waith *dros* ddynion; h.y. y mae gwaith yr Ysbryd yn sylfaenedig ar waith y Mab. Nid yn unig gweddus oedd i waith y Mab flaenori gwaith yr Ysbryd fel mater o drefn; ond ymddengys fod y

attoch; eithr os mi a âf, mi a'i hanfonaf ef attoch. A phan 8
ddêl, efe a argyhoedda y byd o bechod, ac o gyfiawnder,

---

drefn yn seiliedig ar ddeddf achos ac effaith. Prawf o hyn yw na fedrir dattroi (*reverse*) y drefn. Nid fel Ysbryd noeth anfeidrol y mae y Trydydd Person yn argyhoeddi, aileni, a sancteiddio, ond fel Ysbryd Crist—y mae ffurf ei weithrediad yn dibynu ar ffurf gwaith gorphenedig yr Arglwydd Iesu. (Gwel ar vii. 39). **Eithr os mi a af, mi a'i hanfonaf ef atoch.** Trwy ei Iawn pwrcasodd yr Ysbryd i ddynion; ac yn ei Esgyniad derbyniodd roddion i ddynion, a'r prif rodd yw yr Ysbryd Glân. Enill dihafal i'r dysgyblion oedd dyfodiad yr Ysbryd; canys y mae presenoldeb Crist trwy ei Ysbryd yn fwy sylweddol a bywiol na'i bresenoldeb yn y corph. Crist o ran ei bresenoldeb corphorol—Crist *gyda* Petr, gydag Ioan, gyda Mair, gyda'i bobl; ond Crist yn ei bresenoldeb ysbrydol—Crist *yn* Mhetr, yn Ioan, yn Mair, yn ei bobl. Ac o gymaint ag yw yr "*yn*" yn rhagori ar y "gyda," y mae ei bresenoldeb ysbrydol yn rhagori ar ei bresenoldeb corphorol. Awyddus yw crefyddwyr yr oes hon fel y dysgyblion cyntaf i "adnabod Crist yn ol y cnawd"; ai nid dyna mewn gwirionedd sydd wrth wraidd yr athrawiaeth Babaidd am Sacrament y Swper? Ond cydnebydd yr athrawiaeth Brotestanaidd fod y presenoldeb ysbrydol yn fwy "*real*" na'r presenoldeb materol. Nid dadl am y "*real presence*" yn ystyr bresenol y gair *real* sydd rhwng y Pabyddion a'r Protestaniaid: y mae y ddwy blaid yn addef y "*real presence*," ond y cwestiwn yw, A'i materol ai ysbrydol ydyw? Materol, meddai y Pabyddion; ysbrydol, meddai y Protestaniaid.

**ADN. 8. Ac wedi ei ddyfod, efe a argyhoedda y byd.** "Efe" (*ekeinos*), y rhagenw pwysleisiol. "Argyhoeddi" (*elengchein*)—beth ydyw argyhoeddi? Y mae llawer wedi ei ysgrifenu ar y mater gan esbonwyr; ond y ffordd ddoethaf i ni yw troi i'r manau lle yr arferir ef yn y Test. Newydd, sef, Matt. xvii. 15; Luc. iii. 19; Ioan iii. 20; viii. 9, 46; xvi. 8; 1 Cor. xiv. 24; Eph. v. 11, 13; 1 Tim. v. 20; 2 Tim. iv. 2; Titus i. 9, 13; ii. 15; Heb. xii. 5; Iago ii. 9; Dat. iii. 15. O edrych ar y gair yn y defnydd a wneir o hono yn y lleoedd hyn, barnwn fod tair elfen ynddo, ar y rhai, y mae arnom ofn, nad oes enwau priodol yn y Gymraeg: (1) *convict*, profi yn euog yn ngwyneb cyfraith, pa un a gyfaddefa y troseddwr ei euogrwydd ai peidio; (2) *convince*, dwyn argyhoeddiad i feddwl y condemniedig, ei berswadio i weled a chyfaddef ei ddrwghaeddiant; (3) *reprove*, ceryddu, cymhwyso y ddedfryd ato nes peri iddo gywilyddo. Felly y mae yr elfen gyntaf yn gyfreithiol; yr ail yn foesol; y drydedd yn benydiol. Rhaid wrth y tair elfen hyn mewn argyhoeddiad yn yr ystyr efengylaidd,—ystyr y Test. Newydd o'r gair. A chan fod i argyhoeddiad dair elfen, y mae iddo dri gwrthrych cyfatebol,—*o bechod, o gyfiawnder, ac o farn*. Nid argyhoeddi o bechod, ac argyhoeddi o gyfiawnder, ac argyhoeddi o farn: nid oes yma dri argyhoeddiad, ond un argyhoeddiad, yn meddu ar dair elfen, a phob elfen yn gweithredu ar ei gwrthrych priodol ei hun—yr elfen gyntaf (*convict*) yn gweithredu ar "bechod," yr ail (*convince*) yn gweithredu ar "gyfiawnder," y drydedd (*reprove*) yn gweithredu ar "farn." Dyma y tri phwngc—pechod, cyfiawnder, a barn—ag sydd mewn dadl rhwng

9 ac o farn: O bechod, am nad ydynt yn credu ynof fi;

nefoedd a daear, y tri mater ag sydd yn cynwys pob peth perthynol i fywyd presenol a thynged ddyfodol y ddynoliaeth. Gan fod y fanod yn absenol o flaen y tri gair, rhaid eu cymeryd yn eu hystyron ehangaf.

**ADN. 9. O bechod, am nad ydynt yn credu ynof fi.** Yr elfen yn y gair *convict* sydd yn dyfod yn benaf i'r golwg yn yr adnod hon. (1) Pechod heb y fanod, pechod yn gyffredinol, pechod fel *genus* ac nid yn ei *species*, pechod yn ei egwyddor ac nid mewn enghreiphtiau unigol. Nid argyhoeddi pechadur o ddrygioni y weithred hon neu y weithred arall, megis celwydd neu ladrad,—digon cydwybod i wneyd hyny; ond ei argyhoeddi o ddrygioni yn ei natur a'i egwyddor—nid oes ond yr Ysbryd Glân a fedr wneyd hyn. Nid oes gan ddyn, yn ystad natur, syniad priodol am bechod; ie, nid oes ganddo ddirnadaeth am dano o gwbl fel pechod. Gall edrych arno fel bai neu wendid neu anffawd, eithr nid fel pechod—drwg ynddo ei hunan, drwg nas gellir byth ei drawsnewid yn ddaioni, er, o drugaredd y Nef, y gellir ei oruwchreoli er daioni. Cymerer llenyddiaeth ethnig y byd cyn yr Ymgnawdoliad, ac mor amddifad yw o'r syniad am bechod. Sonia lawer am *crime*, ond dim am bechod; drygioni gweithredoedd ysgeler, ond dim am anfadrwydd egwyddor ddrwg. Ac yn wir yn athroniaeth agnosticaidd yr oes hon, rhyfedd càn lleied o le a gaiff pechod. Yn llyfr enwog Herbert Spencer (*Sociology*), prif athronydd *Evolution*, coeliwn ein bod yn gywir pan yn dyweyd nad yw y gair "pechod" ynddo, ac nad yw yr ystyriaeth o bechod yn cael lle o gwbl yn athrawiaeth Dadblygiad ar ei dudalenau. Mewn difrif, a yw pechod yn beth mor ysgafn fel y gellir ei gau allan o hanes dadblygiad neu ddirywiad y ddynoliaeth? A yw y gyfundrefn athronyddol a wna hyny yn *covero* holl ffeithiau hanes? Ac os nad ydyw, pa fodd y gall fod yn sylfaenedig ar graig y gwirionedd? Tasg fawr ac anhawdd ydyw argyhoeddi y byd o bechod, nid fel anufudd-dod i ddeddf ond fel anufudd-dod i Dduw, nes gorfodi dyn i gyffesu, "O Dduw, yn dy erbyn di, tydi dy hunan, y pechais." Ond medr yr Ysbryd gyflawni hynyna; y mae miloedd yn ein heglwysi yn dystion byw o effeithiolrwydd ei allu. Syniadau arwynebol am bechod sydd wrth wraidd athroniaeth faterol a duwinyddiaeth arwynebol ein hoes. (2) Argyhoedda hefyd o'r pechod penodol o anghrediniaeth. Mỳn Bengel, Hengstenberg, Meyer, a Dodds mai swyddogaeth y cysylltair *oti*, yr hwn a gyfieithir yn "am" neu "oblegid," yw deffinio yn fwy pendant y pechod a ddynodir yn y rhan ddechreuol. O ganlyniad, cyfieithiant yn debyg i hyn: "Efe a argyhoedda y byd o bechod, sef nad yw yn credu ynof fi," gan edrych ar yr haner diweddaf fel eglurhad (mewn *apposition*) i'r haner cyntaf. Yn ol yr eglurhad hwn y pechod yr argyhoeddir y byd o hono yw anghrediniaeth yn yr Arglwydd Iesu,—pechod, nid yn y dansoddol, ond yn ei berthynas ag Ef. Nis gallwn lai na theimlo priodoldeb yr esboniad hwn. Ar yr un pryd, barnwn mai cyfyngiad gormodol ar "bechod" heb y fanod yn nechreu yr adnod yw ei hunaniaethu ag anghrediniaeth yn ei diwedd,—rhaid dàl i fynu y gwahaniaeth rhwng y cyffredinol a'r neillduol. (3) Oherwydd paham, credwn ni y gosodir allan yma y cysylltiad bywydol rhwng y pechod cyffredinol a'r pechod neillduol. Mỳn Calfin a Godet ddeall y cysylltair *oti*, "am" neu

O gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad, ac ni'm 10

---

"oblegid," yn ei ystyr lythyrenol arferol. "Efe a argyhoedda y byd o bechod." Paham? "Oblegid nad ydynt yn credu ynof fi." Sefyllfa feddyliol dyn yn ei berthynas â'r Arglwydd Iesu sydd yn profi yn ddiamheuol ei gyflwr yn ei berthynas â Duw. Crist yw y datguddiad penaf o gariad a chyfiawnder Dwyfol; mae anghrediniaeth ynddynt yn eu hamlygiadau uchaf yn brawf o wrthryfel dwfn ac andwyol. Os gofyn neb, Pa brawf y sydd fod y byd yn gorwedd mewn pechod? yr ateb yw, Crist croeshoeliedig. Ac y mae cariad anfeidrol Crist yn marw dros bechadur yn dangos trwy wrthgyferbyniad ddrwg anfeidrol pechod—dim ond yr anfeidrol a fedr ddangos yr anfeidrol gwrthgyferbyniol. Pa brawf cryfach o Ddrygioni nag iddo groeshoelio Daioni yn Nghrist? Dechreua yr argyhoeddiad trwy i'r Ysbryd ddangos i ddyn echryslonrwydd ei wrthodiad o Grist, ymgorphoriad y Daioni anfeidrol. Anghrediniaeth—gwneuthur Duw yn gelwyddog—yw egwyddor pob pechod. Er hyny, yn ei pherthynas a Christ y daw yr egwyddor ddrwg i'r amlygrwydd mwyaf; ac y mae gweled egwyddor ddrwg pechod wedi ei dinoethi ar Galfaria yn help i weled ei drygioni yn mhob man arall. Yr un egwyddor sydd yn *roundio* yr haul ag sydd yn *roundio* y deigryn ar rudd y baban, ond y mae yn haws ei gweled yn y cyntaf, oblegid ehangder y raddfa. Eithr wedi ei gweled yn yr haul, ar raddfa ehang, hawdd ar ol hyny ei chanfod yn y deigryn, ar raddfa lai. Felly yr un yw egwyddor pechod, mawr a bach, yn mhob byd ac yn mhob oes; ond haws ei gweled yn nghroeshoeliad Crist, anwiredd mwyaf hanes, nag yn mân weithredoedd bywyd. Lladdodd pechod Dduw ymgnawdoledig! Dyna, gan hyny, egwyddor pob pechod—Duw-laddiad! Trwy ein hargyhoeddi o ddrwg anghrediniaeth yn Nghrist, dadlena yr Ysbryd o flaen ein llygaid hagrwch ein holl fywyd nes peri i ni waeddi Aflan, Aflan.

**ADN. 10. O gyfiawnder, am fy mod yn myned at fy Nhad, ac ni'm gwelwch i mwyach.** Y drychfeddwl yn y gair *convince* sydd yn fwyaf amlwg yma. Dyma yr unig waith y digwydd y gair "cyfiawnder" yn Efengyl Ioan, er y ceir ef deirgwaith yn ei Epistol cyntaf (ii. 29; iii. 7, 10). Y gofyniad cyntaf, gan hyny, yw, Beth yw ei ystyr yn ysgrifeniadau Ioan? Y mae duwinyddiaeth yn gwahaniaethu rhwng cyfiawnder a sancteiddrwydd, gan wneyd y cyntaf yn briodoledd deddf a'r olaf yn briodoledd cymeriad. O bosibl fod y gwahaniaeth hwn mewn duwinyddiaeth wedi ei sylfaenu ar y cyfieithiad Lladinaidd o'r Beibl, yn yr hwn y gosodir allan gyfiawnder fel *justitia* (yr un a'r gair Saesonaeg *justice*); a dyna y gair yn y cyfieithiadau Pabaidd hyd heddyw, a dyna yr allwedd i ddatgloi y dduwinyddiaeth Babaidd—y mae yn sylfaenedig ar y gair *justice*. Ond yn ysgrifeniadau Ioan y mae y gair cyfiawnder yn cynwys sancteiddrwydd, yr hyn a gyfrif o bosibl paham nad yw yn defnyddio y sylweddair "sancteiddrwydd" o gwbl yn ei efengyl na'i epistolau, er y defnyddia yr ansoddair "sanctaidd" (xvii. 11)—nid i ddynodi purdeb moesol ond cysegredigrwydd swyddogol. Golyga cyfiawnder, gan hyny, yn ngeiriaduraeth Ioan gyfiawnder yn y cyflwr, yn y natur, ac yn y fuchedd. Gan hyny, megis mai *Justice* yw sylfaen y dduwinyddiaeth Babaidd, felly *Righteousness* yw sylfaen y dduwinydd-

11 gwelwch i mwyach. O farn, oblegid tywysog y byd hwn

---

iaeth Brotestanaidd. Ond sylwer mai nid cyfiawnder yn y dadansoddol ydyw; nid areithio ar athroniaeth y meddwl nac athroniaeth moesoldeb, *metaphysics* nac *ethics*, y mae yr Arglwydd Iesu, ond egluro trefn iachawdwriaeth. Pechod yn ei berthynas a phechadur, cyfiawnder yn ei berthynas a phechadur, y farn yn ei pherthynas a phechadur, yw y materion yr ymdrinia a hwynt yma. Nid cyfiawnder yn yr *abstract*, ond yn y *concrete*, sydd yma,—cyfiawnder perthynol i'r pechadur neu i Grist neu i'r ddau. Eithr nid oes gan bechadur gyfiawnder o'i eiddo ei hun, rhaid gan hyny mai cyfiawnder yr Arglwydd Iesu a feddylir. Ond dysgir ni yn ddiamwys fod dau gyfiawnder yn perthyn iddo Ef—cyfiawnder personol a chyfiawnder meichniol neu swyddogol. Pa un a olygir yma? (1) Etyb Chrysostom, Bengel, Olshausen, Meyer, Godet, ac eraill mai ei gyfiawnder personol—uniondeb ei gymeriad, dibechadurusrwydd ei hanes. "Priodolai Gwener y Groglith," meddai Godet yn ei ffordd hyawdl ei hun, "bechod i'r Iesu a chyfiawnder i'w farnwyr. Trôdd y Pentecost y ddedfryd yn ol. I'r condemniedig y perthynai cyfiawnder, a'i farnwyr oedd y drwgweithredwyr." Diamheu fod hynyna yn wirionedd: y mae ei Adgyfodiad, a'i Esgyniad i'r ddeheulaw yn brawfion diymwad "na wnaeth bechod ac na chaed twyll yn ei enau." Pe troseddwr ydoedd cawsai aros yn y bedd, ond ai dyna yr oll a feddylir? Diau y buasai argyhoeddiad llwyr o ddidwylledd cymeriad yr Athraw yn sylfaen cysur i'r dysgyblion fel yr oedd rhagoriaeth cymeriad Socrates yn ffynhonell o ddiddanwch i'w ddysgyblion yntau; ond pa ddefnydd cysur oedd yn hyny i bechadur ag oedd wedi ei argyhoeddi, yn ol yr adnod flaenorol, o ddrwg damniol ei bechod? (2) O ganlyniad credwn gydag Awstin, Luther, Calfin, Stier, Hengstenberg, Brown ac eraill mai y cyfiawnder meichniol a olygir—y cyfiawnder sydd yn Nghrist i bechadur, trwy yr hwn y gwneir ef yn gyfiawn mewn cyflwr, natur, a buchedd. Rhywbeth yw y cyfiawnder hwn i'w wared o afaelion y pechod yr argyhoeddwyd Ef o hono yn yr adnod flaenorol. Lle y gwelodd ei ddamnedigaeth yn ei wrthodiad o Grist, yno hefyd y gwel ei waredigaeth—cyfiawnder Crist i guddio gwarth ei noethni ef. Prawf fod ynddo gyfiawnder i bechadur yw "fy mod yn myned at y Tad, ac ni'm gwelwch i mwyach." Cyfeiriad yn ddiamheu at yr archoffeiriad yn myned a gwaed yr aberth i'r Cysegr Sancteiddiolaf, i bresenoldeb y Disglaerdeb Dwyfol, nid yn ei gymeriad personol yn unig, ond fel cynrychiolydd y bobl; ond oblegid nad oedd ei aberth ef yn perffeithio dim, dychwelai o'r Presenoldeb Goruwchnaturiol fel y gallai drachefn offrymu yr un aberthau yn fynych. Ond aeth yr Iesu i'r Cysegr Sancteiddiolaf yn y nefoedd, i bresenoldeb Duw, trwy "ei waed ei hun, gan gael i ni dragwyddol ryddhâd." Gan hyny, ni raid iddo ddychwelyd i'r ddaear i ail aberthu ei hun—y mae yr un aberth wedi perffeithio yr oll; ni raid ei fynychu,—"ni'm gwelwch i mwyach." Nid yw y golygiad cyntaf yn cynwys yr ail, ond y mae yr ail yn cynwys y cyntaf—y mae ei gyfiawnder meichniol yn rhagdybied fel ei sylfaen y cyfiawnder personol.

**ADN. 11. O farn, oblegid tywysog y byd hwn a farnwyd.** Yr elfen yn y gair *reprove* sydd yn cael yr amlygrwydd mwyaf yma. "O farn"—nid y farn ddiweddaf yn unig, er fod hono yn gynwysedig: pa ddyn dan argyhoeddiad nad yw yn dychrynu yn y rhagolwg ar y Farn?

a farnwyd. Y mae gennyf etto lawer o bethau i'w 12
dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awr hon. Ond 13
pan ddêl efe, *sef* Yspryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi

---

ond y farn sydd yn myned yn mlaen yn awr yn mherson y credadyn o'r funyd gyntaf y gwelodd ef ddrwg ei bechod hyd ei chyflawn orpheniad yn y dydd diweddaf, y farn heb y fanod. Y mae yr Ysbryd yn gwahanu y da oddiwrth y drwg yn ei galon, y gwenith oddiwrth yr us yn ei gymeriad: y gwenith a ddwg Efe i'r ysgubor, ond yr us a lysg Efe â thân anniffoddadwy: y mae y farn hon eisoes wedi dechreu. "Tywysog y byd hwn,"—sef y diafol. Yr oedd yn llywodraethwr cyfreithiol, er nad cyfreithlawn, ar ddynion,—wedi eu henill, nid trwy orfodaeth, ond trwy berswâd. Efe oedd cystadleuydd Duw am lywodraeth y byd; ond yn ei fywyd a'i angeu gorchfygwyd ef gan yr Iesu—collfarnwyd ef, gwystl o oruchafiaeth y saint arno yn y man. Megis y dangosodd Oliver Cromwell ei gondemiad o'r hen lywodraeth bwdr a ffynai yn Lloegr trwy dori pen yr hen frenhin, felly condemniwyd hen lywodraeth afiach y byd trwy gollfarnu yr hen lywodraethwr. Y mae y ddedfryd gondemniol wedi ei chyhoeddi; dygir hi allan yn raddol, a gwawria y dydd pan y teflir y diafol i'r pwll diwaelod ac y gwaredir y ddaear o tan ei ddylanwadau marwol. (Gwêl ar xii. 31).

Dyna yr argyhoeddiad: o ddrwg pechod, ac yn enwedig anghredinïaeth; o gyfiawnder gwaredigol Crist, sylfaenedig ar ei ddibechadurusrwydd personol; o farn—y bydd i'r Da yn y galon a'r byd enill goruchafiaeth ar y Drwg, ac y gosodir y ddau yn eu lle eu hunain. Dyma *optimism* Cristionogaeth i wrthweithio *pessimism* paganiaeth y dyddiau gynt ac athroniaeth anghrediniol yr oes hon—y hi yw yr unig grefydd, a'r Iesu yw yr unig ddysgawdwr, sydd yn dysgu buddugoliaeth sicr Daioni ar Ddrygioni,—"Tywysog y byd hwn a farnwyd."

PERTHYNAS YR YSBRYD A'R EGLWYS. ADN. 12—15.

**ADN. 12. Y mae genyf eto lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon.** (1) Llawer o bethau am danynt eu hunain, y trafferthion blinion oedd yn eu haros fel ei ddysgyblion Ef; ond nid oeddynt hwy eto yn meddu y gwroldeb moesol a'r penderfynolrwydd ysbrydol anghenrheidiol i'w dwyn, ac ni pherchenogent hwy hyd dywalltiad yr Ysbryd arnynt. Pe caniatasai iddynt yn awr ragolwg lawn o'r carcharau a'r gwialenodiau oedd yn eu haros, llethid hwy gan ormod tristwch. "One step enough for me." (2) Llawer o bethau am dano ei hunan,—gwirioneddau am ei berson, ei angeu, ei esgyniad, a'i eglwys, y rhai ni feddent hwy yr addfedrwydd anghenrheidiol i'w hamgyffred a'u troi yn faeth ysbrydol. Nid allent eu dwyn, ymgynal danynt *(bastazein)*, nes derbyn adgyfnerthiad trwy breswyliad yr Ysbryd ynddynt. Nid gwirioneddau hollol newyddion fel y gogwydda Meyer a Godet i dybied, ond datguddiadau llawnach o'r gwirioneddau ag oeddynt eisoes wedi cael mynegiad o ran eu hadau yn ei weinidogaeth—newydd o ran eu dadblygiadau yn unig, nid o ran eu gwreiddiau.

**ADN. 13. Ond pan ddel efe, sef Ysbryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i'r holl wirionedd.** Yr "Efe" yn bwysleisiol,—gwna Efe i fyny am y diffyg yn nysgeidiaeth Crist, nid diffyg yn codi oddiar anallu i

ddatguddio o'i du Ef, ond oddiar anallu i amgyffred o'u tu hwy. **Efe a'ch tywys i'r holl wirionedd.** Y mae i'r ymadrodd hwn ddau gymhwysiad ; sef at y dysgyblion yn gyntaf yn eu cyflawniad o'u swydd apostolaidd, ac yn ail fel cynrychiolwyr credinwyr pob oes. (1) Atynt fel apostolion,—addewid o dywysiad anffaeledig iddynt i ddirnadaeth briodol o Gristionogaeth fel athrawiaeth. Am brophwydi yr H.D. dywedir iddynt lefaru "megis eu cynhyrfwyd gan yr Ysbryd Glân" (2 Petr i. 21). "Cynhyrfwyd" (*pheromenoi*) yw y gair, yr hwn sydd yn golygu gallu cryf allanol yn eu gwthio yn eu blaen fel ystormwynt yn gyru llongau ar y môr. Treiddiai cynhwrf, cyffro, trwy eu holl natur. Ond "tywys" (*hodēgēsei*) yw y gair sydd yn desgrifio ysbrydoliaeth ysgrifenwyr y Test. Newydd, gair sydd yn meddwl "dangos y ffordd," ie, arwain ar hyd-ddi. Cymer yr Ysbryd afael yn y meddwl megis gerfydd ei law ac arwain ef i mewn i'r Palas Arian, i weled rhyfeddodau trefn yr achub. "Efe a'ch tywys chwi"—gallu cyson o'ch blaen ac o'ch mewn. "I'r holl wirionedd" : nid i bob gwirionedd, fel yn y cyfieithiad arferol, ond i'r holl wirionedd, y gwirionedd a'r fanod o'i flaen, ac felly yn cau allan wirioneddau gwyddonol a bydol, ac yn dynodi y gwirionedd efengylaidd, nid yn ei wahanol ranau, ond yn ei gyfanrwydd a'i gysondeb. Cynysgaeddwyd yr Apostolion ar ol Dydd y Pentecost a gallu goruwchnaturiol i gyhoeddi gwirionedd yr Efengyl, ac i'w ysgrifenu mewn llyfrau, y rhai sydd genym ni yn y Test. Newydd. Ond y mae y gallu yna, yr hwn a elwir ysbrydoliaeth (*inspiration*), wedi darfod, am nad oes waith iddo mwyach i'w gyflawni yn gymaint a bod yr "holl wirionedd" wedi ei hysbysu eisoes. Nid oes wirionedd newydd i'w ddatguddio ; oherwydd paham nid oes ysbrydoliaeth newydd yn angenrheidiol. (2) Ond gellir cymhwyso y geiriau at gredinwyr yn gyffredinol. Cynwysant addewid i ni, yn yr oes hon, o dywysiad yr Ysbryd, nid yn wir i ddarganfod gwirionedd newydd y tu allan i'r Gyfrol Sanctaidd, fel y maentumia Eglwys Rhufain yn y ganrif hon, ond i'w ddeall ar ol iddo gael ei ddatguddio. Y ddau air a ddefnyddia y duwinyddion i osod allan y gwahaniaeth yw *Inspiration* ac *Illumination*. Yn anffodus nid oes yn y Gymraeg air hylaw am y diweddaf—goleuo y meddwl gan yr Ysbryd. Terfynodd ysbrydoliaeth gyda yr oes Apostolaidd, ond pery yr *illumination* trwy gydol oes yr Eglwys. Y mae hyn yn ffaith brofiadol yn hanes pob Cristion meddylgar. "Ysbryd yr Arglwydd a orphwys arno ef, ac a wna ei ddeall yn fywiog yn ofn yr Arglwydd" (Es. xi. 3)—cyfrana gyflymder i'r meddwl mewn pethau ysbrydol. Yn ol ymyl y ddalen, "gwna ei arogliad ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd"—"*he will make his scent quick in the fear of the Lord.* Yn ol y darlleniad hwn y mae crefydd yn beth o deimladrwydd ysbrydol yn llawn cymaint ag o ddeall ysbrydol. Y mae y gwir gredadyn yn medru arogli y gwirionedd fel helgi yn *scentio* y pryf, gall ddyweyd wrth yr arogl a'r blâs a yw athrawiaeth yn iachus a'i peidio. Yn y dorf yn gwrandaw yr Efengyl y mae hên wreigan ; nid ydyw erioed wedi astudio duwinyddiaeth gyfundrefnol nag un dduwinyddiaeth arall ; yr unig lyfrau y gŵyr hi dipyn am danynt yw y Beibl a'r Llyfr Hymnau. Beth yw ei barn hi am y bregeth lafurfawr? Symol ddigon. Paham? A ydyw hi yn deall? Nac ydyw fel ag i fedru rhesymu ; ond y mae yn *scentio*—gŵyr wrth ei harogliad ysbrydol nad yw yr athrawiaeth yn rhyw *sweet* iawn. "Cyflym o *scent* yn ofn yr Arglwydd."

i bob gwirionedd: canys ni lefara o hono ei hun; ond pa
bethau bynnag a glywo, a lefara efe: a'r pethau sydd i
ddyfod, a fynega efe i chwi. Efe a'm gogonedda i: canys 14

---

"Efe a'ch tywys chwi i'r holl wirionedd"—nid ato, ond iddo; ac y mae gwirionedd yn edrych yn wahanol iawn o'r tufewn i'r hyn yr ymddengys o'r tu faes. Nis gellir gwerthfawrogi gwirionedd yn iawn, ond o'r tu fewn. Edrychwch ar ffenestr liwiedig yn un o eglwysi cadeiriol ein gwlad: o'r tu fues edrych yn gyffredin ddigon, heb degwch na hawddgarwch. Ond ewch i mewn i'r eglwys, syllwch ar y ffenestr rhyngoch a'r haul, a gweddnewidir hi yn ogoneddus ryfeddol,—prydferthir hi gan saint ac angelion, ac yn y canol y mae Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio. Y ffenestr o'r tu allan yn hagr ddigon, ond o'r tu fewn yn llawn dillynder a gogoniant. Felly hefyd am athrawiaethau yr Efengyl: wrth edrych arnynt or tu faes nid oes pryd na thegwch ynddynt, yn ysmotiau gwaed i gyd,—i'r Iuddew yn dramgwydd, ac i'r Groegwr yn ffolineb. Ond ewch y tu fewn iddynt, edrychwch arnynt rhyngoch a Duw a barn a byd arall, a gweddnewidir hwy mewn eiliad,—ânt yn allu Duw a doethineb Duw.

**Canys ni lefara o hono ei hun, ond pa bethau bynag y glywo a lefara efe.** Nid o hono ei hun fel ffynhonell. Megis mai y Tad yw ffynhonell y Duwdod, felly Efe yw ffynhonell pob gwirionedd. Y nod fod dyn yn llefaru gwirionedd yw y llefara, nid pethau o hono ei hun ac o'i ddyfais ei hun, ond y pethau a glywo. Dàl hyn yn wir yn mhob canghen o efrydiaeth. (1) Beth sydd yn hynodi gwyddonwyr y ganrif hon ragor yr hen athronwyr naturiol? Hyn: llefaru o honynt eu hunain oedd yr hen wyddonwyr—dyfalu a dychymygu yn eu myfyr-gelloedd yn lle clustymwrandaw wrth ddorau natur. Cododd Arglwydd Bacon, a galwodd ar yr athronwyr i astudio natur, i sylwi ar weithrediadau natur, a chroesholi natur. O'r amser hwnw allan nid yw un gwyddonydd o fri, hyd y gall, yn llefaru dim o hono ei hun, ond yn clustfeinio wrth ddrws natur i glywed ei dirgelion, a'r pethau a glywa a lefara efe. (2) Y mae yr un egwyddor yn dàl yn y byd moesol. Cymhwysa yr Arglwydd Iesu yr egwyddor hon ato ei hun,—dywedai nad oedd yn gwneuthur dim ond fel y gwelai, nac yn llefaru dim ond fel y clywai, gan y Tad (v. 19; vii. 17, 18; xiv. 10). Yma cymhwysa yr un egwyddor at yr Ysbryd, a hyn a gyfansodda y gwahaniaeth rhwng yr Ysbryd Glân a'r Ysbryd Drwg. Am y diweddaf dywedir, "Pan y mae yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd (viii. 44); ond am y cyntaf, "Ni lefara o hono ei hun"; a dyma ein warant ei fod yn llefaru y gwirionedd. **A'r pethau sydd i ddyfod a fynega efe i chwi.** Pa bethau yw y rhai hyn? Nis gallwn ateb ond yn ngoleuni gweddill y Test. Newydd, sef y rhagfynegiadau o ddyfodol yr Eglwys cynwysedig yn 2 Thess., 1 Petr, a Datguddiad Ioan. Gan hyny nid yw yr addewid hon yn gymhwysiadol at saint yr oesoedd hyn, am y rheswm eglur a digonol fod y pethau wedi eu datguddio,—yr hyn a wyddent hwy gwyddom ninau hefyd trwy eu hysgrifeniadau. Felly nid oedd ysbrydoliaeth yr Apostolion yn cyfranu yr un fantais iddynt hwy ac i eglwysi eu hoes nag yw yn meddiant yr holl eglwys yn awr; canys y mae gwerthfawredd ysbrydoliaeth, nid yn y gweithrediad meddyliol, ond yn y gwirioneddau a draethir; ac y mae

15 efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi. Yr holl bethau sydd eiddo y Tad, ydynt eiddof fi: o herwydd hyn y dywedais, mai o'r eiddof fi y cymmer, ac y mynega i

---

y gwirioneddau a drosglwyddwyd i'r byd trwy ysbrydoliaeth yr Apostolion yn feddiant sicr i'r Eglwys trwy holl oesau y ddaear.

**ADN. 14. Efe a'm gogonedda i.** Y ddau ragenw yn bwysleisiol. Dyma y maen-prawf sydd yn penderfynu gwirionedd unrhyw athrawiaeth, A yw hi yn gogoneddu Crist? Llawer o "ysbrydion" a aethant allan yn yr oes Apostolaidd; ond dyma y prawf a oeddynt o Dduw ai o ddiafol, A oeddynt yn gogoneddu Crist? Y mae pob athrawiaeth wir a phob dysgawdwr cywir yn gogoneddu Crist. Dysgir athrawiaethau amryw a dyeithr yn ein hoes ni: a ydynt wirionedd? Cyn ateb, gofyner cwestiwn arall, A ydynt yn gogoneddu Crist yn marn y bobl ac yn mhrofiad y saint? Os nad ydynt, gocheler hwynt. "Beth yw eich barn chwi am y llyfr a elwir 'Ecce Homo'?" gofynai boneddiges i'r Dr. Duncan, athraw yr Hebraeg yn Scotland. "Beth yw barn y llyfr am Grist?" gofynai y doethawr yn ol. "Wn i ddim," ebe hithau, "dyna sydd yn fy nyrysu i." "Wel," atebai yr hen ddysgawdwr, "os bydd i unrhyw lyfr, ar ol darlleniad astud o hono, adael amheuaeth yn eich meddwl beth yw ei farn am Grist, rhaid fod rhywbeth yn *radically wrong* ynddo." Gall fod yn ddysgedig, yn alluog, yn gywrain, ond y mae yn *radically wrong*. Pob llyfr sownd, pob pregeth sownd, pob athroniaeth sownd, y maent yn gogoneddu Crist. "Efe a'm gogonedda I." Ymadrodd gorfeiddgar; ac onibai ein cynefindra â'r paragraph hwn llanwai ni â syndod,—y mae ymwyddiaeth yr Iesu o'i wir a'i briodol Dduwdod yn gorwedd dan y cyfan, a'r ffaith yna yn unig sydd yn ei gyfreithloni. "Myfi a'i hanfonaf Ef." "Am nad ydynt yn credu ynof Fi." "Am fy mod I yn myned at y Tad." "Efe a'm gogonedda I." Beth pe dywedasai Paul neu Petr, Chrysostom neu Awstin, Luther neu Dr. Owen, eiriau fel yna,—troem oddiwrthynt gyda diflasdod annhraethadwy. Ac eto dyma un yn ein natur, mewn llawn hamdden, yn eu llefaru pan ar wynebu angeu a'r arall fyd,—yr Ysbryd Glân, Ysbryd y gwirionedd, Efe a'm gogonedda I! Gwallgof-ddyn neu Dduw-ddyn—pa un? **Canys efe a gymer o'r eiddof fi, ac a'i mynega i chwi.** "O'r eiddo fi" (*ek tou emou*), yn cynwys ei berson, ei waith, a'i ddysgeidiaeth—yr oll ag ydyw i bechadur.

**ADN. 15. Yr holl bethau sydd eiddo y Tad ydynt eiddo fi.** Mor fanwl y mae rhag camarwain neb i dybied ei fod yn gosod ei hunan i fynu mewn cystadleuaeth â'r Tad. Y mae "holl bethau" y Tad yn eiddo Crist,—cydradd a Duw; ac y mae "holl bethau" Crist yn eiddo yr Ysbryd,—cydradd a'r Tad a'r Mab. Derbyn athrawiaeth y Drindod gadarnhâd arbenig yn yr adnodau hyn. Y mae holl bethau y naill yn eiddo y llall; a thra y mae dwyfol drefn yn eu gwaith, y mae dwyfol gydraddoldeb yn eu personoliaeth.

chwi. Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch; a thrachefn 16
ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch: am fy mod yn myned
at y Tad. Am hynny y dywedodd *rhai* o'i ddisgyblion 17
wrth eu gilydd, Beth yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd
wrthym, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch; a thrachefn
ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch: ac, Am fy mod yn
myned at y Tad? Am hynny hwy a ddywedasant, Beth 18
yw hyn y mae efe yn ei ddywedyd, Ychydig ennyd; ni
wyddom ni beth y mae efe yn ei ddywedyd. Yna y gwybu 19
yr Iesu eu bod hwy yn ewyllysio gofyn iddo; ac a ddywed-
odd wrthynt, Ai ymofyn yr ydych â'ch gilydd am hyn,
oblegid i mi ddywedyd, Ychydig ennyd, ac ni'm gwelwch;
a thrachefn ychydig ennyd, a chwi a'm gwelwch? Yn 20

---

TRISTWCH A LLAWENYDD Y DYSGYBLION. ADN. 16—24.

**ADN. 16. Ychydig enyd, ac ni'm gwelwch.** Saith gwaith yr adroddir "ychydig enyd," a mawr yw y benbleth a achlysura i'r dysgyblion. Yma golyga: am ychydig enyd, tridiau a theirnos, dodir fi mewn bedd, ac ni'm gwelwch,—ni'm gwelwch a llygaid y corph fel y golyga y gair *theōrein*. **A thrachefn ychydig enyd a chwi a'm canfyddwch.** Ar ol tridiau yn y bedd adgyfodaf, ac yn mhen deugain niwrnod esgynaf i'r nef, a chwi a'm gwelwch *(ōpsesthe)*—gair sydd yn golygu gweled a llygaid y corph a'r meddwl. Amrywia yr esbonwyr gryn lawer yn eu hegluriadau; ond nis gallwn lai na theimlo fod How yn gywir: "Y mae felly ddau ystyr i'r ddau ddywediad. (1) Cyflawnwyd y geiriau, 'ac ni'm gwelwch,' yn gyntaf yn mhen ychydig oriau, pan roddwyd ei gorph Ef yn y bedd; ac yn ail, pan esgynodd at y Tad yn mhen deugain niwrnod ar ol ei adgyfodiad. (2) Cyflawnwyd y dywediad, 'a chwi a'm gwelwch,' yn gyntaf yn llythyrenol, pan welwyd Ef ar ol ei adgyfodiad mewn llawer dull a modd gan ei apostolion a'i ddysgyblion; ac yn yr ail le, yn ysbrydol ar ol ei esgyniad, pan ymwelodd ac yr ymwel Efe yn ysbrydol â'i bobl, ac yr amlyga Efe ei hun i lygad ffydd."

**ADN. 17, 18.** Yn yr adnodau hyn cawn gipdrem ar ddyryswch meddyliol y dysgyblion. Rhyfeddwn ni at eu hwyrfrydigrwydd i ddeall; ond anhawdd i ni sylweddoli eu sefyllfa,—methent yn lân a siglo ymaith yr hen syniadau daearol Iuddewig, yn y rhai y dygwyd hwy i fynu. Cyfaddefant eu hanallu i ddilyn teithi meddyliol yr Athraw.

**ADN. 19. Gwybu yr Iesu eu bod hwy yn ewyllysio gofyn iddo.** "Gwybu" *(ginōskein)*—y gair sydd yn golygu gwybod trwy sylwadaeth. Gan hyny, priodol y dybiaeth i'r Iesu wybod sefyllfa ddyryslyd eu meddyliau trwy weled eu gwedd a chlywed eu sibrwd yn nghongl yr ystafell,—gwybu mewn ffordd ddynol. **Ai ymofyn yr ydych a'ch gilydd am hyn, oblegid i mi ddywedyd, &c.** Adrodda air am air eu gofyniadau hwy i'w gilydd.

**ADN. 20. Chwi a wylwch ac a alerwch.** Y mae y gair cyntaf *(klausete)* yn golygu datganiad allanol o alar (xi. 33); ond y mae yr olaf

wir, yn wir, meddaf i chwi, Chwi a wylwch ac a alerwch,
a'r byd a lawenycha: eithr chwi a fyddwch dristion; ond
21 eich tristwch a droir yn llawenydd. Gwraig wrth esgor
sydd mewn tristwch, am ddyfod ei hawr: eithr wedi geni
y plentyn, nid yw hi yn cofio ei gofid mwyach, gan lawen-
22 ydd geni dyn i'r byd. A chwithau am hynny ydych yr
awrhon mewn tristwch: eithr mi a ymwelaf â chwi
drachefn, a'ch calon a lawenycha, a'ch llawenydd ni ddwg

---

*(thrēnēsete)* yn air *technical*, ac yn dynodi galar ar ol y marw (Luc vii. 32; xxiii. 27). Dyna fyddai eu galar hwy cyn pen pedair awr ar hugain (Marc xvi. 10). **A'r byd a lawenycha.** Y byd Iuddewig annuwiol. Yr oedd penaethiaid y genedl yn fawr eu llawenydd, am eu bod o'r diwedd wedi cael goruchafiaeth ar Iesu o Nazareth. **Eithr chwi a fyddwch dristion.** Tristion yn nghanol llawenydd y byd, a'r un achos i'w tristwch hwy ag i grechwen y lleill, sef marwolaeth yr Iesu. **Ond eich tristwch a droir yn llawenydd.** Nid tristwch yn cael ei ddilyn gan lawenydd, ond tristwch yn cael ei droi yn llawenydd,—yr un achos ag a barai ddigalondid iddynt y tridiau y bu yn y bedd yn peri llawenydd iddynt ar ol ei adgyfodiad o'r bedd.

**ADN. 21.** Yn yr adnod hon rhydd enghraipht o dristwch yn troi yn llawenydd. **Gwraig wrth esgor sydd mewn tristwch am ddyfod ei hawr.** Awr o berygl ydyw (Gen. iii. 16). **Eithr wedi geni y plentyn, nid yw hi yn cofio ei gofid mwyach, gan lawenydd geni dyn i'r byd.** Nid dyn, y gwrywaidd mewn cyferbyniad i'r menywaidd a olygir, ond y dyn *generic*, y bod anfarwol a elwir dyn yn annibynol ar ei ryw. (1) Cyffelyb fyddai gofid disyfyd y dysgyblion, oherwydd croeshoelio eu Hathraw. Ond byr fyddai ei barhad,—troai ei galar yn llawenydd gan y newydd am ei adgyfodiad. (2) Mŷn rhai, fodd bynag, weled ystyr gyfriniol yn y geiriau. Credant yr edrych yr Iesu yma ar awr ei farwolaeth fel awr gwewyr yr Eglwys, ac ar awr ei adgyfodiad fel awr geni "dyn" i'r byd, yr ail ddyn, yr Arglwydd o'r nef. Dynodir ei adgyfodiad yn y Beibl fel dydd ei enedigaeth: "Fy Mab ydwyt ti, myfi heddyw a'th genhedlais di" (Heb. i. 5; Act. xiii. 33; Ps. ii. 7),—nid yr heddyw tragwyddol na'r cenhedliad tragwyddol, ond heddyw yr adgyfodiad a'r cenhedliad i'r gogoniant Cyfryngol.

**ADN. 22. A chwithau, gan hyny, ydych yr awrhon mewn tristwch.** Megis gwraig mewn gwewyr. **Eithr mi a ymwelaf a chwi drachefn, &c.** (1) Genir "dyn" i'r byd yn yr adgyfodiad, a phan welwch "y Dyn," fel y fam ei phlentyn, chwi anghofiwch eich gofid. "Yna y dysgyblion a lawenychasant pan welsant yr Arglwydd" (xx. 20). (2) Ei ymweliad yn yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost ac ar ol hyny. Gymaint o'r lleddf oedd yn llenyddiaeth yr hen fyd! Cymaint o'r llon sydd yn Epistolau y Test. Newydd,—nid oes ynddynt nodyn lleddf bron o'r dechreu i'r diwedd. Pwy a feddyliai mai o garcharau yr ysgrifenwyd hwynt?

neb oddi arnoch. A'r dydd hwnnw ni ofynwch ddim i mi. 23
Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Pa bethau bynnag a ofynoch
i'r Tad yn fy enw, efe a'u rhydd i chwi. Hyd yn hyn ni 24
ofynasoch ddim yn fy enw i: gofynwch, a chwi a gewch;
fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn. Y pethau hyn a 25

---

**ADN. 23. A'r dydd hwnw ni ofynwch ofyniadau i mi.** *Erōtān* yw y gair, gofyn cwestiynau; nid *aitein*, gofyn deisyfiadau. Yr oeddynt yn gofyn ambell i gwestiwn yn awr, er nad digon i foddloni yr Iesu; ond y "dydd hwnw," sef y dydd ar ol y Pentecost, ni ofynent iddo ddim cwestiynau, a hyny am ddau reswm. Yn gyntaf, byddai ei absenoldeb corphorol yn gwneuthur gofyn cwestiynau iddo yn anhylaw. Yn ail, byddai yr Ysbryd yn llanw eu meddyliau â'r fath oleuni ag a wnai fân gwestiynau yn afreidiol. Hyd yn nod yn y cyfwng rhwng yr Adgyfodiad a'r Pentecost, gofynent yr hen gwestiwn sâl, daearol, "Arglwydd, ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y frenhiniaeth i Israel?" (Act. i. 6). Ar ol tywalltiad yr Ysbryd arnynt ar y Pentecost, ni ail ofynwyd y cwestiwn; cawsant oleuni newydd ar natur ei deyrnas a'i llwyddiant yn y byd. Addawa rywbeth gwell na chwestiynau i gymeryd eu lle. **Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Pa bethau bynag a ofynoch i'r Tad, efe a'u rhydd i chwi yn fy enw i.** Dyna y darlleniad yn y llawysgrifau goreu, ac felly a fabwysiedir yn y Cyf. Diw. Yn xiv. 13 y dysgyblion sydd yn gofyn yn enw yr Iesu; yma Duw sydd yn ateb yn enw yr Iesu: felly trwy yr un sianel yr esgyn deisyfiadau o'r ddaear i'r nefoedd ag y disgyn bendithion o'r nefoedd i'r ddaear—"ei Enw Ef," cyfryngdod yr Arglwydd Iesu. Ond sylwer fod dau air Goeg yn yr adnod hon am "ofyn," tra nad oes ond un yn y Gymraeg. Yn y frawddeg gyntaf *erōtān*, gofyn cwestiynau; yn y frawddeg hon *aitein*, gweddio, yr isradd yn gofyn gan yr uwchradd (gwel ar xiv. 13). Gan hyny, gwell fuasai cyfieithu yma, "Pa bethau bynag a ddeisyfoch ar y Tad," er mwyn cadw i fynu y gwahaniaeth rhwng y cwestiyno a'r gweddio. "Y dydd hwnw," dydd yr oruchwyliaeth newydd, ni fydd gofyn cwestiynau i'r Iesu, bydd yr holl wirionedd wedi ei gyflawn ddatguddio; daw peth gwell yn ei le, gweddiau ar ran y deyrnas, ac atebion cyfoethog i'r gweddiau hyny.

**ADN. 24. Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim yn fy enw i.** Yr oeddynt yn gweddio, ond hyd yn hyn yn ffordd yr Hen Oruchwyliaeth; yn awr rhaid iddynt ddechreu gweddio yn ffordd yr Oruchwyliaeth Newydd. Gan fod y ffordd newydd i neshau at Dduw yn rhagorach, bydd yr atebion yn gyfoethocach. "Ffordd newydd a bywiol"—"gweddio yn ei Enw Ef." **Gofynwch, a chwi a gewch.** Gofynwch (*aiteite—present imperative*),—parhewch i ofyn, *keep on asking;* nid unwaith na dwywaith,—*keep on*, a chwi a gewch. **Fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn.** Beth yw amodau cyflawnder y llawenydd? (1) Gweddio—y credadyn ar ei liniau; (2) "yn yr Enw"—Crist ar ei orsedd: cydgyfarfyddiad y ddau a effeithia berffeithrwydd llawenydd.

leferais wrthych mewn damhegion: eithr y mae yr awr
yn dyfod, pan na lefarwyf wrthych mewn damhegion
26 mwyach, eithr y mynegaf i chwi yn eglur am y Tad. Y

---

CRYNODEB A DIWEDDGLO. ADN. 25—33

**ADN. 25. Y pethau hyn a leferais wrthych mewn damhegion.** (1) Y gair arferol am ddamheg ydyw *parabole*, o'r hwn y deillia y gair Saesoneg *parable*. Ond y term a ddefnyddir yma yw *paroimia* (cyd. x. 6), yr hwn a gyfieithir yn y ddau gyfieithiad Saesonaeg yn ddihareb (*proverb*). Ei ystyr lythyrenol yw "ymadrodd tywyll," ymadrodd sydd yn cuddio yn gystal a datguddio. Yn yr ymddiddan y nos hon sonir am y wir winwydden a gwraig mewn gwewyr: datguddiant lawer i ni; ond ar ol pob ymdrech teimlwn fod llawer eto ar ol, gwirioneddau na fedrwn rywsut gael gafael tỳn arnynt. Ac os dyna ein teimlad ni, ar ol blynyddau o fyfyrdod arnynt, pa faint mwy yr oedd yn deimlad i'r Un-ar-ddeg y noson dywell hon? Gwelent wirioneddau yn symud o'u blaen, "dynion megis prenau yn rhodio," ond y tu cefn i'r llen,—methent gael dirnadaeth eglur, bendant, fel ag i fedru eu deffinio. A methwn ninau: ar ol darllen y prif esboniadau nid ydym yn teimlo ein bod fawr callach,—hawdd canfod mai curo yr awyr y maent, ymaflyd mewn niwl; ac yn lle bod yr esboniadau yn egluro yr adnodau, rhaid wrth yr adnodau i egluro yr esboniadau. Er hyny, na feddylied neb nad oes yma wirioneddau; ond gwirioneddau cyfriniol ydynt, a phe y gallesid eu hegluro a'u deffinio, peidient a bod yn wirioneddau cyfriniol a thrawsnewidid hwy ar unwaith yn wirioneddau deallol. Er nas gellir gafael mewn ysbryd a gwneyd *photograph* o hono, eto y mae yn bod mor wirioneddol, ie, yn fwy gwirioneddol na'r corph. (2) Ond paham y llefarai yr Arglwydd Iesu wrthynt mewn damhegion neu dywyll-ymadroddion? Ceir yr ateb yn Matt. xiii. 10—15. Yr oedd gwisgo y gwirionedd mewn damheg ar unwaith yn rhanu y gynulleidfa. Y rhai oedd wedi ymsuddo mewn daearoldeb, fel y Phariseaid a'r Sadduceaid, heb ddim cydymdeimlad â'r ysbrydol, ni welent ddim yn y ddamheg ond y gydmariaeth, ac felly elai eu dallineb yn fwy. Ond y rhai ag oedd yn meddu ar ddyheadau ysbrydol, teimlent ar unwaith bresenoldeb yr ysbrydol y tu cefn i'r ddamheg, atdynid hwy ato fel yr atdynir y nodwydd at y *magnet* y tu cefn i'r papyr, cyffroid eu chwilfrydedd, ac felly troai y ddamheg y moddion mwyaf effeithiol i'w haddysgu,—sefydlid cyfatebiaeth deimladol rhwng y gwirionedd gwrthrychol a'r canfyddiad ysbrydol. Angenrhaid oedd defnyddio yr arddull damhegol i raddau yn hyfforddiant yr Un-ar-ddeg hefyd. Yr oeddynt hwy mewn rhyw gymaint o gydymdeimlad â'r ysbrydol, yr oedd mwy nag un tant yn eu natur yn crynu mewn adsain i lef o'r byd ysbrydol: yr oedd eu llygaid yn gweled—ychydig; am hyny, rhaid oedd lleddfu y goleuni, ei anfon trwy wydr lliwiedig y ddamheg, rhag i'r disglaerdeb eu dallu yn hollol. Nid mympwy o du yr Iesu oedd llefaru mewn "ymadroddion tywyll"—rhaid oedd lliwio y gwydr i gyfaddasu y goleuni at wendid y llygaid.

**Eithr y mae yr awr yn dyfod, pan na lefarwyf wrthych mewn damhegion mwyach, eithr y mynegaf i chwi yn eglur am y Tad.** Y mae i'r gair "eglur" (*parrhesia*) ystyr wrthrychol—heb *reserve*, pan y

dangosir o flaen y meddwl y gwirionedd noeth, heb un gorchudd ar ei wyneb (vii. 4; x. 24; xi. 14; xviii. 20). Y mae iddo hefyd ystyr dufewnol (*subjective*), llen anwybodaeth a defodau wedi ei symud oddiar lygaid y meddwl (2 Cor. iii. 16). Er mwyn i'r datguddiad fod yn gyflawn rhaid symud y llen neu y gorchudd o'r ddwy ochr: llen damheg ag oedd yn nodweddu dysgeidiaeth yr Iesu ar un ochr, a llen anwybodaeth a daearoldeb anghrediniol ar yr ochr arall, ac yn niflaniad y ddwy len y gwêl dyn yn eglur. "Y mae yr awr yn dyfod, pan na lefarwyf wrthych mewn damhegion mwyach, eithr y mynegaf i chwi yn eglur am y Tad" —y gwirionedd am Dduw heb un ddamheg neu gydmariaeth. Ond pa "awr" a feddylir pan y rhoddid y datguddiad dilèn hwn? (1) Cred rhai mai y cyfnod rhwng yr Adgyfodiad a'r Esgyniad ydyw, yn ol Luc xxiv. 44, 45 ac Act. i. 3. Diau fod cynydd amlwg yn ei ddysgeidiaeth Ef a'u dealltwriaeth hwythau yn y saith wythnos yna; ac eto cawn hwy yn rhoddi mynegiad i'w hen syniadau daearol a chenedlaethol am natur ei deyrnas ac amcanion yr Ymgnawdoliad a'r Iawn (Act. i. 6, 7.). (2) O ganlyniad gorfodir ni i gredu mai y cyfnod ar ol y Pentecost a feddylir. Pryd hyny bydd ei ddatguddiadau heb un gorchudd arnynt,—dim llen ar y gwirionedd, yr athrawiaeth yn cael ei hegluro heb ei gwisgo mewn damhegion fel yn yr Efengylau; nid oes un ddamheg yn yr Epistolau. Ond paham y rhoddai ei ddatguddiadau ar ol y Pentecost heb ddamheg? Oblegid y byddai Ysbryd y gwirionedd yn preswylio ynddynt, a thrwy hyny rhwygid llen Iuddewiaeth oddiar eu meddyliau. Rhaid oedd symud y ddwy len yn gyd-amserol; ni fuasai symud y naill heb y llall yn ateb un dyben daionus. Rhaid, gan hyny, dehongl gwirioneddau yr Efengylau yn ngoleuni gwirioneddau yr Epistolau. Yr Epistolau yw yr esboniad ysbrydoledig ac anffaeledig ar yr Efengylau; athrawiaethau y rhai cyntaf sydd yn egluro ffeithiau y rhai olaf. Mor ddireswm ynte yw y cri, yn yr ystyr a rydd rhai ysgrifenwyr diweddar iddo, "Yn ol at Grist"; gosod ein hunain yw hyny yn safle y dysgyblion cyn y Pentecost. Ein cri ni a fyddo, Yn ol at yr Iesu trwy yr Apostolion, yn ol at yr Efengylau trwy yr Epistolau; canys felly gosodwn ein hunain yn safle yr Apostolion ar ol tywalltiad yr Ysbryd arnynt. Ond gwrthddadleuir nad ydym ni wedi cyfranogi o ddoniau yr Ysbryd i'r un graddau a hwynthwy. Gwir; ond yn yr Epistolau cawn ganlyniadau eu cyfranogiad hwy o hono, a'r *results* sydd o werth, nid y *process*; trwy y *results*, corphoredig yn yr Epistolau, yr ydym ni yn yr un safle yn ysbrydol a deallol a hwynthwy—nid oedd ganddynt hwy yr un gwirionedd nag yw yn feddiant presenol genym ni. Ac wedi i'r gwirionedd gael ei roddi yn ei gyflawnder a'i eglurder, nid oedd wedi'n angen ysbrydoliaeth; buasai ysbrydoliaeth yn awr yn ddiwerth am y rheswm syml ei bod yn afreidiol, —nid oes gwaith yn aros i ysbrydoliaeth ar ol y ganrif gyntaf. Y mae yr anghen am *illumination* yn parhau, y datguddiad tufewnol, er iawn amgyffrediad o'r datguddiad allanol,—y mae y goleuni tufewnol yn feddiant parhaus pob credadyn. Gymaint gwell yr ydym yn deall y Test. Newydd heddyw na deugain mlynedd yn ol. Paham? Nid am fod y Test. Newydd wedi cael ychwanegiad ato na bod un adnod wedi ei hysgrifenu yn eglurach; ond am fod Ysbryd y gwirionedd wedi agor y cynheddfau i ddeall yn well—nid y goleuni allanol sydd yn fwy, ond y golygon tufewnol sydd yn gryfach (Phil. i. 9, 10).

dydd hwnnw y gofynwch yn fy enw: ac nid wyf yn
27 dywedyd i chwi, y gweddïaf fi ar y Tad trosoch: Canys y

---

**ADN. 26. Y dydd hwnw y gofynwch yn fy enw i.** Gofyn *(aitein)* mewn ffordd o weddio, yr isradd yn deisyf ar yr uwchradd. Yr oeddynt yn gweddio o'r blaen, yn ddigon anghelfydd, y mae yn debyg (Luc xi. 1),—gweddient yn ffordd yr Hen Oruchwyliaeth. Gweddient yn enw Duw, nid yn enw Crist,—ni chai ei gyfryngdod Ef fawr o le yn eu gweddiau; ymdaflent ar drugaredd, nid ar Iawn. O hyn allan rhaid iddynt weddio yn ffordd yr Oruchwyliaeth Newydd,—ymdaflu nid ar drugaredd noeth, ond ar drugaredd a chyfiawnder wedi ymgusanu mewn Iawn. Cyn i Grist orphen ei waith, trugaredd ddigymysg oedd ateb gweddi; ond wedi iddo Ef sefydlu cymod trwy Iawn, trugaredd eto ydyw ateb gweddi,—trugaredd i bechadur, ond cyfiawnder i Grist. Wedi iddo Ef aberthu ei hun, anghyfiawnder âg Ef fuasai gwrthod y gweddiau a offrymir yn ei Enw. Ac yma y gwelir gwerth anmhrisiadwy y Feichniaeth,—fod yr hyn sydd drugaredd i ni yn gyfiawnder i Grist. Dyma rym yr eiriolaeth: y saint yn gweddio ar dir gras a thrugaredd, y Mab yntau yn sylfaenu yr un weddi ar dir cyfiawnder a chyfamod. Y mae cyfiawnder â'r Mab yn galw am i bob gweddi a offrymir yn ei Enw i gael ei hateb. **Ac nid wyf yn dywedyd i chwi y gweddiaf fi ar y Tad drosoch.** Pa fodd y mae deall yr ymadrodd dyrys hwn? Sylwer mai y gair yma am "weddio" *(erōtān)* yw y gair sydd yn golygu "gofyn" gan gydradd i'w gydradd, y gair a ddefnyddir bob amser am weddiau Crist, ond dim un amser am weddiau y Cristion. Beth, ynte, yw y meddwl? (1) Barna Luthardt, Meyer, a Godet mai yr ystyr yw na fyddai eiriolaeth o'i du Ef yn angenrheidiol, gan fod cariad y Tad atynt, fel ei dangosir yn yr adnod nesaf, yn warant ddigonol yr atebai eu gweddiau. "Dim ond pan y pechant, ac felly pan y mae eu cymundeb â Duw yn cael ei aflonyddu neu ei beryglu y mae Efe yn dyfod yn mlaen i eiriol ar eu rhan," meddai Luthardt. "Tra y parhânt mewn undeb âg Ef, y mae eiriolaeth yr Iesu (Rhuf. viii. 34; Heb. vii. 25) yn ddianghenraid. Ond càn gynted ag y pechant, y mae arnyat anghen yr eiriolaeth," meddai Godet. Rywsut teimlwn nad yw yr eglurhâd hwn yn gorwedd yn esmwyth, canys cymer yn ganiatäol nad yw y Ceidwad yn eiriol gyda chysondeb didòr dros ei bobl; tardd o syniad arwynebol ac anmherffaith am natur ac anghenrheidrwydd yr eiriolaeth. (2) Creda Grotius, Hengstenberg, ac Alford mai ar "ddywedyd" y dylid gosod y pwyslais: "Nid wyf yn *dywedyd* i chwi yr eiriolaf fi ar eich rhan; ond wrth gwrs bydd i mi wneyd,—y mae yn wirionedd mor eglur fel nad oes eisieu ei osod mewn geiriau." Dilys genym fod gwirionedd yn yr esboniad hwn, canys dysgir ni yn Heb. vii. 25 ei fod "yn byw bob amser i eiriol"; ac nis gall un eglurhad fod yn gymeradwy ag sydd yn taraw yn erbyn y syniad am barhad a'r anghenrheidrwydd am yr eiriolaeth. (3) Ond o braidd, ni debygwn, y mae y naill na'r llall o'r ddau olygiad uchod yn dwyn i amlygrwydd wir feddwl yr adnod. Yn adn. 23 dywed, "Pa bethau bynag a ofynoch i'r Tad, Efe a'u rhydd i chwi yn fy Enw i,"—h.y. trwy fy nghyfryngwriaeth i. Yn yr adnod hon gesyd allan ochr arall y gwirionedd; "Y dydd hwnw y gofynwch yn fy Enw i,"—h.y. trwy fy nghyfryngwriaeth i. Y Tad yn ateb trwy y gyfryngwriaeth yn

Tad ei hun sydd yn eich caru chwi, am i chwi fy ngharu i,
a chredu fy nyfod i allan oddi wrth Dduw. Mi a ddaethum 28

---

adn. 23, y saint yn gweddio trwy y gyfryngwriaeth yn yr adnod hon: dyna y gyfryngwriaeth mewn grym yn y nefoedd a'r ddaear. Ond felly, gan fod y weddi yn myned at y Tad yn ei enw Ef, a'r ateb yn dyfod oddiwrth y Tad yn ei enw Ef, a oedd annhueddrwydd yn y Tad i ateb? A oedd eisieu ei berswadio i ganiatau deisyfiadau y credinwyr? Rhaid cyfaddef fod yma berygl i daflu cwmwl ar garictor y Tad; oherwydd paham ychwanega, "Nid wyf yn dywedyd y gofynaf fi gan y Tad ar eich rhan, fel pe buasai eisieu lliniaru ei wrthnysigrwydd; na, y mae y Tad ei hun yn eich caru chwi, y mae mor barod i'ch helpio a finau." Cysoni y mae yma yr angenrheidrwydd i weddio yn ei Enw Ef â graslonrwydd cymeriad y Tad,—rhaid gweddio yn yr Enw, ac eto y mae y Tad mor raslawn a'r Mab. Os felly, paham nad yw gweddiau y saint yn ddigon i sicrhau atebiad heb eiriolaeth y Mab? A oes anghenrheidrwydd am yr eiriolaeth? Yn ol Luthardt, Godet, ac eraill, gellid tybied nad yw yn *anghenrheidiol*, er ei bod yn *fanteisiol*, i iachawdwriaeth y saint. Ond barnwn ni fod y Test. Newydd yn dysgu fod cymaint o anghenrheidrwydd am yr Eiriolaeth ag am yr Iawn; ond yma gofala yr Iesu ddysgu nad yw yr anghenrheidrwydd hwnw yn codi o ddiffyg cariad neu ras yn y Tad. Rhaid cadw graslonrwydd cymeriad Duw yn ddilychwin. O ba beth y tardd yr angenrheidrwydd am yr Eiriolaeth? A yw yn angenrheidiol? Gadawn y cwestiwn i ystyriaeth y darllenwyr.

**ADN. 27. Canys y Tad ei hun sydd yn eich caru chwi, am i chwi fy ngharu i.** Y gair yma am "garu" yn y ddau le yw *philein*,—y cariad sydd yn cael ei atdynu gan ryw hawddgarwch yn y gwrthrych. Pan y dywedir i Dduw "garu" y byd, cariad o ewyllys da (*agapē*) ydyw, canys nid oedd dim yn y byd i atdynu y cariad: dyna gariad yn ei ffurf uchaf, cariad hunan-gynhyrfiol, cariad sydd a'i reswm ynddo ei hun. Ond yma cariad o ymhyfrydiad (*philia*),—gwêl Duw ryw hawddgarwch yn mhob dyn sydd yn credu yn yr Arglwydd Iesu nes ei wneyd yn wrthrych ei ymhyfrydiad. Anwybodus, daearol, a thlodion ddigon oedd yr Un-ar-ddeg yn awr; ond gwelai Duw ynddynt ryw brydferthwch rhyfedd, ymhyfrydai yn ateb eu gweddïau. "Ar hwn yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystuddiedig o galon, ac sydd yn crynu wrth fy ngair" (Es. lxvi. 2). Gwêl Duw fwy o brydferthwch yn y truan crediniol nag yn holl heuliau y ffurfafen, fwy o harddwch yn y cystuddiedig o ysbryd yn crynu uwchben y gair nag yn y ser a belydrant megis llygaid cerubiaid yn wybren y nos. Ymhyfryda Duw yn y dysgyblion, nid oblegid eu hathrylith na'u dysgeidiaeth na'u cyfoeth, ond am eu bod hwy yn ymhyfrydu (caru—*philein*) yn y Mab. **A chredu fy nyfod i allan oddiwrth y Tad.** Caru a chredu sydd yma, credu a charu sydd mewn Ysgrythyrau eraill: gwaua y dwyfol rasusau trwy eu gilydd fel y dwyfol Bersonau, ofer tynu llinell ffin rhyngddynt. "Credu fy nyfod i allan oddiwrth Dduw" yw y cyfieithiad arferol, ac a amddiffynir gan Tischendorf a Godet; ond "credu fy nyfod i allan oddiwrth y Tad" yw y Cyf. Diw. "Dyfod allan oddiwrth (*para*) y Tad," o'i ymyl, o'i ochr, oddiger ei fron: credent yn ei ddwyfol gommissiwn, nid yn unig fel prophwyd, ond fel un mewn perthynas arbenigol a Duw. Gwnai hyn hwy yn wrthrychau

allan oddiwrth y Tad, ac a ddaethum i'r byd: trachefn yr
wyf yn gadael y byd, ac yn myned at y Tad. Ei ddisgybl- 29
ion a ddywedasant wrtho, Wele, yr wyt ti yn awr yn
dywedyd yn eglur, ac nid wyt yn dywedyd un ddammeg.
Yn awr y gwyddom y gwyddost bob peth, ac nid rhaid i ti 30

---

cariad ymhyfrydol y Tad,—gwelai Duw reswm ynddynt hwy, ac nid yn unig ynddo ei hun, dros eu caru.

**ADN. 28. Mi a ddaethum allan o'r Tad.** Dyna ydych chwi yn gredu, fy nyfod allan *oddiwrth* (*para*) y Tad: gwir, ond yr wyf fi yn fwy na'ch crediniaeth chwi,—"mi a ddaethum allan *o'r* (*ek*) Tad." Nid oddiwrtho fel y credwch chwi, ond o hono. Y mae yr Iesu bob amser yn fwy na ffydd. Dyfod oddiwrth y Tad = dwyfol Anfoniad; dyfod o'r Tad = dwyfol Genhedliad. (Gwel ar viii. 42). **Ac a ddaethum i'r byd.** Cyfeiriad at ei Ymgnawdoliad. Felly cawn yma yn dilyn eu gilydd, yn gyntaf ei Genhedliad yn nhragwyddoldeb, ac yna ei Ymgnawdoliad mewn amser. Dyna orphenol ei hanes. **Trachefn yr wyf yn gadael y byd, ac yn myned at y Tad.** Dyma ddyfodol ei hanes. Gadael y byd trwy angeu gwaradwyddus y Groes, a myned at y Tad yn ei Adgyfodiad a'i Esgyniad. Felly sonia yn y benod hon am ei dair enedigaeth—ei Enedigaeth o'r Hanfod neu ei dragwyddol Genhedliad, ei Enedigaeth o'r dyndod neu ei Ymgnawdoliad, a'i Enedigaeth o'r bedd neu ei Adgyfodiad: pa un yw y rhyfeddaf anhawdd dyweyd. Sonia llawer yn y dyddiau hyn am yr Ymwybyddiaeth Gristaidd (*Christological consciousness*): beth yn fwy arddunol na'r ymwybyddiaeth gref hon o'i ddwyfoldeb sydd yn mynu mynegiant ar wefusau glân yr Iesu? O fewn ychydig oriau i'w farw, hònai yn y modd mwyaf urddasol ddwyfoldeb ei ddechreuad a dwyfoldeb ei dérfyniad. Onid yw Ioan yn profi ei bwngc "mai Iesu yw y Crist, Mab Duw," nid trwy resymeg ond trwy hanes? Geilw gweddeidd-dra cyffredin arnom i blygu yn isel wrth ei draed, a cyffesu gyda Thomas, "Fy Arglwydd a'm Duw."

**ADN. 29. Ei ddysgyblion a ddywedasant wrtho, Wele, yr wyt ti yn awr yn dywedyd yn eglur, ac nid wyt yn dywedyd un ddamheg.** Yn adn. 25, awgryma Efe iddynt nad oeddynt yn dirnad fawr oherwydd y llefarai wrthynt mewn damhegion, er yn ddiau y dirnadent lai pe y llefarai heb ddamhegion. Yma cymerant hwy arnynt eu bod yn deall yn iawn yn awr, am ei fod wedi rhoddi heibio y "ddamheg," "yr ymadrodd tywyll." A oeddynt yn deall yn awr? (1) Atebir gan luaws nad oeddynt yn deall yn awr ddim gwell nag o'r blaen. "Nid oeddynt yn deall digon," meddai Awstin, "i ddeall nad oeddynt yn deall." Ac wrth ddarllen y ddwy adnod (26 a 27) sydd yn dilyn ei gyfeiriad at ei ddull damhegol o lefaru, nid ydym ni yn gweled ond ychydig i'r dyfnder; a oeddynt hwy, tybed, yn gweled yn ddyfnach? (2) Eto ymddengys fel pe bai y ddwy adnod, 26 a 27, wedi saethu rhyw belydryn disglaer i'w meddyliau—cawsant gipolwg gliriach ar ei berson nag a gawsant erioed o'r blaen, a syniad mwy pendant am ystyr yr ymadroddion "dyfod oddiwrth y Tad" a "myned at y Tad." Druain o honynt, mor ddisyml a phlant!

ymofyn o neb â thi: wrth hyn yr ydym yn credu ddyfod o
honot allan oddi wrth Dduw. Yr Iesu a'u hattebodd 31
hwynt, A ydych chwi yn awr yn credu? Wele, y mae yr 32
awr yn dyfod, ac yr awrhon hi a ddaeth, y gwasgerir chwi
bob un at yr eiddo, ac y gadêwch fi yn unig: ac nid wyf

---

**ADN. 30. Yn awr y gwyddom y gwyddost bobpeth, ac nid rhaid i neb ofyn cwestiynau i ti.** Yn adn. 23, dywedodd yr Iesu, "Yn y dydd hwnw ni ofynwch ddim cwestiynau i mi." Y mae'r dydd hwnw wedi gwawrio, etyb y dysgyblion yn yr adnod hon,—nid ydym ni wedi gofyn dim cwestiynau i ti yn awr, er eu bod ar ein calon i'w gofyn; ond dyma thi wedi eu hateb heb i neb o honom eu gofyn; yr wyt ti yn un rhyfedd iawn! Oh, y rhai anwyl! yr oeddynt yn treio rhoddi y wedd oreu ar bethau, cymeryd arnynt eu bod yn deall, ymdrechu eu goreu i ymdderchafu i lefel yr Athraw. "Yn awr y gwyddom y gwyddost bob peth." Gwyddent hyn o'r blaen a chawsant lawer o brofion o'i wybodaeth drŷlwyr a diwall; ond cymerant arnynt eu bod wedi gwneuthur darganfyddiad newydd yn awr. Ond yr hen ddarganfyddiad ydoedd yn cael ei ddwyn yn fyw unwaith eto i'w hymwybyddiaeth. "Gwyddost bob peth." Cyfynga yr esbonwyr y "pob peth" i bob peth iachawdwriaeth. Ond amheus genym a oedd y dysgyblion yn eu cyffro yn cyfyngu dim,—argyhoeddiad sydd yma o'i hollwybodaeth. Megis y wraig o Samaria: "Efe a ddywedodd i mi yr hyn oll a wnaethum"; er nad oedd wedi mynegu ond digwyddiad neu ddau, eto digon i gario yr argyhoeddiad i'w meddwl hi y gwyddai yr oll. Felly y dysgyblion: yr oedd ei ddarlleniad Ef o'u meddyliau hwy yn ddigon i'w hargyhoeddi y gwyddai "bob peth." Nid rhaid iddo ddywedyd pob peth i gynyrchu yr argyhoeddiad y gwyddai bob peth. **Wrth hyn yr ydym yn credu ddyfod o honot allan oddiwrth Dduw.** Y mae cryn gymysgedd, fel y gellid disgwyl, yn eu Cyffes Ffydd hon: y mae yr ansoddair "*apo*" yn awgrymu yr edrychent arno fel cenad *oddiwrth* Dduw, ar yr un lefel a'r prophwydi; ond y mae y ferf *exēlthes* yn dangos yr edrychent arno fel person *o* Dduw; *apo* yn dysgu dwyfoldeb ei genadwri, *exēlthes* yn dysgu dwyfoldeb ei berson. Dyma eu cyffes ar ddiwedd tair blynedd o hyfforddiant; a thros wirionedd eu cyffes, cawn eu gweled yn llyfr yr Actau yn barod i dywallt eu gwaed.

**ADN. 31. Yr Iesu a'u hatebodd hwy, A ydych chwi yn awr yn credu?** Gellir darllen yr adnod hon mewn tair ffordd, yn ofynol, yn fynegiadol, neu yn orchymynol. Y naill ffordd neu y llall erys y meddwl yn go debyg.

**ADN. 32. Wele, y mae yr awr yn dyfod, ac yr awrhon hi a ddaeth.** Yr "awrhon" *(arti)* yn bwysleisiol. Y noson hono cyn glasiad y dydd. **Y gwasgerir chwi bob un at yr eiddo.** Cyfeiriad at Zech. xiii. 7. "Yr eiddo" *(ta idia)*, yn golygu yma pob un i'w lety, pob un i'w loches. **Ac y gadewch fi yn unig.** Pan ddaeth tyrfa y gwaewffyn, yn mhen tuag awr, i'w ddàl yn yr Ardd, ffodd yr Un-ar-ddeg mewn dychryn, pob un i'w *lodgings*, a gadawsant yr Iesu yn llaw y milwyr. Yn adn. 29, 30, gwnant hwy gyffes go wrol; nid amheua yr Iesu ddiffuantrwydd eu ffydd, ond amheua ei chryfder—rhagwela y tŷr i lawr dan *stress* y storom

33 yn unig, oblegid y mae y Tad gyd â myfi. Y pethau hyn
a ddywedais wrthych fel y caffech dangnefedd ynof. Yn
y byd gorthrymder a gewch: eithr cymerwch gysur, myfi
a orchfygais y byd.

---

oedd yn awr yn codi. **Ac nid wyf yn unig, oblegid y mae y Tad gyda myfi.** "Gyda *(meta)* myfi"—nid mewn cymundeb a chyfeillgarwch, ond mewn cyd-hanfodiad, fel yr arwydda yr arddodair. Am fyr amser, yn nghanol rhyferthwy y dymhestl a thywyllwch dudew y tair awr, collodd gymdeithas ei Dad,—"Fy Nuw, fy Nuw," nid fy Nhad, fy Nhad, yr oedd gwyneb ei Dad yn guddiedig, "paham y'm gadewaist?" Ond er fod y gymdeithas yn pallu dan felldith y ddeddf, yr oedd y cyd-hanfodiad *(meta)* yn parhau; ac yn rhinwedd hwn gallodd ymgynal dan y baich a suddai y cread i ddiddymdra tragwyddol.

ADN. 33. **Y pethau hyn a ddywedais wrthych fel ynof fi tangnefedd a gaffoch.** Dyna drefn y geiriau yn y gwreiddiol, er mwyn gosod allan gyda mwy o eglurder ei berson Ef fel trigfa eu tangnefedd a chanolbwynt eu bywyd. Yn xv. 11 a xvi. 24, sonia am eu llawenydd (*chara*), yma am eu tangnefedd (*eirēnē*),—yr olaf yn golygu, feallai, nid llai o lawnder, ond mwy o dawelwch. **Yn y byd gorthrymder a gewch.** Gosodir allan yr Iesu a'r byd mewn gwrthgyferbyniad. Yn yr Iesu tangnefedd, yn y byd gorthrymder. A chan yr arhosent yn y byd am flynyddoedd ar ol hyn, cydlifai y ddau brofiad yn eu hanes: tangnefedd heddychol y tu fewn yn dylifo o fôr tangnefedd yn Nghrist, a thònau cynddeiriog y byd yn curo arnynt y tu faes. Nid oes dim ond tangnefedd i'w ddisgwyl o Grist, a dim ond gorthrymder o'r byd,—y mae hyd yn nod ei olud yn faich, a'i glod yn flinder. **Eithr cymerwch gysur.** *Be of good cheer.* Byddwch wrol *(tharseite)*. Ar ddiwedd ei gyfarchiad olaf i'r dysgyblion, cyn cymeryd ei grychnaid i'r tywyllwch a'r rhyferthwy, tery gyweirnod yr Oruchwyliaeth Newydd.—"Cymerwch gysur," "*Be of good cheer.*" *Pessimism*,—rhyw ddisgwyl ofnadwy am ddyddiau drwg oedd nodwedd arbenig y byd cyn yr Ymgnawdoliad, y byd yn myned ar i waered, y gofid yn dwyshau, y nos yn duo. *Optimism*,—disgwyliad am ddyddiau gwell, yw cyweirnod y byd ar ol Crist, y tristwch yn ysgafnhau, y caddug yn teneuo, y dydd yn gwawrio; mae tywydd teg yn aros y ddynoliaeth. **Myfi a orchfygais y byd.** Y "myfi" yn bwysleisiol, myfi o'ch blaen a throsoch. (1) Dealla rhai y geiriau fel yn dynodi ei fuddugoliaeth ar y diafol, "tywysog y byd hwn." Diau fod hyn yn gynwysedig. Gorchfygodd Crist y diafol yn nechreu ei yrfa weinidogaethol (Matt. iv. 11), gorchfyga Ef eto ar ei diwedd. Ar y dechreu Pleser a ddaliai y diafol o flaen ei lygaid i'w lithio; ond wedi methu gyda Phleser, y mae yn awr yn myned i dreio Dyoddefaint. Ai Crist allan o'r oruwchystafell i ymladd gornest ag ef yn Gethsemane ac ar Galfaria, ond medda sicrwydd cyn dechreu yr enilla y fuddugoliaeth. Nid oedd hyny yn gwneyd yr ymdrech yn llai egniol, yn fwy nag oedd sicrwydd Prydain Fawr y gorchfygai yn y rhyfel â'r Transvaal yn gwneyd y brwydrau yn llai celyd. Ymladdodd yn ofnadwy, "clwyfwyd dau, gorchfygodd Un, a'r Iesu oedd efe." (2) Ond gwell cymeryd yr ymadrodd megis ei llefarwyd gan Grist, "Myfi a orchfygais y byd," y byd yn yr

## PENOD XVII.

Y PETHAU hyn a lefarodd yr Iesu, ac *efe* a gododd ei 1
lygaid i'r nef, ac a ddywedodd, Y Tad, daeth yr awr;

---

oll ag ydyw. Llawer dyn a orchfygwyd gan y byd, cariad at ei anrhydedd neu ofn ei wg; ond enillodd yr Iesu oruchafiaeth yn mhob agwedd arno. Ac y mae y fuddugoliaeth hon, fel pob buddugoliaeth arall o'i eiddo, yn fuddugoliaeth i'w bobl. Prawf atdyniad Crist a'i ddaioni i ni yn gryfach nag atdyniad y byd a'i bleserau. Planer helygen rhwng dau lyn: at ba un y gogwydda yr helygen ei phen? At y llyn sydd yn meddu y corph trymaf o ddwfr, yn rhinwedd un o ddeddfau sefydlog natur. Ar Cristion hefyd,—gogwydda, yn ol deddf sefydlog, at y byd lle y cartrefa ei Geidwad. "Pwy yw yr hwn sydd yn gorchfygu y byd, ond yr hwn sydd yn credu mai Iesu yw Mab Duw?" "A hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef ein ffydd ni." 1 Ioan v. 3.

---

### PENOD XVII.

Pa le y gweddiodd y weddi hon, y weddi archoffeiriadol fel ei gelwir? (1) Cred un dosbarth (gwel ar xiv. 31) mai ar y ffordd o'r oruwchystafell i Gethesmane, yn y deml o bosibl, gan y crybwylla Josephus (*Ant. xviii.*) yr arferid yn ystod y Pasg agor dorau y deml ganol nos. (2) Cred y dosbarth arall nad oedd eto wedi gadael yr oruwchystafell. Nid oes defnyddiau yn yr hanes i'n galluogi i lwyr benderfynu y mater; ond parhawn ni i deimlo mai y rhai olaf sydd gywir. "O holl benodau y Beibl," ebe Bengel, "hon yw yr egluraf mewn geiriau, y ddyfnaf mewn ystyr." "Dilynwyd y bregeth oreu a draddodwyd erioed," ebe Traill, "gan y weddi oreu a weddiwyd erioed." Mewn cyffelyb frwdfrydedd y lletara yr holl esbonwyr crediniol; ond ysgrifena y beirniaid anghrediniol mewn geiriau tra anghydsain. Dyfarniad Bretschneider arni yw ei bod yn "oer, awdurdodol, a dansoddol" *(frigida, dogmatica, metaphysica)*. Nid ystyria Renan y penodau xiii., xiv., xv., xvi., xvii. yn deilwng o sylw, gan yr ystyria mai ffug-hanes yw yr oll,—pa fodd y medrai Ioan eu cofio fel ag i'w hadgynyrchu? Ond etyb Godet gyda deheurwydd fod y wyrth dufewnol o adgynyrchu yn ffyddlon gyfarchiadau meithion yr Iesu yn llai anesboniadwy na chyfansoddiad ffugiol o areithiau mor orchestol.

#### EI WEDDI DROSTO EI HUN. ADN. 1—5.

**ADN. 1. Y pethau hyn a lefarodd yr Iesu, a chan godi ei lygaid i'r nef.** (Cyd. Ezra iv. 6; Luc xviii. 3). Nid ydym ni yn canfod dim grym yn nadl Godet fod y geiriau hyn yn profi mai yn yr awyr agored yr offrymodd y weddi. Hyd yn nod os yn yr ystafell yr offrymodd hi, codasai ei lygaid i'r nef yr un modd. Ffordd Ioan yw hon o osod allan

ei agwedd gorphorol pan yn gweddio,—ar ei draed, ei lygaid yn agored tua'r gafell sanctaidd, cartrefle ei Dad. Am y publican yn y deml coffheir na allasai gymaint a chodi ei olygon tua'r nef; pârai ei deimlad o'i bechadurusrwydd iddo edrych yn wylaidd tua'r ddaear. Ond dyrcha yr Iesu ei lygaid tuag i fynu; nid oes dim olion euogrwydd yn ei gydwybod,—medr edrych yn wrol, gyda llygaid agored, i gyfeiriad y Goleuni digrëedig. **Efe a ddywedodd.** Llefara yn hyglyw. Paham? (1) Y mae teimlad cryf yn hoffi mynegiant mewn seiniau cyfatebol,—pan yr ä gweddi ddirgel yn angherddol, y mae yn mynu tori geiriau. (2) Oblegid fod y weddi ag oedd yn cael ei chyfeirio at y Tad i fod yn foddion hyfforddiant ac adgyfnerthiad i'r dysgyblion. Pa benod yn yr holl Feibl sydd wedi gweini mwy o addysg a chysur? Dywedai Spener na phregethodd erioed ar y benod oblegid y teimlai na allasai meddwl meidrol ddringo i fynu ei huchelderau, ond y noson cyn marw gwnaeth i'r teulu ei darllen iddo dair gwaith. Hysbysir hefyd am John Knox, diwygiwr gwrol yr Alban, iddo erchi yn ei afiechyd diweddaf fod i'w wraig neu ei ysgrifenydd *(private secretary)* "ddarllen iddo bob dydd mewn llais hyglyw y ddwyfed benod ar bymtheg o'r Efengyl yn ol Ioan, y drydedd ar ddeg a deugain o Esaiah, a phenod o'r Epistol at yr Ephesiaid." **Y Tad.** Nid "Fy Nhad" nac "Ein Tad," ond "Y Tad"—y Tad *absolute*. Adroddir y gair Tad chwech o weithiau yn y weddi. **Daeth yr awr.** Nid "yr awr a ddaeth," gan daflu pwyslais ar "yr awr," ond "daeth yr awr," gan daflu holl bwys y meddwl ar y ferf. Mae'r clôc wedi taraw, daeth "yr Awr"—yr awr ar yr hon y dibyna holl oriau amser am eu bodolaeth a'u hystyr, yr awr ar yr hon y cytunwyd yn y Cynghor Boreu, yr awr i'r Mab i aberthu ei hun, a'r awr mewn canlyniad i'r Tad gael ei ogoneddu. Rhwymodd y Tad a'r Mab eu hunain mewn cyfamod i'r awr hon.

**Gogonedda dy Fab.** Y pwyslais ar "dy" = "dy Fab di." Pa greadur, pa mor urddasol bynag, a feiddia ddeisyf hyn heb gablu? Y mae ymwybyddiaeth o ryw fawrhydi dwyfol yn gorwedd dan yr holl weddi. Yr ydym wedi gweled drachefn a thrachefn (xii. 28; xvi. 14) fod yr Arglwydd Iesu yn edrych ar ei farwolaeth fel y gris cyntaf yn ei ogoneddiad, y cam cyntaf yn ei fynediad yn ol at y Tad. Edrych Paul ar ei farwolaeth, wrth ei chysylltu a gorphenol ei hanes, fel diwedd eithaf ei ddarostyngiad; ond edrych Crist arni, ac Ioan ar ei ol, wrth ei chysylltu a dyfodol ei ddylanwad, fel dechreu ei ogoneddiad. Nid oes anghysondeb na gwrthdarawiad, gwahaniaeth safleoedd yn unig y sydd. "Gogonedda dy Fab." (1) Dealla Reuss y geiriau fel deisyfiad am ehangiad ei ddylanwad moesol ac ysbrydol yn mhlith dynion. Os dyna yr oll, nid oedd ond deisyfiad a eisteddai gyda gweddusrwydd ar wefus Paul neu Ioan neu unrhyw ddyn da arall. (2) Cred Meyer, Godet a Westcott gyda mwy o briodoldeb mai gweddio y mae am adferiad iddo o'r gogoniant o'r hwn y gwaghaodd ei hun yn yr Ymgnawdoliad. (3) Ond diau genym y cynwys yn mhellach ddeisyfiad am nerth i fyned trwy ei ddyoddefaint yn llwyddianus, nes dyfod allan yr ochr arall i'r bedd yn fuddugoliaethwr, marw yn y fath fodd nes troi marwolaeth yn ogoniant. Yr oedd gweddio am ogoniant diwedd y daith yn cynwys deisyfiad am nerth i deithio heb ddiffygio y ffordd ragordeiniedig iddo. Barna rhai y cyfeirir at yr haul yn duo, y creigiau yn hollti, y ddaear yn crynu,—tystiolaeth y Tad i fawredd y Gwr oedd yn hongian ar Bren, nes gorfodi y canwriad

gogonedda dy Fab, fel y gogoneddo dy Fab dithau: Megis 2
y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd, fel am y cwbl a
roddaist iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol. A 3

---

Rhufeinig i gyfaddef, "Yn wir Mab Duw oedd y dyn hwn." Ond yr elfenau moesol yn ei farw, heb sôn yn awr am y gwirioneddau duwinyddol, sydd wedi trawsnewid marwolaeth waradwyddus y Groes i fod y gogoniant disglaeriaf a welodd y byd erioed. "Os bu Socrates farw fel athronydd," meddai Rousseau, "yna bu Crist farw fel Duw." Diau fod y marw, yr adgyfodiad, a'r esgyniad yn gynwysedig,—y ddau olaf a drodd y cyntaf yn ogoneddiad i'r Iesu. Ai Mab fel yr ail Berson yn y Drindod Fendigaid a feddylir, ynte y Mab ymgnawdoledig yn llanw y swyddau Cyfryngol? Y mae yn amlwg, ni dybiwn, mai y Mab yn yr ystyr ddiweddaf; ac y mae o bwys i ni gadw hyn mewn cof er mwyn deall gweddill y benod. **Fel y gogoneddo dy Fab dithau.** Nid hunangariad oedd yn peri i'r Arglwydd Iesu ofyn am gael ei ogoneddu, ond cariad at Dduw ac at ddynion; amcan ei ogoneddiad Ef oedd, nid hunan-glod, ond gogoneddiad Duw ynddo a thrwyddo Ef; dengys yr adnod nesaf pa fodd yr oedd yr amcan hwn i gael ei gyrhaedd. Gogoneddodd y Tad ar y ddaear (adn. 4); awyddai ei ogoneddu eto yn y dyfodol ar hyd yr un llinellau—llinellau iachawdwriaeth.

**ADN. 2. Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd.** Rhaid cysylltu yr adnod hon yn dŷn a'r adnod flaenorol; ar hyd llinellau hon yr oedd yr Iesu i ogoneddu y Tad, sef yn iachawdwriaeth pechaduriaid. I ddwyn yn mlaen yn effeithiol waith yr achub, buddiol oedd iddo esgyn o'r ddaear i'r nefoedd, yr oedd ei dderchafiad i'r Orsedd mor anghenrheidiol a'i dderchafiad i'r Groes. "Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd." Pa bryd y rhoddodd y Tad yr awdurdod hwn iddo? Dengys amser y ferf "rhoddaist" (*edokas*—yr *aorist*) mai cyn ei anfoniad i'r byd yn nghyffelybiaeth cnawd, "rhoddaist" unwaith am byth. Rhoddodd y Tad frenhiniaeth i'r Mab ar bob cnawd yn ddiwahaniaeth; ond nid i'r Mab yn ei gymeriad dwyfol yn yr Hanfod,—yr oedd ganddo yn yr ystyr hwnw erioed ac o anghenrheidrwydd. Nid pwngc o roddi iddo ydoedd fel yr Ail Berson yn y Drindod, ond pwngc o feddu. Ond yma y mae yr awdurdod yn cael ei "rhoddi"; ac nis gellir dadgysylltu y "rhoddi" a threfn grâs,—y Mab, yn nhrefn gras, yn ei gymeriad Cyfryngol, sydd yn derbyn. Ond gan nad oedd yn llanw y swyddau Cyfryngol mewn gweithred a gwirionedd nes iddo ymgnawdoli, felly nid oedd yr awdurdod yn feddiant gweithredol iddo cyn ei esgyniad. Rhoddodd Duw iddo fel Cyfryngwr rhagordeiniedig awdurdod ar bob cnawd; ac yn awr gofyna yr Iesu i'w Dad ei dderchafu i'r Groes yn nghyntaf, ac i'r Orsedd wedi'n, a thrwy hyny drosglwyddo awenau llywodraeth y byd i'w law. Rhoddodd mewn bwriad a chyfamod cyn ei Ymgnawdoliad; rhydd mewn gweithred a gwirionedd ar ol ei Esgyniad. **Fel am y cwbl a roddaist iddo**—yn y gorphenol, **y rhoddai efe iddynt fywyd tragwyddol**—yn y dyfodol. Gwelir, gan hyny, y crybwyllir tri "rhoddiad" yn yr adnod hon: (1) Rhoddi awdurdod ar bob cnawd i'r Mab gan y Tad; (2) rhoddi personau yn gystal a phethau i'r Mab gan y Tad; (3) rhoddi bywyd tragwyddol i'r personau gan y Mab. "Fel

hyn yw y bywyd tragwyddol; iddynt dy adnabod di yr unig

---

am y cwbl"—y cwbl *(pān)*, yn y *neuter gender*, canys edrychir ar gredinwyr yn y cyfanswm (gwel ar vi. 37). Ond y mae yn amlwg nad yw "cwbl" y frawddeg hon yn gymesur a "phob cnawd" y frawddeg flaenorol. Rhoddodd Duw i'r Arglwydd Iesu awdurdod ar "bawb" yn ddiwahaniaeth; ond o'r pawb y mae yna ryw "gwbl" ag sydd wedi eu rhoddi iddo mewn modd arbenig, yr Eglwys fel cyfangorph gorphenedig. Felly yn yr adnod hon gwelir hedyn dysgeidiaeth Paul ddarfod i "Dduw osod Crist yn ben *pob peth* i'r *Eglwys*" (Eph. i. 22),—llywodraeth ar yr oll er mwyn perffeithio y rhan. "Y rhoddai Efe iddynt fywyd tragwyddol." Y mae y "cwbl" neu y cyfanswm yn y frawddeg flaenorol yn cael ei ddadelfenu i bersonau unigol yma: "y cwbl—iddynt." Y cwbl a roddwyd iddo gan Dduw yn yr Etholedigaeth mewn un weithred berffeithiedig, y mae Efe mewn amser yn rhoddi iddynt, bob yn un ac un, fywyd tragwyddol. Dyna paham y deisyfa am gael ei dderchafu i'r nef, am y byddai mewn sefyllfa fwy manteisiol i roddi y bywyd tragwyddol ag oedd ynddo i bechaduriaid y ddaear. Gwell er iachawdwriaeth dynion i'r Iesu fod yn y nefoedd nag ar y ddaear. Dyma ynte yw egwyddor gymhelliadol paragraph cyntaf ei weddi,—eisieu cael ei ogoneddu fel y gogoneddai yntau y Tad trwy achub pechaduriaid. O ganlyniad, gwelwn fod iachawdwriaeth dynion yn amod gogoniant Duw. Meddwl yn llawn cysur yw fod ein hiachawdwriaeth ni wedi ei rhwymo yn annatodol wrth ogoniant y Mab a'r Tad! "Bywyd tragwyddol." Nid hyd yw ystyr y gair tragwyddol, ond ansawdd; nid bywyd diddiwedd ei hyd, ond bywyd dwyfol ei ansawdd. (Gwel ar iii. 16). Nid bywyd o dan amodau amser a lle; ond bywyd nodweddiadol o dragwyddoldeb, bywyd uwchlaw pob amodau, bywyd na wna amser ei dreulio na lle ei gyfyngu, bywyd sydd byth yn ieuangc, heb ddiffyg na thrai.

**ADN. 3. A hyn yw y bywyd tragwyddol, fel y byddai iddynt dy adnabod di.** Dyma ddeffiniad yr Arglwydd Iesu o'r bywyd tragwyddol,—adnabyddiaeth o Dduw a Iesu Grist. Nid gwybodaeth, fel yn y Saesonaeg, ond adnabyddiaeth—*appropriation* o'r wybodaeth. Yn y Groeg, fel yr ydym wedi cael achos yn fynych i sylwi, y mae dau air, *eidenai* a *ginōskein*,—y cyntaf yn golygu gwybodaeth drwyadl wrthrychol, yr ail gwybodaeth brofiadol gynyddol; yr ail a ddefnyddir yma. Yn y Saesonaeg nid oes ond un gair am y ddau, *know;* ond yn ffodus yn y Gymraeg y mae genym ddau air, *gwybod* ac *adnabod*, ac er nad ydynt yn hollol gyfystyron i'r ddau air gwreiddiol, eto awgrymant yr un gwirioneddau. Yn y gair "gwybod" yr elfen ddeallol sydd yn llywodraethu; ond yn y gair "adnabod" daw yr elfen foesol i fwy o amlygrwydd. "Hyn yw y bywyd tragwyddol," nid gwybodaeth glir o byngciau duwinyddol, ond adnabyddiaeth bersonol o Dduw, gwybodaeth brofiadol yn codi oddiar gydnawsedd anian. Gall dyn feddu gwybodaeth byngciol uchel, a bod yn golledig yn y diwedd; ar y llaw arall, gall dyn fod yn dra chymysglyd ei syniadau athrawiaethol, ac eto fod ganddo adnabyddiaeth achubol o Dduw,—adnabod Duw fel plentyn yn adnabod ei fam, nid am y gŵyr hanes ei hachyddiaeth na maint ei haddysg, ond am yr adnebydd ei chalon, ac y medr mewn canlyniad gysgu yn dawel ar ei

wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist. Mi a'th 4

---

mynwes. **"Yr unig wir Dduw."** Cyfeiriad o bosibl at eilun-dduwiau y Cenhedloedd. Y Duw a ddatguddia y Beibl yw yr "unig wir Dduw"—Duw sydd yn llanw y drychfeddwl o Dduw, y Bôd sydd mor berffaith a'r drychfeddwl. Duw *real* yw Duw, a'r Duw *real* yw y Duw gwirioneddol *(alēthinos)*. Nid digon diffuantrwydd yn yr addolwr, rhaid wrth wirioneddolrwydd yn ei Dduw. "Duw, fy nghraig," ebe y Salmydd; pan yn pwyso ar Dduw Israel, teimlai graig o dan ei draed. **A'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist.** Megis yn y frawddeg flaenorol, "yr unig wir Dduw," y cyfeirir at gyfeiliornad y Cenhedloedd yn methu gwahaniaethu y gwir Dduw oddiwrth y duwiau gau, felly yn y frawddeg hon cyfeirir at gyfeiliornad yr Iuddewon yn methu gwahaniaethu rhwng y gwir Grist a'r gau-Gristiau. Yr oedd gan yr Iuddewon yr unig wir Dduw fel gwrthrych eu haddoliad, ond camgymerasant y datguddiad a wnaeth o hono ei hun—camgymeriad andwyol a damniol. Felly i fywyd tragwyddol, rhaid wrth adnabyddiaeth o wir wrthrych addoliad ac o'r gwir ddatguddiad a wnaeth o hono ei hun,—Iesu Grist. Nid cydnabod yr Iesu fel y Crist, fel y dysg Ewald a Meyer, gan wneyd "Crist" yn *predicate* i'r Iesu; ond ei adnabod fel anfonedig y Tad, wedi ei gynysgaeddu ag awdurdod i achub,—ei adnabod Ef megis yr adnabyddwn Dduw, ie, adnabod Duw trwyddo ac ynddo Ef. Yn yr efengylau enw *technical* yw Crist—y Messiah, ac nid enw priodol; ond ar ol yr adgyfodiad try yr enw *technical* yn enw priodol, a phery felly hyd heddyw. Pa fodd y daeth Paul yn ei Epistolau, a Ioan yn ei Raglith a'i Epistol, i'w alw yn Iesu Grist? Ai ymwybyddiaeth yr Eglwys a gyfunodd y ddau air, gan gyfnewid yr enw *technical* yn enw priodol? Mŷn lluaws o esbonwyr ateb yn gadarnhaol, ac yn eu plith esboniwr mor bwyllog ei farn a Westcott; oherwydd paham barna na lefarwyd yr adnod hon fel y mae ar lawr yma, ac yn enwedig yr ymadrodd "Iesu Grist"—Ioan a roddodd y ffurf arbenig yna i'r weddi. Felly hefyd Dodds: "Ymddengys y cyfiawnheir Westcott pan yn dyweyd 'fod defnyddiad yr enw Iesu Grist y pryd hwn yn dra annhebygol.' Nid yw yn tynu oddiwrth wirionedd yr hanes i Ioan roddi megis rhwng cromfachau, ac mewn iaith arferedig megis, sylwedd yr hyn a lefarodd yr Arglwydd gyda helaethrwydd mwy." Gwir; ond gwell genym ni gredu adroddiad Ioan yn ei symlrwydd, derbyn yn ddiffuant ddilysrwydd yr adnod, a dilyn dadblygiad yr enw Iesu Grist fel ei darlunir yn yr efengylau. Gwelir "Iesu" ar bob tudalen; gwelir "Crist," y Messiah, o bryd i bryd; ond cymer yr Iesu ofal i beidio dwyn y ddau enw at eu gilydd, rhag i'r cyfuniad greu chwildroad politicaidd. Yn awr, fodd bynag, yn ei weddi gyhoeddus olaf, dim ond yr Un-ar-ddeg yn clywed, asia y ddau a'u gilydd, "Iesu Grist," ac y mae yn ddiddanwch i ni i feddwl mai o'i enau Ef ei hun y trosglwyddwyd yr enw i lawr i'r Eglwys. "Adnabod yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Na: yr oedd parch Ioan i'r Athraw yn ormod iddo gymeryd yr hyfdra i newid y weddi, nid yn ei sylwedd yn unig, ond yn ei mold—ei nhewid o fold yr Iesu i'w fold ei hunan, y weddi fwyaf aruchel ar yr amser mwyaf cysegredig yn holl hanes y Ceidwad bendigedig. Ymresyma yr Ariaid a'r Undodiaid, gan mai y Tad yw yr unig wir Dduw,

ogoneddais di ar y ddaear; mi a gwblhêais y gwaith a

---

y dysga yr Iesu yma nad yw Efe yn wir Dduw. Eithr nid felly ddim: nid yr unig wir Dduw a Iesu Grist sydd yn cael eu cyferbynu â'u gilydd, ond yr unig wir Dduw a'r gau-dduwiau. Ac felly o edrych ar yr adnod yn y goleuni hwn, try i fod yn brawf cadarn o Dduwdod yr Arglwydd Iesu. Pa synwyr i greadur, pa mor uchel a mawreddog bynag, i honi fod bywyd tragwyddol yn gynwysedig mewn adnabod Duw ac efe? Gwneuthur adnabyddiaeth o hono ef mor anhebgorol i fywyd tragwyddol ag adnabyddiaeth o Dduw? Ond gwna yr Iesu hyny,—llefara yn onest yn ol ei ymwybyddiaeth ddyfnaf: a oedd ei ymwybyddiaeth yn dwyllodrus? Pwy feiddia haeru hynyna? Ac os nad ydoedd yn dwyllodrus, pa brawf cryfach o'i Dduwdod a ellir gael yn yr holl Ysgrythyr Lân? Teimlwn yn sicr fod Ioan yn dwyn profion anwrthwynebol yn mlaen i brofi ei bwngc, mai "Iesu yw y Crist, Mab Duw."

**ADN. 4. Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear.** Cyfeiria at ei oes o 33 mlynedd, ac nid yw yn ymwybodol o bechod, trwy ddiffyg na gormodedd. Mewn gweddi o flaen y Presenoldeb Dwyfol, a'r gogoniant anfeidrol yn tanbeidio arno, lle y mae y saint perffeithiaf yn gweled eu hysmotiau yn fil myrdd, ni wel Efe frycheuyn na chrychni yn ei holl fywyd; nid oes ganddo fai i'w gyfaddef na phechod i'w faddeu! Mor wahanol i bob sant arall! Ond diau y cynwysir yma ei aberth iawnol yn gystal a'i fywyd dilychwin,—ar derfyn ei oes adolyga yr oll; llefara yn y gorphenol am yr hyn oedd i gymeryd lle prydnawn dranoeth, gwyddai am y poenau ofnadwy oedd yn ei aros, ond gwynebai yr oll mewn perffaith hyder y gorchfygai. "Mi a'th ogoneddais ar y ddaear" trwy fy mywyd dichlynaidd, trwy fy nysgeidiaeth ddiwyrni, ac yn awr trwy aberth dyhuddol. **Trwy orphen y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur.** Yr un gair a ddefnyddia yma am "orphen" (*eteliōsa*) ag a ddolefodd oddiar y Groes, "Gorphenwyd." "Gorphen y gwaith," y gwaith caletaf yr ymgymerodd y Mab ag ef erioed. Cafodd gommissiwn gan ei Dad i greu (i. 3): gwaith hawdd oedd hyny iddo Ef,—galwodd y bydoedd i fod a gair ei enau; chwythodd—a hofranodd y sêr fel plu ar gefn ei anadl. Ond dyma waith, prynu bywyd y byd! gwaith ag oedd yn gofyn am holl rymusderau Duwdod i'w gyflawni yn briodol. Ond cyflawnodd ef, gorphenodd ef, ie, mwy—"gorphenodd" ef yn unol â'r cynllun fel yr awgryma y gair gwreiddiol (*teleioō*), nid oes wall na diffyg ynddo o'r dechreu i'r diwedd. Nid gorphenodd ef fel adeiladydd yn gorphen ty, rywsut; y mae yn berffaith o ran natur y defnyddiau, o ran cysylltiadau y coed a'r meini, yn gystal ag o ran terfyniad. Golyga y gair nid yn unig fod y gwaith wedi ei derfynu, ond ei fod o ran natur y fath na allasai fod yn well. Pa sant a all ddyweyd hynyna? Y mae ein gwaith ni i gyd yn dyfod i ben; ond wrth edrych yn ol, ar derfyn einioes, gymaint o wallau ac anmherffeithiau a welwn! Dim ond achos cywilydd! Nid felly yr Iesu: "mi a gwblheais y gwaith"—nid yn unig dygais ef i ben, ond ni welaf ddiffyg na gwall ynddo; y mae yr oll yn berffaith yn ol y cynllun boreu. Mor berffaith yw y greadigaeth wedi i Dduw ei gorphen,—nid oes le i ddyn gynyg gwelliant (Gen. i. 31). Mor deg yr iachawdwriaeth wedi i'r Iesu ei chwblhau, nid oes ynddi le i welliant. "Mi a'th ogoneddais ar y ddaear trwy gwblhau hyd berffeithrwydd y

roddaist i mi i'w wneuthur. Ac yr awrhon, O Dad, 5
gogonedda di fyfi gyd â thi dy hun, â'r gogoniant oedd i
mi gyd â thi cyn bod y byd. Mi a eglurais dy enw i'r 6

---

gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur,"—ar y ddaear. Awydda yn awr i fyned i'r nefoedd i ogoneddu Duw yno hefyd, trwy gymhwyso yr iachawdwriaeth at afradloniaid y ddaear. Gogoniant mawr oedd gwneyd trefn yr iachawdwriaeth, a'r ddaear oedd y lle goreu i'w gwneyd; gogoniant pellach yw gosod y drefn ar waith, a'r nefoedd yw y lle goreu i wneuthur hyny.

**ADN. 5. Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun.** A glywyd erioed y fath ddeisyfiad? Nid, gogonedda Fi; ond gogonedda Di Fyfi gyda Thi dy Hun! "Di Fyfi": "Di Fyfi gyda Thi dy Hun"! Gofyna am ogoniant cyfartal i ogoniant y Duwdod. Beth a feddyliwn o hyn? Y mae yn amlygiad o gabledd rhyfygus neu o Dduwdod hanfodol: rhaid fod y llefarwr yn wallgof neu ei fod yr hyn a hawlia Ioan—yn Dduw mewn cnawd. **A'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd.** (1) Mỳn yr Ariaid a'r Undodiaid nad yw y geiriau hyn yn dysgu cynhanfodiad person yr Arglwydd Iesu, ond cynhanfodiad y gogoniant ag oedd yn ei aros yn nghynllun Duw—bodolai y gogoniant cyn bod y byd, ond nid y Person. Priodol yr ateb fod hynyna yn wir am bob sant (Matt. xxv. 34). Ond a yw hynyna yn dihysbyddu yr ymadrodd? Nid ydym yn tybied. (2) Y mae yn amlwg y cyfeiria yr Iesu yma at ryw ogoniant ag oedd Efe yn bersonol yn ei fwynhau cyn gosod sylfeini y ddaear. Yn yr Ymgnawdoliad gadawodd y gogoniant hwnw ar ol, "Efe a'i gwaghaodd ei hun gan gymeryd arno agwedd gwas" (Phil. ii. 5—8), ac yn awr deisyf am gael ei adfer i'r gogoniant hwnw. Pa beth ydoedd? (1) Etyb Godet ac eraill o gyffelyb feddwl mai y priodoliaethau dwyfol naturiol oedd yn ei gyfansoddi: daeth i'r byd yn feddiannol ar y priodoliaethau moesol, sef cariad a sancteiddrwydd, ond ymddihatrodd o'r priodoliaethau naturiol, hollwybodaeth, hollalluowgrwydd, a hollbresenoldeb, a gweddio y mae yr Arglwydd Iesu am gael ei ail gynysgaeddu â'r priodoliaethau hyn. I ni ymddengys yr esboniad hwn yn groes i athroniaeth ddofn a chywir, i dduwinyddiaeth uniongred yr Eglwys, yn gystal ag i esboniadaeth *(exegesis)* fanwl. Parchwn y duwinyddion a'r esbonwyr sydd yn dàl y grêd hon am eu hymdrechion galluog i ddadrys dirgelwch yr Ymgnawdoliad; beiwn hwynt am beidio cyfaddef fod eu hymdrechion yn fethiant. Y mae y duwinyddion uniongred hefyd wedi gwneyd ymdrechion llawn mor alluog yn yr un cyfeiriad; ond y fath yw eu parch i'r Gwaredwr a'r Beibl fel y gorfodir hwy i gyfaddef fod eu hymdrechion yn *failures*, ac felly syrthiant yn ol ar "ddirgelwch mawr duwioldeb," gan blygu yn wylaidd ger bron y "Duw a ymddangosodd yn y cnawd"—y mae gwyrth yr Ymgnawdoliad yn fwy nag y medr deall dyn ei amgyffred. Felly yr unig wahaniaeth rhwng y ddau ddosbarth yw, nid fod un yn ddysgedicach ac yn fwy *advanced* na'r llall, ond fod un yn dàl fod eu hymdrechion hwy i esbonio athrawiaeth y Gwaghad yn llwyddiant, tra y mae y dosbarth arall, y rhai sydd yn ddeall yr ymresymiad gystal a hwythau, yn dal fod pob ymdrech o'u heiddo yn fethiant. I synwyr cyffredin y dosbarth olaf sydd yn ym-

dynion a roddaist i mi allan o'r byd: eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi; a hwy a gadwasant dy air

---

ddangos y mwyaf *advanced*, yn gymaint a bod yr hyn sydd yn boddloni y dosbarth cyntaf yn eu hanfoddloni hwy. (2) Gorfodir ni, gan hyny, i syrthio yn ol ar y syniad uniongred, mai wrth y gogoniant a adawodd ar ol y meddylir, nid y priodoliaethau dwyfol, yr oll neu yr haner, ond y dull dwyfol o fodoli. Cymerai gyfrol i egluro yn rhanol yr hyn sydd yn gynwysedig yn hynyna, ond ni oddef gofod i ni ddisgyn at y manylion. Ac yn awr gweddia yr Arglwydd Iesu, yn gymaint a'i fod wedi cyrhaedd amcan ei ddarostyngiad, am gael dychwelyd i'w ogoniant cyn-ddaearol. Yma, fel yn Phil. ii. 5—8, gosodir allan ei dderchafiad fel gwobr ei ddarostyngiad; y mae gogoneddiad yr adnod hon yn sylfaenedig ar waith yr adnod o'i blaen. Felly, yn yr adn. 1, gofyna Crist am ei ogoneddu er mwyn y dyfodol; gofyna yma am ei ogoneddu yn herwydd y gorphenol.

GWEDDIO DROS YR APOSTOLION. ADN. 6—19.

**ADN. 6. Mi a eglurais dy enw.** Enw Duw—y datguddiad o hono yn ei gymeriad achubol. Egluro gwir gymeriad Duw yn ei berthynas â'r byd mewn cyferbyniad i'r gau syniadau am dano yn mhlith dynion, Iuddewon a Chenhedloedd fel eu gilydd. **I'r dynion a roddaist i mi allan o'r byd.** Tybia Ogwen Jones ac eraill yr enwir "dynion" yma mewn cyferbyniad i angelion, iachawdwriaeth i ddynion, dim i angelion: i ni y mae yr eglurhad hwn yn rhy ffansïol. Nid cyferbyniad sydd yma rhwng dynion ac angelion, ond rhwng dynion "allan o'r byd" yn ei ystyr foesol a dynion sydd eto yn y byd. Nid y rhoddiad o honynt yn yr etholedigaeth yn benaf, ond y rhoddiad o honynt "allan o'r byd"—y rhoddiad hanesyddol; ond y mae eu rhoddiad mewn amser yn rhagdybied eu rhoddiad yn nhragwyddoldeb. Perthyn i'r byd yr oeddynt, rhan o ddynoliaeth lygredig; ond trwy weithrediad dirgeledig ar eu meddyliau symudwyd hwy o gylch y byd i gylch gras, dau gylch hollol wahanol a gwrthnaws. Am dair blynedd a rhagor yr oedd yr Iesu wedi taflu goleuni llachar i fewn i feddyliau y rhai hyn o barth i gymeriad achubol ei Dad. **Eiddo ti oeddynt.** (1) Eiddo Duw trwy greadigaeth, meddai Hengstenberg, Efe bia bob peth a greodd; gwirionedd rhy gyffredin, ni dybiwn, i gael mynegiad yn y weddi aruchel hon. Yn yr ystyr yna nid oeddynt fwy o eiddo i Dduw nag oedd yr "anifeiliaid ar fil o fynyddoedd." (2) Eiddo iddo trwy gyfamod ag Israel, meddai Bengel, Luthardt, a Meyer. Neillduodd Duw Israel iddo ei hun. "At ei eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant Ef" (i. 11). Ond yn yr ystyr hon nid oeddynt yn fwy o eiddo iddo na Chaiaphas ac Annas neu ryw aelod arall o'r genedl. Ai tybed nad oedd meddwl Crist yn ymgodi yn uwch na hyn? Nis gallwn weled fod hynyna yn rheswm i sylfaenu deisyfiad ar eu rhan. (3) Ei eiddo trwy gydnawsedd moesol, meddai Godet a Westcott, a diau fod yr ateb hwn yn llawer rhagorach. Ond a oedd y cydnawsedd moesol hwn yn hunan-achosol? (4) Gan hyny, dadleua Calfin mai ei eiddo trwy etholedigaeth a feddylir. Yn mha ystyr arall y gall dynion fod yn eiddo Duw cyn eu troedigaeth? **A thi a'u rhoddaist hwynt i mi.** Eu rhoddiad hanesyddol, yn rhinwedd eu

di. Yr awrhon y gwybuant mai oddi wrthyt ti y mae yr 7
holl pethau a roddaist i mi: Canys y geiriau a roddaist i 8
mi, a roddais iddynt hwy; a hwy a'u derbyniasant, ac a
wybuant yn wir mai oddi wrthyt ti y daethum i allan, ac a

---

hymlyniad wrth yr Iesu. **A hwy a gadwasant dy air di.** "Cadw": dyma un o eiriau mawr y weddi, defnyddir ef chwech o weithiau o adn. 6 hyd 16. "Hwy a gadwasant dy air di." (1) Ei "gadw" (*tereō*) yn yr ystyr o'i guddio yn y galon i fyfyrio arno, i'w amgyffred fwyfwy, ac i gael eu lefeinio ganddo. Yn yr Efengylau eraill *phulassō* yw y gair, cadw trwy wylied neu warchod, ond yma cadw trwy guddio. Gan hyny, nid cyfeiriad at eu buchedd sydd yma, eu bywyd allanol, ond cyfeiriad at eu bywyd mewnol, eu hymlyniad wrth y gair, a'u hymroddiad i gadw gafael tyn arno.

**ADN. 7. Yr awrhon y gwybuant mai oddiwrthyt ti y mae yr holl bethau a roddaist i mi.** "Gwybuant" (*ginōskein*),—daethant i wybod trwy gadw y gair yn eu calonau a myfyrio yn addolgar arno. I hyn yr oedd yr Iesu wedi eu hyfforddi am dair blynedd; ac yr "awrhon" y maent wedi cyrhaedd y safon a osodasai Efe o'u blaen, fel y prawf eu cyffes yn xvi. 30. Gwir i Petr, fel cynrychiolydd y dysgyblion, wneuthur Cyffes o'r blaen (Matt. xvi. 16), ond canlyniad datguddiad y Tad ydoedd, fflachiad mellten i'w feddwl; ond äi y gwirionedd yn wanach wanach yn gymaint nad oeddynt wedi ei gyrhaedd trwy adfyfyriad arno a meddylgarwch dwfn uwch ei ben. Ond yn awr y maent wedi cyrhaedd yr un gwirionedd trwy adfyfyriad, y maent wedi meddwl eu ffordd iddo. Felly y mae datguddiad ac adfyfyriad yn cyfarfod yn eu hargyhoeddiad presenol. "Mai oddiwrthyt ti y mae yr holl bethau a roddaist i mi." Yn eu bryd hwy y mae dwyfoldeb ei genadwri uwchlaw amheuaeth, yn bwngc wedi ei benderfynu am byth. Gwir y treiddiant yn ddyfnach iddo, nid am eu bod yn amheu, ond am eu bod yn credu. Gall mai amheuaeth yw y cymhwysder meddyliol goreu i ymchwiliadau athronyddol; ond yn sicr ffydd yw y cymhwysder goreu i ymchwiliadau duwinyddol. Adnabyddant stamp dwyfoldeb ar yr oll a ddywed ac a wna.

**ADN. 8. Canys y geiriau**—y pethau (*rhema*)—**a roddaist i mi.** "A roddaist," yn yr amser *aorist*, gan gyfeirio at eu rhoddiad i Grist yn nhragwyddoldeb. Nid dyfod i'r byd heb wybod ei neges a wnaeth Efe, gan eu dysgu yn raddol, ond gwyddai yr oll cyn cychwyn o gartref. Nid dyfod i'r byd a wnaeth fel nyni, gan ffurfio cynllun ei fywyd ar ol dyfod yma; ond daeth yma a'r cynllun yn *ready made* yn ei law. Gwyddom ar yr ochr arall ei fod yn cynyddu yn ei amgyffrediad o gynllun ac amcan ei fywyd. Rhaid dàl y ddau wirionedd, pa un a fedrwn eu cysoni a'i peidio. Ar ein perygl y gwadwn y naill na'r llall,—gwadu dirgelwch yr Ymgnawdoliad fuasai hyny. **A roddais iddynt hwy.** "A roddais"—yr amser perffaith, eu rhoddi yn raddol yn ol eu gallu meddyliol a'u cymhwysder moesol hwy i dderbyn; eu tywys o wers i wers, nes o'r diwedd gyrhaedd y casgliad aruchel fod ei Berson o Dduw, a'i genadwri oddiwrth Dduw. **A hwy a'u derbyniasant.** Eu derbyn cyn eu iawn ddeall; credu er mwyn gallu amgyffred. **Ac a wybuant yn wir**—uwchlaw amheuaeth a dadl, gwybod, nid ar dystiolaeth yn unig, ond

9 gredasant mai tydi a'm hanfonaist i. Drostynt hwy yr wyf
fi yn gweddïo: nid dros y byd yr wyf yn gweddio, ond
10 dros y rhai a roddaist i mi; canys eiddot ti ydynt. *A'r*
eiddof fi oll sydd eiddot ti, a'r eiddot ti sydd eiddof fi: a

---

trwy brofiad ac ymresymiad (*ginōskein*)—**mai oddiwrthyt ti y daethum i allan**—dwyfoldeb ei berson, **ac a gredasant mai tydi a'm hanfonaist i**—dwyfoldeb ei genadwri. Derbyn, gwybod, credu.

**ADN. 9. Drostynt hwy yr wyf fi yn gweddio.** "Hwy" a "fi" yn bwysleisiol. Y "Fi" ag sydd genyf awdurdod i ofyn (*erōtān*), y cydradd yn gofyn gan ei gydradd. **Nid dros y byd yr wyf fi yn gweddio, ond dros y rhai a roddaist i mi.** Pa fodd yr ydym i ddeall yr ymadrodd, "nid dros y byd yr wyf fi yn gweddio"? (1) Mŷn Bengel, Meyer, Stier, Luthardt, Tholuck, Alford, Godet, a Westcott mai y meddwl yw, "Nid dros y byd yr wyf fi yn gweddio yn awr." Y mae yn eiriol dros y byd, ond nid dros y byd y mae yn eiriol yn awr. (2) Mŷn Calfin, a dilynir ef gan Lampe a Hodge, nad yw yn eiriol dros y byd o gwbl, yn unig dros yr Eglwys neu yr etholedigion; canys, meddai y dosbarth hwn o dduwinyddion, os yw Efe yn eiriol dros y byd, Efe fel cydradd ei Dad yn gofyn am iachawdwriaeth yr holl fyd, a ydyw ei eiriolaeth yn aneffeithiol? Na, atebant, y mae y ffaith nad yw pawb yn cael eu hachub yn brawf nad yw pawb yn cael eiriol drostynt. Cyfyngir yr eiriolaeth i diriogaeth Iawn meichniol—Iawn yn lle; a chyfyngir yr eiriolaeth a'r Iawn i diriogaeth yr Etholedigaeth—y rhai a roddodd Duw Dad i'r Duw Fab mewn cyfamod. Rhaid i ni gredu yn nghyfyngiad, neu yn aneffeithioldeb, yr Eiriolaeth: anhawdd derbyn y naill na'r llall, ond o'r ddau gwell genym dderbyn y cyntaf. Hyd y gallwn ni ddeall nid yw yr esbonwyr a enwir uchod yn gwynebu yn deg yr anhawsderau cysylltiedig ag Eiriolaeth gyffredinol, yr un anhawsderau, mewn ffordd ychydig yn wahanol, ag sydd yn gysylltiedig ag Iawn cyffredinol. **Canys eiddo ti ydynt.** Yn adn. 6, "eiddo ti *oeddynt*"—yn yr amser gorphenol; yma "eiddo ti *ydynt*"—yn yr amser presenol: yr etholedigaeth arfaethol wedi troi yn etholedigaeth hanesyddol. Yn eu rhoddiad i'r Mab nid oeddynt yn peidio a bod yn eiddo y Tad; yn hytrach y maent yn eiddo iddo yn fwy nag erioed.

**ADN. 10. A'r eiddof fi oll sydd eiddot ti, a'r eiddot ti sydd eiddof fi.** Wrth yr "eiddo fi" (*ta ema panta*), y meddylir, nid personau fel yn yr adnod flaenorol, ond pethau,—cydberchenogiad pob peth. Honiad aruchel, yr hwn ar wefusau creadur a fyddai yn gabledd. Gall a dylai creadur ddyweyd, "Yr eiddof fi oll sydd eiddo ti," canys nid oes genym ddim, ond ein pechod, a'r na dderbyniasom; ond rhyfyg annuwiol i neb ddyweyd, "Yr eiddot ti sydd eiddo fi." Rhaid fod y Gwr a ddywedodd hyn yn ymwybodol o'i ogyfuwchder â Duw. Rhyfedd fel y mae Ioan yn pentyru y profion "mai Iesu yw Mab Duw." **A mi a ogoneddwyd ynddynt.** "A ogoneddwyd" (*dedoxamai*)—a ogoneddwyd ac yn parhau i gael fy ngogoneddu ynddynt. Nid trwyddynt eto, ond ynddynt. Yn y syniadau uchel a goleddent am dano a'r teimladau cariadaus a deimlent tuagato, yr oedd yr Iesu yn cael ei ogoneddu; a pha ogoniant cyffelyb i'r gogoniant yn meddyliau dynion?

mi a ogoneddwyd ynddynt. Ac nid wyf mwyach yn y byd, 11
ond y rhai hyn sydd yn y byd, a myfi sydd yn dyfod attat
ti. Y Tad sancteiddiol, cadw hwynt trwy dy enw, y rhai
a roddaist i mi; fel y byddont un, megis ninnau. Tra fûm 12
gyd â hwynt yn y byd, mi a'u cedwais yn dy enw: y rhai
a roddaist i mi, a gedwais, ac ni chollwyd o honynt ond

---

**ADN. 11. Ac nid wyf mwyach yn y byd.** Y byd fel lle. Llefara yr Iesu ar ddibyn ei angeu, ac felly yn feddyliol trosglwydda ei hunan i'r ochr arall i'r weithred fawr ag oedd eto heb ei chyflawni. **Ond y rhai hyn sydd yn y byd.** Y byd fel lle, nid fel ystad, canys yr oeddynt wedi eu rhoddi iddo "allan o'r byd." Lle enbyd iawn i adael y dysgyblion ynddo, yn nghanol peryglon fyrdd oddiwrth ddynion drwg a dylanwadau drwg. **Y Tad Sancteiddiol.** Dyma yr unig le yn ysgrifeniadau Ioan y cymhwysir yr ansoddair "sancteiddiol" *(hagie)* at y Tad. Beth yw yr ystyr? Yn nuwinyddiaeth yr Eglwys Gristionogol golyga burdeb moesol; ond yn nuwinyddiaeth yr Eglwys Iuddewig golygai gysegriad, neillduad person neu beth i amcanion crefyddol. I iawn esbonio yr adnod hon a'i chyffelyb, doeth ydyw cadw y gwahaniaeth hwn mewn cof. "Y Tad sancteiddiol" yn wrthgyferbyniol i'r byd. Ac eto y mae sancteiddrwydd yn yr ystyr o gysegriad yn rhagdybied sancteiddrwydd yn yr ystyr o burdeb; nis gall dim fod yn wir gysegredig heb fod hefyd yn bur. **Cadw hwynt yn dy enw.** Cadw hwynt rhag crwydro yn feddyliol na moesol y tu allan i derfynau dy Enw, cuddia hwy yn dy Enw—y datguddiad o Dduw yn darian ac astalch iddynt. **Yr hwn a roddaist i mi.** Nid y dysgyblion, "y rhai a roddaist i mi," yn ol y darlleniad arferol, ond yr Enw, "yr hwn a roddaist i mi," yn ol y Cyf. Diw. Dadleua Godet fod y ffurfymadrodd diweddaf yn ddyeithr i'r Test. Newydd, ac felly mai yr hen gyfieithiad yw y goreu, a chyfaddefwn fod llawer o rym yn ei wrthddadl; ar y llaw arall, y mae tystiolaeth y prif lawysgrifau yn rhy gref a chyson i ni allu ei throi o'r neilldu. Wedi son fod y Tad wedi rhoddi y dysgyblion iddo, ä yn mlaen yma i ddyweyd ei fod wedi rhoddi ei Enw iddo hefyd,—h.y. ymddiriedodd Duw ei garictor i Grist i'w hysbysu megis yr ymddiriedodd ddynion iddo i'w hachub. Ymddiriedodd Duw ei ogoniant ei hun ac iachawdwriaeth dynion i'r un Gwr. Dyma ddau roddi: rhoddi yr Apostolion i Grist, a rhoddi yr Enw i Grist; ac yma gweddia am gydasiad yr Enw a'r Apostolion â'u gilydd. **Fel y byddont un megis ninau.** Yn yr Enw y ceidw yr Un-ar-ddeg eu hundeb; yn annibynol ar yr Enw ymwahanant yn Un-ar-ddeg. "Megis Ninau"! Pwy yw y "Ninau"? Nid yr Iesu a'i ddysgyblion, ond yr Iesu a'i Dad. Duw a Christ = Ninau! Y mae yr Iesu yma yn llamu ar benau y mynyddoedd, cyfyd ei hun i lefel Duwdod. Nid fod yr undeb rhwng y saint a'u gilydd yn cyfateb yn mhob peth i'r undeb rhwng y Tad a'r Mab; nid undeb uwchanianyddol *(metaphysical)* mohono, ond undeb moesol.

**ADN. 12. Tra fum gyda hwynt yn y byd, mi a'u cedwais yn dy enw.** Amddiffynai hwynt trwy ei bresenoldeb, ei esiampl, ei gynghorion, a'i weddïau, cadwodd hwynt allan o fagl y diafol; yr oedd ei ddylanwad Ef fel cylch heulog o'u hamgylch, yn eu cadw rhag gwrthgilio na gŵyro.

13 mab y golledigaeth; fel y cyflawnid yr ysgrythyr. Ac
yr awrhon yr wyf yn dyfod attat: a'r pethau hyn yr wyf

---

**Ac mi a'u gwyliais.** Y "mi" yn bwysleisiol. Y gair am "gadw" yn rhan gyntaf yr adnod yw *tēreō*,—yma y gair yw *phulassō*, cadw trwy wylied, gwarchod. Fel Bugail da gwyliai yr Iesu hwy rhag y lladron a'r ysbeilwyr; os gwelai argoelion gwrthgiliad gweddiai na nithid hwy fel us. **Ac ni chollwyd o honynt ond mab y golledigaeth.** Yn ol y darlleniad arferol: "Y rhai a roddaist i mi a gedwais, ac ni chollwyd o honynt ond mab y golledigaeth." Yn y fan hon cyfyd y cwestiwn, A yw yr adnod hon yn dysgu syrthiad oddiwrth ras? Dibyna yr ateb i'r cwestiwn yna ar gwestiwn arall, A oedd Judas yn un o'r rhai a "roddwyd" i Grist? (1) Etyb Alford ac eraill ei fod, iddo gael ei roddi i Grist megis Petr ac Iago ac Ioan. (2) Etyb Calfin, Brown, ac eraill yn nacaol. Nid yw yr "ond" yn eithrio, eithr yn cyferbynu *(not exceptive, but adversative)*. Y meddwl gan hyny yw, Y rhai a roddaist i mi a gedwais, ni chollais yr un, ac felly yn hollol gyfystyr ag esboniad Ioan yn xviii. 9. Ond y mae un yn golledig, Judas, mab y golledigaeth, eithr nid oedd efe o'r rhai a roddwyd i Grist. Am yr ystyr hwn (*adversative*) i'r ond (*ei mē*), gwel Matt. xii. 4; xiii. 32; Dat. ix. 4; xxi. 27. Dyfyna Brown o *Goll Gwynfa* Milton enghraipht gyffelyb

"God and His Son except, created thing
Nought valued he or shunned."

Yn yr un dyfyniad gan Ogwen Jones, y mae yr atalnodiad yn anghywir, ac o ganlyniad yn gwneuthur y ddwy linell yn ddisynwyr,—gwall argraphyddol yn ddiamheu. Sylwer yn fanwl ar iaith yr Iesu. Nid yw yn dywedyd, "Ni *chollais* o honynt ond mab y golledigaeth," ond "ni *chollwyd* o honynt ond mab y golledigaeth." Y mae yn newid y ferf o'r gweithredol i'r goddefol, ffurf sydd yn profi nad ystyriai ei hun yn gyfrifol am y colli. Efe oedd yn gyfrifol am y cadw, a bu yn ffyddlawn i'r ymddiriedaeth—"mi a'u cedwais," y ferf yn yr *active voice*, ni chollais yr un. Ond collwyd un. Eithr nid yr Iesu a'i collodd; ni ddywed, "mi a gollais un"; y mae yn newid ffurf y ferf i'r *passive voice*, i ddangos fod cyfrifoldeb ei golledigaeth ar Judas ei hun. Yr Iesu sydd yn gyfrifol am iachawdwriaeth pawb a gedwir, am hyny iddo Ef boed y clod; ond y pechadur ei hun sydd yn gyfrifol am ei ddamnedigaeth, am hyny arno ef boed y bai. **Mab y golledigaeth.** Cyd. 2 Thess. ii. 3. Ffurf-ymadrodd cyffelyb i blant y goleuni, plant digofaint, mab uffern, &c. Yr oedd Judas wedi myned i golledigaeth wrthrychol am fod defnydd colledigaeth dufewnol ynddo. Yr oedd tânwydd uffern o'i fewn, nid rhyfedd iddo ffaglu. **Fel y cyflawnid yr Ysgrythyr.** Ps. cix. 8. Cyd. xiii. 18 ac Act i. 20. I lygaid yr Iesu yr oedd hanesyddiaeth yn un cyfanwaith; nid damwain oedd y brophwydoliaeth, ac nid damwain oedd bradychiad Judas. O ddiffyg y canfyddiad dwfn hwn i undod hanesyddiaeth y dadleua y beirniaid diweddar yn mhlaid y ddamcaniaeth o gyfaddasiad rhwng y prophwydoliaethau a'r Efengylau; nid am eu bod yn rhy "wyddonol," ond am nad ydynt yn ddigon "gwyddonol," y methant ganfod yr egwyddor sydd yn eu huno.

**ADN. 13. Ond yr awrhon yr wyf yn dyfod atat ti.** Cyfeiriad at ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad. Yr oedd ar adael y byd hwn

yn eu llefaru yn y byd, fel y caffont fy llawenydd i yn
gyflawn ynddynt eu hunain. Myfi a roddais iddynt hwy 14
dy air di: a'r byd a'u casâodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r
byd, megis nad ydwyf finnau o'r byd. Nid wyf yn 15
gweddïo ar i ti eu cymeryd hwynt allan o'r byd, eithr ar i

---

am y byd arall, fel nas gallasai ei bresenoldeb corphorol fod yn amddiffynfa mwyach iddynt: dyma y rheswm paham y dymuna eu cyflwyno yn benodol i warcheidwadaeth y Tad. **A'r pethau hyn yr wyf yn eu llefaru yn y byd.** Deisyfiadau y weddi hon: llefara *(lalein)* hwynt yn hyglyw, cyn gadael y byd, fel y bo iddynt hwy ei glywed, a chymeryd cysur. "Gofala am eu *dyogelwch* wrth weddio y weddi hon," meddai Evan Roberts gyda'i ddeheurwydd arferol; "gofala am eu *cysur* wrth ei gweddio mewn geiriau hyglyw." **Fel y caffont fy llawenydd i yn gyflawn ynddynt eu hunain.** Bydd i'r weddi hon aros yn eu cof, a throi yn ddefnydd llawenydd iddynt, wedi i mi eu gadael. Yr wyf yn ei gweddio yn awr fel y bo iddynt hwy glywed, a thrwy hyny gael eu diddanu; gallwn i aros nes dod i'r nefoedd cyn ei hoffrymu, ond ni chlywsent hwy mohoni felly—collent ddefnydd eu cysur.

**ADN. 14. Myfi a roddais iddynt hwy dy air di.** "Myfi" yn bwysleisiol. Nid geiriau ond "gair"—y datguddiad yn ei gyflawnder a'i gysondeb, nid yn ei ranau. Yr oedd y datguddiad yn awr yn orphenedig, a thrwy y gair y mae cymundeb rhwng Duw a hwy; y gair yw y ddolen gysylltiol, trwy ba un y gellir eu cadw mewn dyogelwch. **A'r byd a'u cashaodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r byd.** Dyna y rheswm dros elyniaeth y byd atynt. "Nid ydynt o'r byd"—ynddo, eithr nid o hono; y mae tarddiad eu bywyd uwchlaw y byd; nid oes gydnawsedd rhwng eu bywyd hwy a bywyd y byd. **Megis nad wyf finau o'r byd.** Ymdrech fawr rhesymolwyr pob canrif yw profi fod ffynhonau bywyd yr Iesu yn y byd, esbonio ei garictor a'i waith ar egwyddorion y byd. Ond ofer pob ymdrech: nid tyfiant o'r byd hwn oedd Crist, ond ymgnawdoliad o fyd arall; ac oblegid nad oedd *o'r* byd, er ei fod *yn* y byd, y daeth Efe a'r byd i wrthdarawiad mor echrydus.

**ADN. 15. Nid wyf yn gweddio ar i ti eu cymeryd hwynt allan o'r byd.** Pe dedwyddwch y dysgyblion fuasai yr amcan, dyna fuasai yr erfyniad priodol i'w offrymu ar eu rhan; eithr nid eu dedwyddwch hwy, ond lles llaweroedd, sydd mewn golwg. Pan yn gweddio drosto ei hun yn yr adran gyntaf (adn. 1–5), gwna hyny er mwyn dwyn yn mlaen waith yr iachawdwriaeth. Ar yr un egwyddor y gweddia dros y dysgyblion,—nid i sicrhau eu hiachawdwriaeth hwy, ond er iddynt fod yn foddion i ddwyn oddiamgylch iachawdwriaeth eraill. **Eithr ar i ti eu cadw hwynt rhag yr un drwg.** *Ek tou ponērou—o'r un drwg*, sef y diafol; felly yn y Cyf. Diw. *O'r drwg;* felly yn y cyfieithiad arferol. Nid oes dim yn yr ymadrodd i benderfynu rhyngddynt. Dadleua Westcott dros ddilyn y Cyf. Diw.; ond dadleua Godet, ar sail yr arddodair *ek*, dros y cyfieithiad arferol,—pe y diafol a feddylid, *apo*, nid *ek*, a ddefnyddid. O braidd, fodd bynag, y mae ei reswm yn argyhoeddiadol, canys y mae anghredinwyr *yn* yr Un Drwg fel y mae credinwyr yn Nghrist. Ond y mae y drwg a'r un drwg mor berthynasol i'w gilydd fel lle y mae y naill

16 ti eu cadw hwynt rhag y drwg. O'r byd nid ydynt, megis
17 nad wyf finnau o'r byd. Sancteidda hwynt yn dy wir-
18 ionedd: dy air sydd wirionedd. Fel yr anfonaist fi i'r byd,
19 felly yr anfonais innau hwythau i'r byd. Ac er eu mwyn
hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau

---

ceir y llall hefyd; yn ymarferol daw y ddau ddarlleniad i'r un peth. Eu cadw allan o bechod, rhag myned dan lywodraeth yr Un Drwg,—dyna oedd deisyfiad yr Iesu.

**ADN. 16. O'r byd nid ydynt megis nad wyf finau o'r byd.** Ail-adroddiad o adn. 14, yr hyn a ddengys y pwys mawr a rydd yr Iesu ar y ffaith hon.

**ADN. 17. Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd.** "Cadw" oedd gair mawr yr adnodau blaenorol: "Sancteiddio" yw gair mawr y paragraph sydd yn dechreu fan hyn. Nid "pura" *(kathairō)*, ond "sancteiddia" *(agiazō)*. Gwelsom eisoes mai ystyr "sancteiddio" yn yr H.D. yw, nid puro, ond cysegru, yn yr ystyr o ddidoliad a neillduad i amcanion crefyddol,—nid sancteiddrwydd personol, ond sancteiddrwydd swydd-ogol. Dyna yr ystyr iddo yma hefyd. Y mae yr Arglwydd Iesu eisoes, yn adn. 15, wedi gweddio am eu cadw rhag drwg moesol; yma symuda yn mlaen i'w cysegriad swyddogol. Y mae yn wir fod cysegriad swyddogol, yn nrychfeddwl yr Ysgrythyr, yn sylfaenedig ar sancteidd-rwydd personol; ond y cyntaf yw y drychfeddwl llywodraethol yma. Cysegra hwy i'w gwaith, canys heb gysegriad nid oes llwyddiant. Pa fodd i'w cysegru? "Yn y gwirionedd," mewn cyferbyniad i'r cysegriad seremoniol dan yr H. D. Eu trwytho yn y gwirionedd. **Dy air sydd wirionedd.** Y mae gwirionedd ynddo ei hun yn rhy ysbrydol i ni gael gafael arno: megis yr oedd yn anghenrheidiol i'r Gwirionedd Personol ddyfod yn Air Ymgnawdoledig (i. 14), felly rhaid i'r gwirionedd drych-feddyliol ddyfod yn air llefaredig neu ysgrifenedig, er gwneyd argraph ddyladwy ar ddyn. Nid arddodiad llaw, gan esgob na henaduriaeth, sydd yn cysegru, ond trwythiad yr ysbryd yn y gwirionedd, yr enaid wedi ei *soakio* yn y "gair." Yn y cysegriad cyntaf hwn ffurfir yr apostolion yn gnewyllyn yr Eglwys Gristionogol, didolir hwy oddiwrth y byd yn gymdeithas gysegredig i Dduw.

**ADN. 18. Fel yr anfonaist fi i'r byd.** Awdurdodiad Duw i'w Fab i ddyfod i'r byd. **Felly yr anfonais inau hwythau.** Cyfeiriad at eu gosodiad gan Grist yn y swydd apostolaidd. Yn y gwreiddiol y mae y gair "aposotol," yn ei ffurf ferfawl, yn cael arbenigrwydd neillduol. Aposotol Duw i'r byd oedd Iesu Grist (Heb. iii. 1); ac apostolion Iesu Grist i'r byd oedd yr Un-ar-ddeg,—appwyntiwyd y rhai olaf ar gynllun y blaenaf.

**ADN. 19. Er eu mwyn yr wyf fi yn fy sancteiddio fy hun.** (1) Mŷn rhai fod yr Iesu yma yn cyfaddef pechod gwreiddiol, os nad pechod gweithredol. Eithr os deallwn y gair yn ei ystyr Feiblaidd nid oes yma ddim sail i'r golygiad. (2) Gan hyny, Iesu Grist sydd yma, nid yn puro ei natur foesol, ond yn cyflwyno ei hunan yn yr oll ag ydoedd i waith mawr yr iachawdwriaeth. (3) Cysegrwyd Ef i'r swydd Gyfryngol gan

wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd. Ac nid wyf yn 20
gweddïo dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a
gredent ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt: Fel y byddont 21
oll yn un; megis yr *wyt* ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot

---

y Tad ar ei anfoniad cyntaf i'r byd (x. 36); yma cysegru ei hun y mae, a rhaid ei fod yn cyfeirio at ryw amgylchiad amgen na'r Ymgnawdoliad. Pa amgylchiad? Os cymerwn yr arddodair a'r parwyddair gyda'u gilydd *(huper autōn egō hagiazō)*—"cysegru dros," rhaid fod y cyfeiriad at ei ymgyflwyniad i fod yn aberth, cysegru ei hun i farw,—cysegriad swyddol i wneuthur Iawn. **Fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio mewn gwirionedd.** Gwirionedd heb y fanod, ac felly yn golygu mewn gwirionedd,—cysegriad llwyr. Un o amcanion ei gysegriad Ef oedd eu cysegriad hwy. Ni adawodd Efe ei hunan i gael ei lygad-dynu gan y byd yn ei brydferthwch (*fine arts*), na'r byd yn ei gyfoeth (*masnach*), na'r byd yn ei lywodraeth (*politics*). Cadwodd ei lygad yn syml ar iachawdwriaeth y byd. Gweddia am i'r Apostolion wneuthur yr un peth: apostolion oeddynt i achub y byd, nid *artists* i'w goethi, nid masnachwyr i'w gyfoethogi, nid gwladweinwyr i'w lywodraethu, nid cantorion i'w ddifyru. Llwyr ymgysegriad i waith Duw; gwared y byd o dan orthrwm pechod.

EI WEDDI DROS EI EGLWYS. ADN. 20—26.

**ADN. 20. Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig.** Wedi gweddio drosto ei hun a thros yr Apostolion, estyna y terfyngylch i gynwys yr Eglwys fawr gyffredinol yn mhob oes a gwlad. Edrych yn mlaen a hwnt, a gwêl yr holl ddynoliaeth grediniol wedi ei *cementio* yn un corph yn ei Enw Ef. **Eithr dros y rhai hefyd sydd yn credu ynof fi trwy eu gair hwynt.** Nid "a gredant" fel yn y cyfieithiad arferol, ond "sydd yn credu" fel yn y Cyf. Diw. Edrych yr Iesu ar y dyfodol fel un presenol mawr. Y pryd hwn nid oedd neb eto wedi credu, hyd y gwyddom ni, trwy bregethiad yr Apostolion; ond rhagwelai yr Iesu y canlyniadau gogoneddus a ddilynai eu gweinidogaeth ar ol y Pentecost. **Trwy ei gair hwynt.** Eu gair oedd i fod yn foddion troedigaeth y rhai a gredent, a thu allan i gylch yr athrawiaeth a ddysgent hwy nid oes troedigaeth yn bosibl. Gall troion rhagluniaeth fod yn achlysur, ond gair y gwirionedd yw unig foddion troedigaeth. Ond beth a feddylir wrth y "gair" (*logos*)? Nid adroddiad syml o'r ffeithiau cynwysedig yn y Pedair Efengyl,—tystiolaeth (*marturia*) fuasai hyny; ond hefyd eu heglurhad hwy ar y ffeithiau (*logos=discourse*),—cynwysa yr Efengylau a'r Epistolau, y ffeithiau a'r athrawiaeth, yr hanes a'r esboniad arno. "Mae pob ffydd yn yr Eglwys," ebe Hengstenberg, "yn dibynu ar air yr Apostolion, llefaredig neu ysgrifenedig." "Nid oes gwir ddyfod at Grist unrhyw amser," meddai Godet, "ond trwy y moddion hyn."

**ADN. 21. Fel y byddont oll yn un.** Baich ei weddi yw undeb y saint, mater pwysicach nag y tybia llawer yn y dyddiau hyn. Nid enwadaeth ond undeb yw yr *ideal* Cristionogol,—"fel y byddont un." "Fel" (*hina*) —tair gwaith y mynychir y gair hwn yn yr adnod hon i ddynodi amcan triphlyg y weddi. Dyma y "fel" cyntaf: nid unigolion ar wahan yw y saint i fod, ond unigolion mewn undeb bywydol a'u gilydd fel aelodau

ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd
22 mai tydi a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi,
a roddais iddynt hwy; fel y byddont un, megis yr ydym

---

perthynol i'r un corph. Trwy eu hundeb cyflenwant ddiffygion eu gilydd, fel y byddo yr un yn manteisio ar egnion yr oll; eithr nid undeb allanol, peiriannyddol ydyw, ond undeb ysbrydol, yn tarddu oddiar gyfranogiad o'r un bywyd. Y mae undeb y saint, undeb heb un deffiniad, yn amcan digon uchel i weddi yr Eiriolaeth gael ei chyfeirio tuag ato. **Megis yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minau ynot ti.** Y mae y gair "megis" (*kathōs*) yn ein dysgu fod undeb y Tad a'r Mab i fod nid yn unig yn gynllun o undeb y saint, ond yn sylfaen iddo. Nid yn unig dylai fod ganddynt yr un amcanion, ond cyfranogant o'r un anian fywydol, a'r anian hono yn ddwyfol. **Fel y byddont hwythau ynom ni.** Dyma yr ail "fel," yr ail amcan mewn golwg,—eu hundeb hwy a'u gilydd yn y Tad a'r Mab. Yn ol y cyfieithiad arferol, "fel y byddont hwythau un ynom ni," a dadleua Godet yn gryf drosto. Teimlwn fod y darlleniad hwn yn gydweddol a rhediad y paragraph. Ond gwrthodir ef gan y prif awdurdodau a'r Cyf. Diw. ar sail y prif lawysgrifau; a'n dyledswydd ni yw, nid dilyn teimlad, ond dilyn *evidence*. Y mae undeb Cristionogion yn dibynu, nid arnynt eu hunain, ond ar eu trigiad yn y Tad a'r Mab,—y mae eu hundeb *subjective* yn dibynu ar eu hundeb *objective* yn y Drindod. Tu allan i gylch y Drindod syrthiant yn ddarnau unigol; tu fewn i'r cylch glynant yn dŷn wrth eu gilydd, pob aelod yn ei le priodol ei hun. **Fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i.** Dyma y trydydd "fel," y trydydd amcan, israddol i'r ddau flaenaf, ac i'w sylweddoli trwyddynt hwy, Beth fydd canlyniad undeb yr Eglwys? Y byd yn credu yn Iesu Grist fel anfonedig y Tad. Tuedd pechod yw gwasgaru a rhwygo; dan ei ddylanwad y mae plant dynion pob un yn ceisio ei eiddo ei hun. "Y gwanaf gwaedded, y trechaf treisied": dyna yr egwyddor sydd yn llywodraethu dynion diailanedig, ac nid oes eithriad. Bydd gweled credinwyr yn darostwng eu buddiannau personol eu hunain i amcanion derchafedig yr Eglwys, y cryfion yn dwyn beichiau y gweiniaid, y cyfoethogion yn cynorthwyo y tlodion, yn olygfa mor newydd fel y gorfodir y byd i olrhain gwyrth mor hynod, nid i'r ddaear ond i'r nefoedd, nid i'r galon ddynol ond i'r galon ddwyfol. Rhaid fod ffynhonell ddwyfol i ddrychfeddwl mor newydd fel na wawriodd ar feddwl un athronydd paganaidd: bydd y dwyfoldeb yn fwy pan y gwelir y drychfeddwl wedi ei droi yn ffaith. Dyma ddrychfeddwl ag oedd yn rhaid wrth feddwl dwyfol i'w gynyrchu, ac wrth allu dwyfol i'w sylweddoli.

**ADN. 22. A'r gogoniant a roddaist i mi a roddais iddynt hwy.** Pa ogoniant? Gan mai gogoniant a roddodd y Tad i'r Mab ydyw, a gogoniant y mae y Mab yn ei roddi i'r saint, gan ei fod yn ogoniant trosglwyddiadwy, rhaid mai y gogoniant Cyfryngol a feddylir. Ond beth yw y gogoniant Cyfryngol? Y gogoniant swyddol, yr hwn a berthyn i'r ymddiriedaeth a roddodd Duw yn ei Fab pan ei penododd i swydd mor annhraethol bwysig a phrynu bywyd y byd. Y gogoniant swyddol hwn, o fod yn gydweithwyr ag Ef yn iachawdwriaeth y byd, y mae yn ei drosglwyddo yn gyntaf i'r Apostolion, a thrwyddynt hwy i'r

ni yn un: Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y 23
byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd
mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megis y
ceraist fi. Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn 24
ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyd â

---

Eglwys yn gyffredinol. Achubir ni, nid yn benaf er mwyn ein dyogelwch ein hunain, ond er mwyn achub pobl eraill. Amcan Duw yn ein hetholedigaeth yw, nid ein derchafu i fraint, ond i wasanaeth (Gen. xii. 1—3); a'i amcan yn ein troedigaeth hefyd yw, nid ein dyogelwch personol, ond ein gwneyd yn "gyfranogion o Grist" yn iachawdwriaeth y byd. Dyma amcan rhoddiad y gogoniant Cyfryngol iddynt, i'w hasio yn un. Y mae y teimlad o ymddiriedaeth yn sobri dynion, a'r ymwybyddiaeth o gydymdrech mewn gwaith pwysig yn eu toddi i'w gilydd, nes cynyrchu syniad o undeb na fedr dim ei dori na'u wanhau.

ADN. 23. **Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi.** Onid yw yn gwneyd ei hunan yn gystal a Duw? Onid iaith cydradd wrth gydradd sydd yma? Onid yw Ioan yn profi ei bwnge yn ardderchog iawn "mai yr Iesu yw Mab Duw"? Y Mab yw egwyddor yr undeb; yn y Mab y daw y Tad a'r saint i undeb a'u gilydd. Nid athrawiaeth *speculative* yw athrawiaeth y Drindod fel y mŷn llawer o dduwinyddion ddysgu, nid oes athrawiaeth mwy *practical* yn holl gylch Cristionogaeth,—arni hi y gorphwys bodolaeth yr Eglwys a derchafiad cymdeithas. Y mae y Tri Pherson yn yr Hanfod dragwyddol a'r saint ar y ddaear yn ffurfio Undeb gogoneddus, perthynant oll i'r un gymdeithas grefyddol (1 Ioan i. 7). **Fel y byddont wedi eu perffeithio i un.** Nid "wedi eu perffeithio yn un," ond "wedi eu perffeithio i un"—i gyfeiriad yr un. Y mae yr undeb wedi ei ddechreu, ond heb eto ei berffeithio; ond y mae yn graddol ddadblygu i gyfeiriad yr un. A ddaw yr eglwysi yn un Eglwys ar y ddaear? Daw i raddau mawr. Hyd yn nod heddyw y mae y materion y cytunir â hwynt yn annhraethol luosocach a phwysicach na'r materion y gwahaniaethir yn eu cylch. Daw y materion hyn i fwy o arbenigrwydd eto; ond o bosibl ni chyrhaeddir undeb llawn nes myned y tu draw i'r llen. **Ac fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i.** "Fel y credo y byd" yn adn. 21; "fel y gwypo y byd" yn yr adnod hon. **A charu o honot hwynt megis y ceraist fi.** O ddirgelwch bendigedig! Y Tad yn ein caru ni â'r un cariad â'r hwn y carodd ei Fab!

ADN. 24. **Y Tad, yr hyn a roddaist i mi.** "Nid y rhai," fel yn y cyfieithiad Cymraeg, ond "yr hyn a roddaist i mi." Megis yn adn. 2 "y cwbl," felly yma "yr hyn"—y saint fel un cyfangorph. Y syniad o undeb yw yr un llywodraethol. **Yr wyf yn ewyllysio.** *Thelō*, nid *erōtō*; ewyllysio, nid gofyn—dyma fy ewyllys; y mae awdurdod yn yr ymadrodd. Pa greadur a feiddiai lefaru fel hyn? "*I will*," gair Testamentaidd: dyma ei ewyllys wrth farw, a gwna ei Dad yn gymunweinyddwr iddi. **Lle yr wyf fi.** Y presenol am y dyfodol, yn dangos fod yr Iesu, o'r uchelderau dwyfol y mae yn sangu arnynt, megis Duw yn difodi amser a lle. "Lle yr wyf fi," sef y nefoedd. Gedy hwy ar y ddaear, tra y mae Efe yn esgyn i'r nefoedd; ond nid yw y cymundeb i gael ei dori,—pery cymundeb ysbrydol ar y ddaear, i gael ei ddilyn gan

myfi ; fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi ; oblegid
25 ti a'm ceraist cyn seiliad y byd. Y Tad cyfiawn, nid
adnabu y byd dydi ; eithr mi a'th adnabûm, a'r rhai hyn a
26 wybu mai tydi a'm hanfonaist i. Ac mi a hysbysais iddynt

---

gymundeb lleol yn y nefoedd. Y mae syniad cyflawn o'r nefoedd yn cynwys sefyllfa a lle : sefyllfa nefol heb le, neu le nefol heb sefyllfa,—nid yw y naill na'r llall ond haner nefoedd ; i gael nefoedd gyflawn rhaid dwyn y ddau haner at eu gilydd. **Fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi.** Nid yn unig yn yr un lle, ond hefyd mewn cymdeithas ddedwydd â'n gilydd *(met' emou)*. **Fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi.** Y gogoniant Cyfryngol eto ; ond y mae y gogoniant Cyfryngol yn ymranu yn ddau, gogoniant y gwaith (Phil. ii. 6—8 ; Heb. v. 4), a gogoniant y wobr. Yma golygir gogoniant y wobr. Rhydd Duw i'w Fab ymgnawdoledig ryw ogoniant annhraethadwy fel gwobr ei ufudd-dod hyd angeu. Gogoniant ei waith, rhoddodd yr Iesu hwn i'w ganlyn-wyr ; ond gogoniant ei wobr, y mae hwn yn rhy fawreddog i'w roddi. Ond os nas gall ei roddi, fe fŷn ei ddangos. "Fel y gwelont fy ngogon-iant" ! Iesu Grist wedi ei dra-dderchafu, ei ddynoliaeth mewn undeb â'i Dduwdod yn eistedd ar orsedd wen y nef, yn dreiddiedig ac yn amgylchynedig â'r gogoniant mwyaf y medr Duw Anfeidrol ei roddi ! A yw y gogoniant hwn yn wahanol i'r gogoniant oedd iddo gyda y Tad cyn bod y byd (adn. 5)? Nac ydyw, ac Ydyw : hwnw wedi ei adfer ydyw, ond wedi newid ei sylfeini o'r Tragwyddol Genhedliad i'r Ymgnawdoliad a'r Iawn. Y mae brenhiniaeth ogoneddus yr Arglwydd Iesu yn sylfaenedig, nid ar ei Dduwdod Cynhenid, ond ar ei Groes. Y mae yr iachawdwriaeth mewn rhyw ffordd ryfedd yn adweithredu ar y Drindod Sanctaidd. Nid ydynt Hwy yr un fath ar ol, ag oeddynt cyn, yr Ymgnawdoliad. Plygwn ein penau yn wylaidd ger bron yr anfeidrol Ddirgelwch ! **Oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y byd.** Hona yr Iesu yn ei oriau olaf gyn-hanfodiad tragwyddol ; nid cyn-hanfodiad drych-feddyliol fel y taera yr esbonwyr anghrediniol, ond cyn-hanfodiad personol. Yr oedd yn wrthrych tragwyddol cariad ei Dad, nid mewn arfaeth fel y saint, ond mewn gweithred a gwirionedd ; a lle y mae cariad, yno y mae Tri, meddai Awstin *(ubi amor ibi Trinitas)*. Seilia yr Iesu ei weddi am gydogoneddiad y saint âg Ef ar gariad tragwyddol Duw ato ; ac os cariad tragwyddol, yna anghyfnewidiol. Felly y mae yr Iesu yma yn taraw *bottom rock* yr iachawdwriaeth : y mae yr oll yn seiliedig ar gariad hanfodol y Tad at y Mab, dirgelwch cadwedigaeth ar ddirgelwch y Drindod.

**ADN. 25. Y Tad Cyfiawn.** Y Tad sanctaidd (*hagie*) yn adn. 11 ; y Tad cyfiawn (*dikaie*) yn yr adnod hon. Y Tad Sanctaidd, y Tad cysegredig, fel yr oedd wedi ymroddi i waith iachawdwriaeth ; y Tad cyfiawn, y Tad yn ei gymeriad sanctaidd, oherwydd yn ysgrifen-iadau Ioan y mae cyfiawnder yn cynwys sancteiddrwydd,—nid yw efe yn ei gwahaniaethu fel duwinyddion diweddarach. Nid *just*, ond *righteous* ; nid cyfiawnder cyfraith, ond cyfiawnder cymeriad. **Nid adnabu y byd dydi, eithr mi a'th adnabum.** Anwybodaeth y byd o gymeriad Duw, adnabyddiaeth yr Iesu o'i gymeriad ; dyna y cyferbyniad

dy enw, ac a'i hysbysaf: fel y byddo ynddynt hwy y cariad â'r hwn y ceraist fi, a minnau ynddynt hwy.

## PENOD XVIII.

GWEDI i'r Iesu ddywedyd y geiriau hyn, efe a aeth 1
allan, efe a'i ddisgyblion, dros afon Cedron, lle yr

---

cyntaf. **A'r rhai hyn a wybu mai tydi a'm hanfonaist i.** Y byd ar un llaw, y rhai hyn ar y llaw arall: dyna yr ail gyferbyniad.

**ADN. 26. Ac mi a hysbysais iddynt dy enw, ac a'i hysbysaf.** Felly gwaith graddol sydd yma: yr oedd wedi datguddio cynwys yr Enw yn ei fywyd ar y ddaear, ond yr oedd llawer yn yr Enw i'w ddatguddio eto—hysbysai y gweddill trwy yr Ysbryd ar ol y Pentecost. **Fel y byddo ynddynt hwy y cariad â'r hwn y ceraist fi.** Nid yn unig fel y byddent yn wrthrychau y cariad dwyfol, ond fel y byddai i'r cariad gael ei sylweddoli yn eu profiad, cariad Duw atynt yn troi yn gariad Duw ynddynt, y cariad *objective* yn cael ei wneuthur yn gariad *subjective.* Dwyn llawnder y cefnfor a gwagder y cregyn at eu gilydd, fel y byddo i'r cyntaf orlifo yr olaf. **A minau ynddynt hwy.** Person y Mab yn mhersonau ei bobl. Yn yr Ymgnawdoliad daeth y Tragwyddol Fab i undeb â'r natur ddynol; yn yr Eglwys daw i undeb â phersonau dwyfol. Dyma y gwaith a ddechreuwyd yn Bethlehem wedi cyrhaedd ei ddyben gogoneddus. Nid yn unig Cariad Duw, ond Mab Duw, mewn dynion. "A minnau ynddynt hwy"! Dyma ddiweddglo gogoneddus i'r Datguddiad.

---

## PENOD XVIII.*

Y mae'r penodau hyn yn cynwys rhan neillduol o'r Efengyl, sef hanes y dyoddef a'r diwedd. Ar ol rhoddi ymadroddion gwerthfawr yr oruwch-ystafell a'r weddi odidog, rhoddir i ni, gan lygad-dyst, olwg ar Grist yn Ei ddyoddefaint; ac fel yn mhob peth arall gogoniant Crist a wêl Ioan yn dod i'r golwg yn hyn eto, a'r gogoniant hwnw yn fwy na dim o'i flaen. Gwel ef yn troi y gwaradwydd mwyaf y gallasai y byd ei drefnu iddo i fod yn arddangosiad mwyaf o ogoniant a ddaeth erioed i olwg y byd, a gwel Ef trwy'r ymddarostyngiad rhyfeddaf a'r dyoddefaint mwyaf dychrynllyd yn ymdderchafu i ganol y gogoniant uwchaf. Yn y xviii. benod yr ydym yn dilyn y Crist trwy Gethsemane a'r Llysoedd.

**ADN. 1. A aeth allan.** (Gwel ar xiv. 31). Nid oedd dim bwriad y noson olaf hon i fyned allan mor bell a Bethania. **Afon Cedron.** Yr ydym i feddwl am y cwmni yn myned allan drwy yr hyn a elwir yn awr yn Borth Stephan, ar ochr Ddwyreiniol y ddinas, ac yn myned ar draws y ceunant sydd rhyngddi a Mynydd yr Olewydd. Buasai ceunant yn well ac yn nes i'r llythyrenol nag afon, oblegid am yspaid yn y gauaf yn

---

* Y Parch. T. E. Roberts, M.A., Aberystwyth, yw awdwr y nodiadadau eglurhaol oddiyma i'r diwedd.

2 oedd gardd, i'r hon yr aeth efe a'i ddisgyblion. A Judas

---

unig y gwelir yno beth tebyg i afon. Ar hyn o bryd y mae pont fechan yn croesi llwybr yr afon neu'r ffrydlif a geir yno yn y gauaf. Y mae dyffryn cul yn cychwyn wrth droed Mynydd Scopus yn Ngogledd-Orllewin y ddinas, wedi hyny yn haner-amgylchu y ddinas ar y tu Gogleddol a'r tu Dwyreiniol, ac ar ol gadael y ddinas yn troi tua'r De-Ddwyrain yn nghyfeiriad y Môr Marw. Hwn, neu ran o hono, ydyw dyffryn Cedron, a dyma hefyd y dyffryn ag yr arfera y trigolion ei alw yn Ddyffryn Jehosaphat. Tybia rhai y dylid eu gwahaniaethu trwy gymeryd Cedron fel yr enw ar yr afon a Jehosaphat fel yr enw ar y dyffryn. Y mae Cedron, wrth gwrs, yn enw ar yr afon, ond gyda hyny y mae hefyd naill ai yn enw arall ar Ddyffryn Jehosaphat neu, yn fwy priodol o bosibl, yn enw ar ran arbenig o hono, sef, y rhan a orwedda rhwng y ddinas a'r Olewydd. Ceir fod y traddodiad yn gryf a'r grediniaeth yn gyffredin fod prophwydoliaeth llyfr Joel (iii. 2—12) i gael ei chyflawni yn y dyffryn—yn y fan eangaf ynddo lle y cyferfydd dyffryn Hinnom a dyffryn Cedron, ac uchelgais pob Iuddew, o ganlyniad, ydyw cael ei gladdu yn y fangre hon. Y mae tarddiad yr enw Cedron yn fater o grŷn ddadleuaeth. Ar y cyfan ymddengys mai enw ydyw yn dod o wreidd-air yn golygu *du*. Ni raid meddwl, fel mae rhai wedi gwneyd, am waed yr ebyrth yn duo y dwfr, oblegid y mae dwyn i mewn i enwau afonydd y syniad o ddüwch yn beth digon cyffredin. Y mae llawer o awdurdodau yn cysylltu yr enw gyda'r *cedrwydd* a geid unwaith yn tyfu yn y dyffryn. Felly y gwna y Cyf. Diw. Fel hyn naturiol ydoedd son am *ddyffryn y cedrwydd* ac am *afon y cedrwydd*. Hefyd, os oedd yno gedrwydd ar hyd lanau yr afon yn taflu eu cysgodion tywyll arni byddai yn naturiol iddi gael ei galw yn *afon ddu*. Yr hanes cyntaf am Cedron sydd yn 2 Sam. xv. 23, ac y mae'n werth i ni sylwi fod yr Iesu wrth fyned i Gethsemane yn myned ar hyd yr un llwybr ag yr aethai Dafydd pan yn ffoi o flaen Absalom. (Gweler 1 Bren. xv. 13; 2 Chron. xxix. 16; a Jer. xxxi. 40). **Gardd**. Gardd Gethsemane. Y mae y gair *chōrion*, "lle" neu "fan," ddefnyddir yn Matthew a Marc yn ei gosod allan fel darn o dir wedi ei gau i mewn. Er nad oedd nemawr i ddim yn terfynu rhwng y gwahanol feusydd a'r gwahanol ffermydd yn y wlad, eto arferid cau i mewn rai gerddi yn ofalus, a defnyddid hwy, nid yn unig fel perllanau ond fel lleoedd o ymneillduaeth i orphwyso, i addoli, ac i gladdu y meirw. Wedi croesi pont y Cedron ceir ar y chwith i'r ffordd sydd yn myned dros yr Olewydd—*Eglwys Claddfa y Forwyn*, ac ar y dde ardd yn mesur 70 o latheni ysgwar, yr hon, yn ol traddodiad ag sydd yn myned yn ol i'r bedwaredd ganrif, ydyw Gardd Gethsemane. Tybir ei bod y pryd hyny yn fwy o faint, ac yn cynwys o'i mewn *ogof yr ing* ag sydd yn rhan o'r Eglwys uchod. Camgymeriad yw son am Gethsemane "ar waelod" y dyffryn. Ar ochr yr Olewydd y mae. Y mae'r afon Cedron 150 troedfedd yn is na'r ardd ac yn 380 troedfedd yn is na llawr y Deml. Perchenogir yr ardd yn awr gan Fynachod (Franciscan), y rhai yn eu ffordd eu hunain a ofalant am dani yn dda; ond bendith i feddwl ac ysbryd ymwelydd a fuasai fod y llanerch cysegredig heb y blodau, yr addurniadau a'r darluniau sydd i'w cael yn helaeth ynddo. Y mae yno wyth olewydden henafol iawn yn temtio un i feddwl y gallent

hefyd, yr hwn a'i bradychodd ef, a adwaenai y lle: oblegid
mynych y cyrchasai yr Iesu a'i ddisgyblion yno. Judas 3
gan hynny, wedi iddo gael byddin a swyddogion gan yr
arch-offeiriaid a'r Phariseaid, a ddaeth yno a lanternau, a

---

fod yn llygad-dystion o'r ing, ac yn taflu eu cysgod dros yr Hwn a weddiai yn ddyfalach dyfalach. Un o'r geiriau Beiblaidd gyfieithir yn ardd yw'r gair paradwys, ac y mae wedi bod yn hoff waith gan hen awduron i gyferbynu Gethsemane gydag Eden.

**ADN. 2. A'i bradychodd.** Gwell fyddai *a'i bradychai*, gan nodi gweithred ag oedd yn myned ymlaen ar y pryd. **Cyrchasai**: pan ar ymweliad â Jerusalem, ac er mwyn bod mewn lle manteisiol i addysgu Ei ddilynwyr. Gan nad pwy oedd perchenog yr ardd yr oedd yn cael ei dodi at wasanaeth yr Iesu. Gwrthun iawn yn ngwyneb yr hanes ydyw gwawdiaeth gelynion Cristionogaeth fod yr Iesu wrth fyned i'r ardd fel hyn yn ceisio diangc ac ymguddio o afael Judas a'i gwmni. Rhwng adn. 2 ac adn. 3 y buasem yn disgwyl cael yr hanes am *ing* yr ardd. Boddlona Ioan ar y cyfeiriad byr a wna ato yn adn. 11, a hyny yn sicr nid am fod ynddo y duedd leiaf i daflu llen drosto fel peth anghyson â'r nerth a'r gwroldeb a nodweddai yr Iesu, ond am ei fod eisoes wedi ei groniclo yn helaeth gan yr Efengylwyr eraill.

**ADN. 3. Byddin.** Defnyddir y gair *speira* (byddin) am *maniple* Rhufeinig ac hefyd y *cohort* Rhufeinig. Y mae rhai o awdurdod Nettleship a Sandys yn dyweyd fod y *cohort* ar wahanol adegau ac o dan wahanol amgylchiadau yn amrywio o ran maint. Yr oedd ynddo o 500 i 1000 o wŷr. Y mae'r fanod i fod o flaen y gair byddin fel yn y Cyf. Diw., yr hyn a ddengys mai y fyddin adnabyddus oedd yn gwylied Caerfa Antonia ydoedd; megis y gwahaniaethir y gwahanol gatrodau (*regiments*) gyda ni gwahaniethid y gwahanol fyddinoedd (*cohorts*) gan y Rhufeiniaid. (Gwel Act. x. 1 a xxvii. 1). Dywedir fod byddin Antonia yn cynwys 600 o wyr; nid ydym, wrth gwrs, i feddwl fod yr holl fyddin wedi ei defnyddio y noson hon. **Swyddogion.** Nid swyddogion ar y fyddin a feddylir, ond swyddogion eraill heb fod yn perthyn iddi. Nid Rhufeiniaid oedd y rhai hyn ond Iuddewon; nid milwyr ond ceidwaid, sef y ceidwaid hyny oeddynt o dan reolaeth y Sanhedrin yn gofalu am y Deml a'r hyn a berthynai iddi, a'r un rhai ag y sonir am danynt yn vii. 45 ac Act. v. 26. Yn Luc gelwir hwy yn "gapteniaid y deml" a dywedir fod rhai o'u meistriaid, sef yr awdurdodau Iuddewig, gyda hwy. Fel hyn yr oedd y "dyrfa fawr" ag y sonia yr Efengylwyr eraill am dani yn cael ei gwneyd i fynu o ddwy ran,—milwyr Rhufeinig, a swyddogion ynghydag awdurdodau Iuddewig. **Archoffeiriaid a'r Phariseaid.** Golyga'r gair cyntaf y Sadduceaid, ac yn hanes pwysig yr wythnos hon gosodir hwy o flaen y Phariseaid oblegid y rhan flaenllaw a gymerent. Nid ydyw Ioan un amser yn defnyddio'r enw Sadduceaid. **A lanternau a lampau.** Golyga'r gair cyntaf lugyrn neu lusernau, goleuni wedi ei amgau mewn llestri, a'r ail fflamdorchau neu ffaglau olew. Y maent fel hyn yn parotoi yn ofalus rhag ofn y digwyddai i noson lawn-leuad droi allan yn noson gymylog dywell, ac er mwyn medru chwilio yn effeithiol, pe byddai raid, mewn adeiladau ac ogofeydd.

4 lampau, ac arfau. Yr Iesu gan hynny, yn gwybod pob
peth oedd ar ddyfod arno, a aeth allan, ac a ddywedodd
5 wrthynt, Pwy yr ydych yn ei geisio? Hwy a attebasant
iddo, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt,
Myfi yw. A Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, oedd hefyd
6 yn sefyll gyd â hwynt. Cyn gynted gan hynny ag y
dywedodd efe wrthynt, Myfi yw, hwy a aethant yn ŵysg

---

**ADN. 4. Yr Iesu gan hyny yn gwybod.** Gwyddai fod yr "awr" wedi dod iddo Ef, yn ol y cynllun Dwyfol, i fyned i ddwylaw ei elynion, yr hyn ar achlysuron blaenorol a osgodd (viii. 59; xii. 36). **A aeth allan.** Allan o'r ardd, meddai Westcott, ond byddai yn llawn mor naturiol ac yn fwy dymunol i olygu allan o'r ogof neu'r cysgod oedd yn yr ardd. Gyda'r ymdeimlad uchod fod ei awr wedi dod dengys y gwirfoddolrwydd mwyaf. Y mae Ef ei hun yn myned yn mlaen i gyfarfod y dorf, ac yn cyflwyno ei hunan iddynt. Mor ddiangenrhaid ydoedd y goleuadau ar arfau!

**ADN. 5. Iesu o Nazareth.** Gwell fyddai *Iesu y Nazareniad*, gan ddefnyddio y ffurf yma pan y bydd y gair yn cynwys elfen o wawdiaeth fel yn xix. 19; Matt. xxvi. 71; Marc xiv. 67. Y ffurf wawdlyd, sef Nazareniad, a ddylai fod i'r gair yn Matt. ii. 23, ac nid Nazaread (*Nazarite*). Ymddengys y defnyddiai yr Iuddewon yn aml y gair yn y ffurf wawdlyd yma am yr Iesu a'i ddilynwyr; ond yn yr Actau ni a welwn yr Aposotolion yn troi yr hyn oedd yn enw o wawd i fod, yn eu geneuau hwy, yn enw o ogoniant (ii. 2; iii. 6; iv. 10; vi. 14). Dinas Nazareth ydyw un o'r dinasoedd glanaf, parchusaf a mwyaf dymunol yn y wlad ar hyn o bryd, ond y mae'r Iuddewon trwy eu gwaith yn bwrw yr Iesu allan o'i ddinas ei hun wedi bwrw eu hunain yn llwyr allan o honi, fel nad oes yr un Iuddew a feiddia geisio bod yn un o'i deng mil thrigolion hi. **Myfi yw.** Etyb yr Iesu trwy yn syml ddefnyddio enw ag oedd yn gyffredin gyda'r Iuddewon fel enw ar y Goruchaf, sef—"Yr Ydwyf," a naturiol fuasai i'r Iuddewon yn y dorf gael eu taro gan ddefnyddiad yr enw. **Judas.** (Gwel ar vi. 71; xiii. 18). Nis gellir edrych ar Judas fel cymeriad ffugiol wedi ei greu gan Gristionogion er gosod allan y fradwriaeth Iuddewaidd a ddygodd oddiamgylch farwolaeth yr Iesu. Oblegid fel yr awgryma Keim byddai yn hollol afresymol meddwl fod Cristionogion yn creu y fath gymeriad fel ag i'w ddodi yn un o ddewis ddysgyblion yr Iesu. Gan fod Judas mewn gwirionedd yn un o'r dysgyblion er nad yn wir ddysgybl, y mae'r cwestiwn yn codi, Sut y bu i'r Iesu ei alw a'i osod yn fath safle? Gwel ar xiii. 2. **A'i bradychodd.**—Gwell yw *a'i bradychai*. Yr oedd y bradychiad eisoes wedi dechreu ac yn parhau i fyned yn mlaen. Gwnaeth yr olwg hon ar ei hen gyd-ddysgybl yn sefyll gyda'r gelynion argraph annileadwy ar feddwl Ioan. Yn adn. 5—9 rhydd Ioan hanes nad yw i'w gael gan yr Efengylwyr eraill, ac y maent hwythau yn croniclo "y cusanu" yr hyn na wneir ganddo ef. O'r ddau y tebycaf yw mai yr hyn a groniclir gan Ioan a gymerodd le gyntaf, ac felly mai yr Iesu oedd yr un i roddi y cam cyntaf yn yr ardd.

eu cefnau, ac a syrthiasant i lawr. Am hynny efe a ofynodd 7
iddynt drachefn, Pwy yr ydych yn ei geisio? A hwy a
ddywedasant, Iesu o Nazareth. Yr Iesu a attebodd, Mi 8
a ddywedais i chwi mai myfi yw: am hynny os myfi yr
ydych yn ei geisio, gadêwch i'r rhai hyn fyned ymaith: Fel y 9
cyflawnid y gair a ddywedasai efe, O'r rhai a roddaist i mi,
ni chollais i yr un. Simon Petr gan hynny a chanddo 10

---

**ADN. 6. Hwy a aethant . . . . . lawr.** Pwy? Ai yr holl dorf gan gynwys y milwyr Rhufeinig, ynte Judas a'r cyfryw rai o'r awdurdodau a'r swyddogion Iuddewig ag oeddynt, oblegid euogrwydd yn foesol wan, ac wedi cael hefyd ar achlysuron blaenorol arddangosiadau o fawr nerth a dylanwad yr Iesu? I'r rhai diweddaf hyn gyda'u cynlluniau dichellgar yr oedd yr olwg ar yr Iesu glân a diniwed yn un ddychrynllyd. Gwell genym, fodd bynag, ddeall ddarfod i'r holl dyrfa mewn braw a gwyleidd-dra syrthio yn ol oddigerbron yr Iesu oherwydd yr olwg a geid arno yn cyflwyno ei hunan i'w dwylaw gyda'r fath hunan-feddiant a'r fath hunan-aberth. A ydym i edrych ar hyn fel effaith gweithrediad gwyrthiol? Y mae hanes am rai trwy y dylanwad moesol a berthynai iddynt yn gwneyd eu gelynion yn hollol fud yn eu presenoldeb, a'r rhai a ddelent i'w dàl yn rhy wan i allu gwneyd hyny. Y mae hanes hefyd am rai drwy eu hymddangosiad gwrol yn unig yn gwneyd hyd yn nod i frenin y goedwig gilio draw oddiwrthynt. Ond yn ychwanegol at unrhyw ddylanwad o'r fath a allasai fod ar waith rhaid cofio fod yr Arglwydd Iesu o ran ei Berson yn wyrthiol, ac o ganlyniad, hollol naturiol fyddai i'w ymddangosiad gael ei deimlo yn anorchfygol megis ag y teimlid ei ddysgeidiaeth yn vii. 46. Trwy yr amgylchiad hwn dangoswyd yn amlwg iawn mai o hono ei hun yr oedd Ef yn myned i afael y gelynion ac y gallasai gyda rhwydd-der waredu ei hun; a thrwyddo hefyd dangosir wrthuni yr ensyniad o eiddo Renan mai ildio y mae'r Iesu oblegid cael ei hun wyneb yn wyneb a'r fyddin Rufeinig.

**ADN. 7.** Trwy ail-ofyn y cwestiwn iddynt y mae megis yn eu galw a'u symbylu at y gwaith y daethant i'w gyflawni. Yn eu hatebiad nid ydynt yn gallu ymgodi uwchlaw ail-adrodd y *warant* a roddasid iddynt.

**ADN. 8. Os myfi . . . . rhai hyn.** Gwelir yn y fan hon deimlad ac ymddygiad teilwng o'r Iesu ei hun. Parod ydoedd Ef, i'r hwn y rhoddasid "awdurdod ar bob cnawd," i ddefnyddio ei allu a'i awdurdod er estyn gwaredigaeth dymhorol iddynt hwy yn ogystal ag er rhoddi iddynt fywyd tragwyddol (xvii. 2).

**ADN. 9. Fel y cyflawnid y gair.** Cyfeiriad sydd yma at dystiolaeth yr Iesu yn xvii. 12, er fod ychydig o wahaniaeth geiriol yn y dyfyniad. Ystyr dymhorol yn unig a rydd Ioan i'r gair "colli" tra y teimlir fod i'r gair yn ngenau'r Iesu ystyr ysbrydol hefyd. Y mae'r benod flaenorol yn dangos fod y "cadw" sydd trwy Grist nid yn unig yn gadw rhag y drwg sydd yn y byd, ond yn gadw i fywyd tragwyddol. Cyflawniad rhanol felly o air yr Iesu a ddeuai i'r golwg yn arbediad y dysgyblion yn yr ardd. Yn y fan hon, yn ddiau, y dylid rhoddi i mewn weithred

gleddyf, a'i tynnodd ef, ac a darawodd was yr arch-offeir-
iad, ac a dorrodd ymaith ei glust ddehau ef: ac enw y
11 gwas oedd Malchus. Am hynny yr Iesu a ddywedodd
wrth Petr, Dod dy gleddyf yn y wain: y cwpan a roddes y
12 Tad i mi, onid yfaf ef? Yna y fyddin, a'r milwriad, a

---

Judas yn cusanu yr Iesu. Y mae yn ei gusanu yn helaeth ac yn ymddangosiadol serchog. Y mae'r cusan ag oedd i'r awdurdodau a'r milwyr yn arwydd er dynodi allan yr Iesu yn cael ei wneyd i ymddangos i'r Iesu a'i ddysgyblion fel pe yn arwydd o'r serchowgrwydd mwyaf tuag ato ac o'r ymlyniad cynhesaf wrtho. Fel peth nad oedd o angenrheidrwydd yn rhan o'r bradychiad y mae y cusanu yma yn effeithiol iawn yn dangos maint ac erchylldra y bradychiad (Luc xxii. 48), ac yn weithred yn mha un y condemnia y bradychwr ei hun trwy ei bod yn dangos beth ddylasai yr Iesu fod iddo ef, sef un i'w anwylo a'i anrhydeddu.

**ADN. 10. A chanddo gleddyf.** Yn ol Luc xxii. 38 yr oedd gan arall o honynt ddagr neu gleddyf byr yn guddiedig o dan ei ddillad. Yn yr ardd gofynant a gaent ddefnyddio eu cleddyfau, a chyn i'r Iesu roddi ateb yr oedd cleddyf Petr ar waith. Hawdd gweled Petr yn y weithred, a gweled ynddi y byrbwylldra a barodd iddo ar adeg flaenorol gyflawni gweithred fwy anmhriodol na hon (Marc viii. 32). **Glust ddehau . . . . Malchus.** Gwelir mai y rhan Iuddewig o'r dorf oedd ar y blaen, a'r fyddin Rufeinig y tu ol iddynt. Yn yr olwg gyntaf ar y dorf, ac yn arbenig wrth weled mor ddigymorth oeddynt oll o dan effaith geiriau'r Iesu, symbylwyd Petr i ddefnyddio ei gleddyf; ond ar ol hyn ffodd fel y dysgyblion eraill yn gwbl ddigymorth. Dywed pob un o'r Efengylwyr ddarfod i glust gwas yr archoffeiriad gael ei thori ymaith, ond y mae Ioan yn rhoddi manylion—pa glust ydoedd, pwy a'i torodd, a beth oedd enw y gwas. Dywedir fod Malchus yr un enw a Maluc (Malluch) yn 1 Chron. vi. 44, a Malichu (Malluchi) yn Neh. xii. 14, ac mai ei ystyr yw teyrnasu. Yr oedd yn enw cyffredin iawn yn mysg y Syriaid, ac felly y mae yn eithaf tebygol mai un o'r "barbariaid" oedd y caethwas hwn, ac mai ei weled ef yn dodi dwylaw geirwon ar yr Iesu a barodd i Petr gyffroi yn ei erbyn.

**ADN. 11. Dod dy gleddyf yn y wain.** Y mae'r geiriau yn Matt. xxvi. 52 yn helaethach. Y mae'r Iesu yn dodi arbenigrwydd ar ddull newydd o orchfygu. Yn lle gorchfygu trwy rym arfau, yr hyn a allasai ei wneyd yn rhwydd pe galwasai ei ddeuddeg lleng o angelion i'r maes (Matt. xxvi. 53), y mae Ef yn gwneyd hyny trwy oddefgarwch, mwyneidd-dra, ac ufudd-dod hyd angeu. Y mae'n gwestiwn onid yw y geiriau hyn yn cynwys cenadwri neillduol oddiwrth Frenin y brenhinoedd at lywodraethwyr y byd sydd yn trefnu ei ryfeloedd ac yn gyfrifol am y tywallt gwaed sydd ynddo. **Y cwpan.** Y mae cwpan yn un o eiriau ffugyrol mwyaf pwysig y Beibl. Weithiau golyga *ran* y dyn duwiol—"Yr Arglwydd yw rhan fy etifeddiaeth i a'm phiol;" weithiau *ran* y dyn annuwiol—"Ar yr annuwiol y gwlawia Efe faglau tân a brwmstan a phoethwynt ystormus, dyma ran eu phiol hwynt"; ac weithiau fel

swyddogion yr Iuddewon, a ddaliasant yr Iesu, ac a'i

---

"cwpan erchyll" y sonir am dynged y colledigion; ond mwy pwysig na'r un ystyr arall i'r gair yn y Beibl ydyw yr un pan y mae cwpan yn arwyddlun o ddyoddefiadau'r Iesu. Sonia y Pedwar Efengylydd am gwpan ynglyn a'r dyoddefiadau, gyda'r gwahaniaeth mai gweddio am i'r cwpan fyned heibio a wna'r Iesu yn ol y tri cyntaf, ond mai datgan penderfyniad i'w yfed a wna yn ol Ioan. Beth ydoedd y cwpan—pa un ai yr hyn a brofodd yr Iesu yn Gethsemane ynte yr hyn a brofodd ar y Groes? Syniad ag sydd wedi bod yn lled gyffredin yn y gorphenol ydyw mai cwpan a ddaeth i ran yr Iesu i'w yfed yn Gethsemane yw yr un ag y gweddia am gael Ei waredu rhagddo. Pan yr ydoedd gwyneb yr Iesu yn sefydlog ar farw, ac wedi bod felly o dragwyddoldeb, y mae ar ei ffordd i'r Groes yn cael ei ddal gan y fath ddychrynfeydd a loesion nes y mae yn ofni y byddai iddo ddiffygio cyn cyrhaedd yno, a'r ofn a'r dychryn yna, meddir, oedd y cwpan. Cydnabyddir bellach nad yw Hebreaid v. 7—9 yn rhoddi dim sail i'r syniad tlws yna, ac y mae'r adnod hon yn bur bendant yn ei erbyn; oblegid pan oedd ing yr ardd trosodd y llefara yr Iesu am y cwpan fel peth ag yr oedd Ef yn myned i'w yfed yn y dyfodol. Nid ing Gethsemane felly oedd y cwpan, ond y Croeshoeliad. **A roddes y Tad**. Ceisiodd yr Iesu am unwaith help oddiwrth ei ddysgyblion—i hyny y cymerodd hwy gydag Ef i ymneillduaeth yr ardd, cafodd angel i'w nerthu, ond yn benaf peth galluogwyd Ef i ddod i'r penderfyniad tawel hwn o yfed y cwpan oedd yn ei aros gan yr ymdeimlad mai cwpan a roddai y Tad iddo ydoedd. Cafodd yr ymdeimlad hwn fel canlyniad i'w waith yn gweddio yn ddyfal ar ei Dad. Deallodd nad oedd gan ei Dad gyda'i allu a'i ddoethineb anfeidrol yr un cynllun arall i gyrhaedd amcanion yr Arfaeth Dragwyddol. Y mae amryw bethau i'w gweled yn y penderfyniad hwn o eiddo'r Iesu, megis (1) ei gred ddiderfyn yn *llywodraeth* ei Dad—ei Dad ac nid neb arall oedd yn rhoddi iddo y cwpan hwn; (2) ei gred yn *ngallu* a *doethineb* diderfyn ei Dad fel trefnwr; (3) ei ymdeimlad sicr a thawel o'r *daioni* anfeidrol—ei Dad ydoedd. Yr oedd y Tad yn Drefnwr a'r Trefnwr yn Dad.

**ADN. 12. A'r milwriad.** Y mae'r gair Cymraeg yn gyfieithiad lled dda o'r Groeg yn y fan hon sef *chiliarchos* (un yn llywodraethu mil). Nid oes yn y Saesnaeg air gwell na *colonel* neu *chief captain*. Y mae'r *chiliarchos* drachefn yn lled gyfateb i'r *tribunus militum*, sef un o swyddogion uchel y fyddin Rufeinig a arferai ofalu am fyddin (*cohort*) o wyr. Hŵn ydoedd prif swyddog byddin Antonia. (Gwel adn. 3).

### YR IESU O FLAEN Y LLYSOEDD IUDDEWIG. ADN. 13—27.

Y mae hanes y profi fu ar yr Iesu gan Iuddewon yn dwyn ger ein bron dri chwestiwn pur anhawdd. (1) A ydym i wahaniaethu rhwng y prawf o flaen Annas a'r un o flaen Caiaphas? Pe dibynem ar y tri Efengylydd cyntaf ymddangosai *(a)* ddarfod i'r Iesu, wedi ei ddal, gael ei ddwyn o flaen Caiaphas; *(b)* fod aelodau o'r Sanhedrin yn bresenol gyda Caiaphas (Matt. xxvi. 57; Marc xiv. 53); *(c)* fod cyfarfod priodol o'r "cynghor" wedi ei gynal ar ol yr eisteddiad yna,

pan yr "aeth hi yn ddydd" (Luc xxii. 66). Ond y mae Ioan yn dilyn yr Efengylwyr eraill, ac fel pe o fwriad yn cywiro yr argraph mai o flaen Caiaphas yr ymddangosodd yr Iesu gyntaf, gan ddangos iddo ymddangos o flaen Annas yn flaenorol. Y mae'r ymddangosiad o flaen Annas ei hunan yn un ag y rhaid ei wahaniaethu oddiwrth yr ymddangosiad o flaen Caiaphas ac aelodau y Sanhedrin. Tybir nad oes dim o hanes y prawf o flaen Annas ar gael, os bu prawf hefyd, mai yr oll a wyddom yw, ddarfod i'r Iesu ymddangos o'i flaen, ai fod yn beth tebygol iawn fod yr ymddangosiad hwnw yn hollol ffurfiol. Yn ol hyn hanes y prawf a fu o flaen Caiaphas yw yr un a roddir gan Ioan yn y benod hon (adn. 19—23). Ymddengys fod y cam-ddarlleniad o adn. 24 i raddau helaeth yn cyfrif am y golygiad hwn. Ond wedi cael ystyr briodol yr adnod hono, a chydmaru y prawf y rhydd Ioan hanes am dano gyda'r prawf ag y rhoddir ei hanes gan y lleill gwelir eu bod yn ddau brawf gwahanol. Hanes y prawf o flaen Caiaphas ac aelodau y Sanhedrin y mae'r Efengylwyr eraill yn ei roddi, gan o bosibl anwybyddu y prawf o flaen Annas fel peth cwbl ffurfiol a rhagbarotoawl, a'r prawf o flaen Annas a roddir yn unig gan Ioan gan ystyried ei grybwylliad yn xi. 47—49 at deimlad Caiaphas yn y mater ynghyda'r hanes am y prawf o flaen Caiaphas fel y rhoddir ef gan yr Efengylwyr eraill yn ddigonol. (2) Yr ail gwestiwn yw—Pa bryd y darfu i Petr wadu yr Iesu—ai yn ystod yr ymddangosiad o flaen Annas, ynte yn ystod yr un o flaen Caiaphas? Yn ol Matthew a Marc cymerodd y gwadiad le tra yr oedd yr Iesu o flaen Caiaphas, ond os ydym yn iawn mewn cymeryd yr hanes yn Ioan fel hanes y prawf o flaen Annas, yna y mae'n rhaid deall fod y gwadiad wedi cymeryd lle yn ystod y prawf hwnw. Er y gall y mater hwn ymddangos yn bur ddyrys y mae cysondeb perffaith i'w ganfod ond ystyried mai yn yr un palasdy mawr yr oedd ystafelloedd Annas a Chaiaphas. Yn ol y trefniad mewn tai Dwyreiniol elid i mewn o'r heol trwy borth i gyntedd eang, o amgylch a thuagat yr hwn yr oedd holl ystafelloedd y palasdy yn gwynebu. Ar y naill ochr i'r cyntedd yr oedd ystafelloedd Annas, ar yr ochr arall ystafelloedd Caiaphas. Yn y cyntedd agored yn nghanol y palasdy yr oedd y gweision wedi gwneyd iddynt eu hunain dân, a Phetr yn ymgymysgu â hwynt. Dechreuodd Petr wadu tra y bu yr holi o flaen Annas, a gwadodd y drydedd waith pan yr arweinid yr Iesu heibio iddo ar draws y cyntedd o'r naill fan i'r llall. (3) Y trydydd cwestiwn yw—A ddedfrydwyd yr Iesu gan gyfarfod rheolaidd o'r Sanhedrin? Y mae'n amlwg i gyfarfod rheolaidd o'r Sanhedrin gael ei gynal yn y bore, ond y mae amheuaeth a wnaed unrhyw beth yn y cyfarfod hwnw heblaw gweithredu yn ol y ddedfryd a benderfynwyd arni yn ystod y nos, gan ymofyn sut i gael gan Pilat ei chario allan. Dengys Matthew mai *ymgynghori* a wnaethant yn y cyfarfod boreuol yma ynghylch y modd "y rhoddent Ef i farwolaeth." Ond y mae'n gwestiwn

rhwymasant ef, Ac a'i dygasant ef at Annas yn gyntaf: 13
canys chwegrwn Caiaphas, yr hwn oedd arch-offeiriad y

---

a oedd y cyfarfod a gynhaliwyd yn y nos yn rheolaidd o gwbl. Barna Dr. Jost, un o'r prif haneswyr Iuddewig, nas gellir ei ystyried yn rheolaidd. Gwelir nad oedd yr *oll* o'r aelodau yn bresenol, a'i farn ef ydyw, nid nas gallwyd mo'u cynull yn ystod yr amser byr y bu'r Iesu o flaen Annas, ond nad amcanwyd at alw ond cân gymaint o honynt ag oeddynt eisoes yn benderfynol o roddi'r Iesu i farwolaeth, ac felly mai *packed meeting* ydoedd y cyfarfod o drefniad. Ac erbyn ystyried, sut y gellir cyfrif, os oeddynt yn bresenol, am ddistawrwydd Nicodemus ac eraill, y rhai, yn flaenorol i hyn, a godasent eu llef yn effeithiol?

Arferid penderfynu materion cyfreithiol yn y trefydd lleiaf gan dri barnwr ac yn y trefydd mwyaf gan dri ar hugain, ond gofynid fod i'r holl Sanhedrin yn gynwysedig o 71 gael ei chynull i ystyried achosion yn haeddu marwolaeth. Gwelir afreoleidd-dra pellach ynglyn â'r adeg a'r lle y cynhaliwyd y llys. Nid oedd eisteddiad o'r pwys yma i fod ond yn y fan arferol yn y Deml; nid oedd i'w gynal yn y nos ond yn y bore, sef o'r adeg y gorphenid y gwasanaeth boreuol hyd haner dydd; ac nid oedd i'w gynal ar y Sabbothau nac ar adeg y Gwyliau. Fel hyn ar amryw gyfrifon yr oedd y cynulliad nosawl yn nhŷ Caiaphas yn un afreolaidd i ddedfrydu yr Iesu i farwolaeth. Ac eto rhaid dyweyd i'r cynulliad ffurfiol a rheolaidd ben boreu ychwanegu rhyw gymaint at ei rym.

**ADN. 13. Annas.** (Gwel ar xi. 49). Yr oedd yn fawr ei ddylanwad yn nghylchoedd crefyddol y genedl, er nad oedd crefydd gydag ef yn ddim ond marsiandïaeth fydol. Yr oedd ganddo gyfoeth aruthrol, a hwnw gan mwyaf wedi ei dynu oddiwrth y farchnad grefyddol lygredig a gerid ymlaen yn mhyrth y Deml, ac yn y masnachdai a adnabyddid fel "Pebyll meibion Annas" ar Fynydd yr Olewydd. Yr oedd cribddeiliaeth y teulu yn ddiarhebol fel ag i lawn gyfreithloni i'r Iesu ddyweyd fod y teulu hwn wedi gwneyd ty ei Dad "yn ogof lladron." Annas, am tua haner canrif, a fu megis ysbryd llywodraethol y genedl Iuddewig. Trachefn, oblegid y safle a roddid iddo gan ei gyfoeth a chan y llwgrwobrau a gyfranai, ac oblegid ei fod fel Sadducead yn barod i gyd-weithio gyda'r Rhufeiniaid, yr oedd yn fwy ei ddylanwad gyda'r rhai hyny na neb arall yn y wlad. Ni buasai ei fod ef ei hunan yn parhau yn y swydd archoffeiriadol hyd ei farwolaeth yn ei wneyd yn fwy, o bosibl y gwnaethai hyny ef mewn rhai cylchoedd yn llai dylanwadol. Ni raid, er cyfrif am y lle amlwg sydd iddo yn yr hanes, dybied ei fod yn gweithredu fel *nasi*, llywydd y cynghor, nac ychwaith fel *sajan*, dirprwywr i'r Archoffeiriad. Erbyn ystyried y cwbl nid rhyfedd fod y milwriad Rhufeinig a'r swyddogion eraill yn arwain yr Iesu yn gyntaf at Annas, a'r tebyg yw eu bod yn gwneyd hyny yn ol trefniad blaenorol. Yr oedd y palasdy archoffeiriadol yn nghŵr Deheuol y ddinas, a chredir na ddarfu iddynt arwain yr Iesu yno trwy y ddinas, ond ddarfod iddynt

14 flwyddyn honno, ydoedd efe. A Chaiaphas oedd yr hwn a
gynghorasai yr Iuddewon, mai buddiol oedd farw un dyn
dros y bobl.
15 Ac yr oedd yn canlyn yr Iesu, Simon Petr, a disgybl
arall : a'r disgybl hwnw oedd adnabyddus gan yr arch-
offeiriad, ac efe a aeth i mewn gyd â'r Iesu i lys yr arch-
16 offeiriad. A Phetr a safodd wrth y drws allan. Yna y
disgybl arall yr hwn oedd adnabyddus gan yr arch-offeir-
iad, a aeth allan, ac a ddywedodd wrth y ddrysores, ac a

---

o'r ardd fyned i lawr ar hyd dyffryn Cedron ac yna i fyny ar hyd dyffryn Hinnom gan haner-amgylchu y ddinas. **Y flwyddyn hono.** (Gwel ar xi. 49).

**ADN. 14. A Chaiaphas . . . . . gynghorasai.** (Gwel ar xi. 47—51). Y ddau archoffeiriad hyn—Annas a Chaiaphas—yw y rhai a arweiniasant mewn dwyn oddiamgylch ffaith ddychrynllyd y Croeshoeliad. Rhydd y Talmud mewn geiriau cryfion ddesgrifiad pruddaidd o ystâd pethau o dan lywyddiad yr archoffeiriaid hyn, a chondemnia yn llym "eu chwythiad sarphaidd" a'r drafodaeth "hustingol"—y *wire-pulling* anheilwng ac afiach a garient ymlaen nes "fod moesau'r wlad yn cael eu llygru, barn yn cael ei gwyrdroi a'r 'Seceinah' yn ymadaw o Israel."

**ADN. 15. Yn canlyn.** Yr amser anmherffaith; a gwelir oddiwrth Matt. xxvi. 58 mai rhyw ganlyn anmherffaith oedd y canlyn—canlyn "o hirbell" ydoedd. Fodd bynag, efe ydoedd un o'r ddau gyntaf i ymwroli ar ol y ffoi llwfr yn yr ardd. **A dysgybl arall.** Ioan yn ddiau ydoedd hwnw. Nid yw yn enwi ei hunan, ond bob amser defnyddia ryw ymadrodd megis hwn. **Oedd adnabyddus.** Anhawdd ydyw dyweyd sut yr oedd felly. Tybia rhai y gallasai fod trafnidiaeth fasnachol yn bod rhwng teulu Ioan a theulu yr Archoffeiriad. Y mae'r ffaith a nodir yn y fan hon yn un o'r pethau sydd yn gosod Ioan allan fel aelod o deulu cyfrifol, parchus ac adnabyddus yn y wlad. **Lys yr archoffeiriad.** Ar ymyl y ddalen, *neuadd.* Cymerwyd yr Iesu i ryw ystafell neu neuadd yn y palasdy archoffeiriadol mawreddog, a dilynwyd Ef yno gan y dysgybl anwyl. A chaniatau fod gan Annas balasdy arall gwahanol i'r un Archoffeiriadol, fel y mae lle cryf i gredu fod, y mae'r hanes yn gofyn am i ni ddeall mai yn yr un palasdy yr oedd Annas a Chaiaphas yn ystod y noson y dygwyd yr Iesu ger eu bron. Yr oedd y palasdy hwn yn gartref i Caiaphas yn rhinwedd ei swydd, ac oblegid yr ystyriaethau a nodwyd eisoes, y mae'n debygol iawn fod rhan o hono at wasanaeth Annas.

**ADN. 16. A safodd wrth y drws allan.** Y mae hyn yn awgrymiadol iawn o ystâd meddwl ac o sefle beryglus Petr. Rheswm Luther am y lle amlwg a roddir i wadiad Petr ydyw yr angenrhaid pan yn son am ddyoddefiadau yr Iesu i gyfeirio sylw hefyd at bechodau'r byd. **Ddug Petr i mewn.** I'r neuadd fawr agored ag oedd ynghanol y palas (cyd. Matt. xxvi. 69).

ddug Petr i mewn. Yna y dywedodd y llangces oedd 17
ddrysores wrth Petr, Onid wyt tithau o ddisgyblion y dyn
hwn? Dywedodd yntau, Nac wyf. A'r gweision a'r 18

---

**ADN. 17. Yna,** neu *gan hyny*. Y cysylltiad ydyw hwn—Ioan "a ddywedodd wrth y ddrysores" . . . . "a'r llances oedd ddrysores, gan hyny, a ddywedodd wrth Petr." Oni bai am yr hyn a ddaw i'r golwg trwy y cysylltiad hwn gallesid tybied nad oedd y llangces yn adnabod Ioan ond fel un wedi cael caniatad gan rywun o'r awdurdodau i fyned i mewn; ond ymddengys oddiwrth hwn ei bod hi yn adnabod Ioan fel un o ddysgyblion yr Iesu, ac mai cysylltiad Petr ag Ioan a awgrymodd iddi hi y gall fod Petr hefyd yn un o'r dysgyblion. **Dywedodd yntau, Nac wyf.** Y mae'r gwadiad yn un o'r ffeithiau mwyaf sicr ac amlwg, ac eto y mae amgylchiadau y gwadiad yn cyflwyno amryw anhawsderau o bwys. Y mae hon yn ffaith ddigon pwysig i'r holl Efengylwyr ei chroniclo, ond eto rhaid sylwi ar y pethau hyn. (1) Y ceir gwahaniaeth geiriol rhyngddynt wrth ragfynegi y ffaith (cyd. Matt. xxvi. 34; Marc xiv. 30; Luc xxii. 34; a Ioan xiii. 38). Yn mhellach, ceir ddarfod i'r rhagfynegiad gael ei wneyd yn ol Matthew a Marc ar ol y Swper, ond yn ol Luc a Ioan yn ystod y Swper. (2) Y mae'r pedwar Efengylwr yn croniclo tair gweithred o eiddo Petr yn gwadu, ond nid yw yn ymddangos eu bod yn gyson a'u gilydd wrth nodi y personau wrth ba rai y mae yn gwneyd hyny. (3) Yn ol Matthew a Marc cymerodd le yn ystod y profi o flaen Caiaphas, tra yn ol Ioan yn ystod y profi o flaen Annas. O berthynas i'r anhawsder cyntaf, pan y gwelir fod genym bedwar hanes hollol annibynol, nid ydyw gwahaniaeth mewn manylion ond peth ag y gellid ei ddisgwyl. Hawdd iawn, er engraipht, fyddai cymysgu yr hyn a lefarwyd yn ystod y Swper gyda'r hyn a lefarwyd ar ei ol, neu gymysgu yr hyn a lefarwyd yn yr oruwchystafell gyda'r hyn a lefarwyd ar y ffordd i'r ardd. O berthynas i'r ddau anhawsder arall nid ydynt yn anhawsderau ag y mae yn anmhosibl rhoddi eglurhad lled foddhaol arnynt, ac yn sicr nid ydynt yn anghysonderau ag sydd yn tynu oddiwrth wirionedd a gwerth yr hanes, yn enwedig pan y cymerir y ddau beth canlynol i ystyriaeth. (*a*) *Mai mewn gwahanol ranau o'r un adeilad y cafodd yr Iesu ei brofi o flaen Annas ac o flaen Caiaphas.* Y mae'r hanes yn y benod hon yn dangos yn eglur fod y rhan cyntaf o'r gwadiad yn cymeryd lle yn ystod y prawf o flaen Annas. Y mae'r hanes yn yr Efengylau eraill yn dangos yr un mor eglur mai ar ol prawf o flaen Caiaphas ac aelodau o'r Sanhedrin y cyrhaeddodd y gwadiad ei bwynt terfynol. Yn ystod y ddau eisteddiad hyn yr oedd Petr "allan" yn y neuadd agored; ac os oes rhaid deall fod yr Iesu yn myned heibio iddo pan yr "edrychodd arno," gallasai hyny yn hawdd gymeryd lle pan oedd yr Iesu yn dychwelyd o lys Caiaphas ar draws y neuadd lle y safai Petr. Y cwbl sydd yn ofynol er cael hanes cyson a chlir ydyw deall fod Annas a Chaiaphas y noson hon i'w cael yn yr un palasdy, ac mai yn neuadd agored y palasdy hwnw y bu Petr yn gwadu tra yr oedd ei Arglwydd yn cael ei brofi. (*b*) *Ein bod i edrych ar y tri gwadiad* nid fel tair gweithred ond *fel tri amgylchiad*, yn mha rai y bu gwadu yn myned yn mlaen. Oddiwrth Luc gwelir na chymerodd y tri gwadiad le heb fod yspaid o amser rhyngddynt; yr oedd yn wir tuag

swyddogion, gwedi gwneuthur tân glo o herwydd ei bod hi yn oer, oeddynt yn sefyll, ac yn ymdwymno: ac yr oedd Petr gyd â hwynt yn sefyll, ac yn ymdwymno.

---

"awr" rhwng yr ail a'r trydydd. Hefyd, y mae'n amlwg mai amgylchiadau arbenig a fu yn foddion i ddwyn pob un o honynt oddiamgylch. Ac ond i ni feddwl am dri amgylchiad o wadu gellir deall ei fod ar un neu ragor o'r amgylchiadau hyn yn gwadu wrth fwy nag un person, yn enwedig pan y cofiom fod y gwadu i gyd wedi cymeryd lle yn ystod yr adeg y bu yn cymysgu gyda'r lluaws gwasanaethyddion yn y neuadd. Ynglyn â'r ail wadiad y teimlir yr anhawsder mwyaf. Cydmarer Matt. xxvi. 71; Marc xiv. 69; Luc xxii. 58; a Ioan xviii. 25, a gwelir mai gwadu y mae yn ol Marc wrth *yr un llances* ag o'r blaen, yn ol Matthew wrth *forwynig arall*, yn ol Luc wrth *ryw ddyn*, ac yn ol Ioan wrth *luaws o honynt* Ond nid oes yma anhawsder. Yr ydym yn syml i ddeall ei fod ar yr amgylchiad hwn yn gwadu wrth yr un llances ag o'r blaen, wrth lances arall hefyd, ac wrth un o'r dynion, ac felly, fel y sylwa Ioan, y mae'n gwneyd hyny wrth amryw. Y mae cysoni yr hanes am yr ail wadiad yn bosibl mewn ffordd arall, fel hyn: Gwelir mai y dyn sydd yn siarad â Phetr, siarad gyda'r rhai a safent yn y lle y mae y ddwy ferch, ac y mae Ioan yn cadarnhau fod amryw a llaw ganddynt mewn dwyn oddiamgylch yr ail wadiad. Yn gyffelyb eto ynglyn â'r trydydd gwadiad—fel y dengys Matthew a Marc yr oedd yno amryw ar yr amgylchiad hwn yn ymosod, ond fel y dengys Luc a Ioan mewn atebiad i ryw un arbenig o honynt y mae Petr yn gwadu.

**ADN. 18. A'r gweision a'r swyddogion.** Golyga y gair cyntaf wasanaethyddion y palas, a'r ail y ceidwaid Iuddewig y crybwyllwyd am danynt yn adn. 12. Yr oedd y fyddin Rufeinig ar ol traddodi yr Iesu yn y llys wedi dychwelyd i'w gwersyll yn Antonia. **Tân glo.** Nid oes glo yn cael ei godi yn Mhalestina yn awr. Codwyd ychydig un adeg yn Lebanon a Sidon. Y mae amryw eiriau yn yr H.D. yn cael eu cyfieithu yn "lo," ac wrthynt yr ydym i ddeall marwor rhydderw neu olosg (*charcoal*), y rhai yn y cyffredin a wnaethid o goed. Y mae'r gair Groeg yn y fan hon yn un a'r gair *anthracite*, yr enw arferol genym ni i ddynodi math neillduol o lo.

**Petr gyda hwynt.** Yr ydym i geisio sylweddoli beth ydoedd stâd meddwl Petr pan yn aros yn y neuadd. Yn ddiau teimlai yn ddig wrtho ei hun oblegid ei ymddygiad yn yr ardd. Yr oedd ynddo deimlad o euogrwydd ag oedd yn ei wneyd yn wan, ac yr oedd y gor-wrolder a ddangosodd yn yr ardd wedi ei ddilyn gan yr eithaf cyferbyniol o lwfrdra. Teimlai o bosibl hefyd yn siomedig, yn siomedig na buasai yr Iesu wedi defnyddio yr helaethrwydd diderfyn o allu a feddai er amddiffyn ei hun, a'i gwneyd yn amhosibl i neb ei ddal a'i garcharu. Teimlai yn debyg i fel yr arfera milwyr deimlo tuag at eu cadfridog yr hwn a drosglwyddа ei hunan a'i filwyr i ddwylaw'r gelynion pan nad oedd dim angenrhaid am wneyd hyny. Rhwng pobpeth yr oedd ei frwdfrydedd arferol yn nglyn a'r Iesu wedi pallu, a'i deimladau cynes, cryfion, y nos o'r blaen pan y dywedai "Pe rhwystrid pawb o'th blegid di, eto ni'm rhwystrir i byth," a "Pe gorfyddai i mi farw gyda thi ni'th

A'r arch-offeiriad a ofynodd i'r Iesu am ei ddisgyblion, 19
ac am ei athrawiaeth. Yr Iesu a attebodd iddo, Myfi a 20
leferais yn eglur wrth y byd: yr oeddwn bob amser yn

---

wadaf ddim"—y rhai yna wedi oeri nes y mae yn ymrwystro gyda'r pethau lleiaf ac yn gwadu bob cynyg. Y mae y stâd feddyliol anhapus yr oedd Petr ynddi yn dod i'r golwg yn ei ymddygiadau. Mor wahanol i'w ddull arferol yw ei waith yn canlyn "o hirbell"! mor ddyeithriol yw ei fod ef yn aros yn yr heol pan y mae ei gydymaith Ioan yn myned gyda'r orymdaith i mewn i'r llys! Gweithred o garedigrwydd ydoedd gwaith Ioan yn cael caniatad i'w ddwyn i mewn ar ol i'r pyrth gau, ond trodd hyny allan yn brofedigaeth iddo. Wedi myned i'r neuadd y mae yn gomedd myned yn mlaen gyda Ioan i'r llys er mwyn osgoi safle beryglus, ond trwy wneyd hyn y mae yn dodi ei hun mewn safle fwy peryglus o lawer. Buasai yn well iddo barhau yn yr heol na myned i'r lle yr aeth. Buasai yn ddyogelach ei gyflwr pe yr elai yn mlaen gyda Ioan i ystafell y prawf a phe safai wrth ochr yr Iesu o flaen y barnwr nag yr oedd trwy gymysgu gyda'r gwasanaethyddion yn y neuadd agored. Yno daeth i deimlo oerfel, ac yr oedd yn bod, o bosibl iawn, rhyw gymaint o oerfelgarwch teimlad ag oedd yn gwneyd yr oerfel corphorol yn fwy. Y mae hyn yn ei wthio i ganol rhai ag y gwyddai nas gallant fod yn gyfeillgar tuag ato. Wedi ymuno â hwy daeth i deimlo fod yn rhaid iddo geisio gwneyd ei hun megis un o honynt—perygl y mae y rhai a wnant yr un peth ag ef yn agored iddo o hyd. Testyn ymddiddan y rhai hyn wrth y tân, y mae'n bur debyg, ydoedd y carcharor a'r modd y daliwyd Ef yn yr ardd. Chwerthinent a gwawdient, ac y mae Petr yn cael ei hun yn gorfod gwrandaw arnynt a cheisio ymddangos fel un o honynt. Y mae'n eithaf posibl mai gweled ei anghysoneb a barodd i'r forwynig fethu dal. Ymosodiad eiddil oedd yr ymosodiad cyntaf, a gwadiad gwan ydoedd y gwadiad cyntaf; ond yr oedd y gwadiad gwan wedi iddo unwaith ddod yn ffaith yn myned yn rhywbeth mawr a chryf; ac yr oedd gwaith y dyn yn gwadu mewn geiriau yn cael ei symbylu a'i ategu gan ei waith yn gwadu trwy ei ymddygiadau.

**ADN. 19. A'r archoffeiriad.** Gan mai hanes y prawf o flaen Annas sydd yma, efe yn yr adnod hon ac adn. 22 a elwir felly, tra mai Caiaphas a ddynodir yn adn. 13 a 25. Yn Luc dywedir "dan yr archoffeiriaid Annas a Chaiaphas" ac yn Act. iv. 6 ceir yr ymadrodd awgrymiadol, "Ac Annas yr archoffeiriad a Chaiaphas . . . . a chynifer ag oedd o genedl yr archoffeiriad." Yr eglurhad yw ei fod yn arferiad yn y Test. Newydd fel yn ngweithiau Josephus, i alw yn archoffeiriad nid yn unig yr un oedd ar y pryd yn y swydd ond ei ragflaenwyr ef tra byddent byw. Yn ngwyneb hyn nid ydym yn gweled llawer o rym yn yr wrthddadl fod yr Efengylydd mewn paragraph ag sydd yn son am un archoffeiriad wrth ei enw yn cyfeirio at un arall heb ei enw. Mwy annaturiol, ni dybygem, ydyw golygu, fel y gwna Westcott ac eraill, mai Caiaphas yw yr un sydd yn cwestiyno yr Iesu pan y profid ef o flaen Annas, ac ar ol hyny son am Annas yn anfon yr Iesu i ymddangos o flaen Caiaphas (adn. 24). **Ofyn am ei ddysgyblion ac am ei athrawiaeth.** Ni holwyd mo'r Iesu yn nghylch hyn yn y prawf arall o flaen Caiaphas. Dyben yr holi

athrawiaethu yn y synagog, ac yn y deml, lle mae yr
Iuddewon yn ymgynnull bob amser; ac yn ddirgel ni
21 ddywedais i ddim. Paham yr wyt ti yn gofyn i mi?
gofyn i'r rhai a'm clywsant, beth a ddywedais wrthynt:
wele, y rhai hynny a wyddant pa bethau a ddywedais i.
22 Wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, un o'r swyddogion
a'r oedd yn sefyll ger llaw, a roddes gernod i'r Iesu,
gan ddywedyd, A'i felly yr wyt ti yn atteb yr arch-
23 offeiriad? Yr Iesu a attebodd iddo, Os drwg y dywedais,
tystiolaetha o'r drwg; ac os da, paham yr wyt yn fy nhâro
24 i? Ac Annas a'i hanfonasai ef yn rhwym at Caiaphas yr

---

ydoedd, nid ceisio goleuni ar y pethau, yn gymaint a chwilio am dystiolaethau i'w dwyn yn ei erbyn.

**ADN. 20.** Yn ei atebiad ni ddywed yr Iesu ddim am y dysgyblion, ond cyferfydd yn gadarn yr ensyniad annheilwng fod unrhyw beth dirgelaidd yn perthyn i'w ddysgeidiaeth, a'i fod yntau megis sylfaenydd cymdeithas gudd (*secret society*). Yn hytrach dengys ddarfod iddo (1) lefaru *yn rhydd ac yn eglur* ac *heb attal dim* (hyn ac nid *bob amser* yw'r ystyr briodol i *parrhēsia*); (2) lefaru yn y modd mwyaf cyhoeddus. Gwell nag *yn y synagog* ydyw mewn synagog. Llefaru a wnaethai yn y moddion cyhoeddus. Gwell yw darllen diwedd yr adnod fel yn y Cyf. Diw. "lle bynag y mae'r holl Iuddewon yn ymgynull, ac yn ddirgel ni ddywedais i ddim."

**ADN. 21. Paham.** Gan fod yr Iesu ar Ei brawf annhegwch ac afreoleidd-dra ydoedd ei gwestiyno fel hyn. Gofynai y gyfraith i gŵyn yn erbyn un gael ei sefydlu nid trwy ei holi ef ond trwy ddwyn tystion yn mlaen. Yn ol y gyfraith hefyd dylesid dechreu trwy alw yn mlaen dystion yr amddiffynydd. Ond a oedd gan yr Iesu dystion yn y llys? Ai yn y cymeriad hwnw yr oedd Ioan i mewn?

**ADN. 22. Cernod.** Ar ymyl y ddalen rhoddir y gair *gwialenod*. Y mae'n anhawdd penderfynu pa un ai â gwialen ynte â llaw agored y rhoddwyd y gernod. Ioan yw yr unig un i groniclo yr ymosodiad dirmygus hwn ag sydd i'w wahaniaethu oddiwrth yr un yn Matt. xxvi. 67, a Luc xxii. 63. Gelwir y dyn brwnt yma yn *swyddog*, a swydd yn ddiau oedd y peth pwysicaf yn ei olwg ar wyneb daear. Y mae'n anhawdd gweled yn mha le y cafodd achos i daro yr Iesu, os nad yn ei awydd i enill ffafr ei uwchafiaid. Dengys yr hanes hwn ac Act. xxiii. 2 pa mor amddifad mewn urddas oedd llysoedd yr archoffeiriaid hyn.

**ADN. 23.** Pan nad yw y barnwr na neb arall yn amddiffyn yr Iesu, y mae mewn modd urddasol iawn yn amddiffyn ei hun trwy yn syml ddangos afresymoldeb yr ymosodiad. Cafodd yr Iesu yn hyn gyfle i ddangos sut yr oedd dysgeidiaeth y Bregeth ar y Mynydd i'w roddi mewn gweithrediad (Matt. v. 39).

**ADN. 24. Annas a'i hanfonasai.** Cydnabyddir fod hwn yn gyfieithiad camarweiniol. Darfu y *Textus Receptus* adael allan y gair

arch-offeiriad. A Simon Petr oedd yn sefyll, ac yn ym- 25
dwymno. Hwythau a ddywedasant wrtho, Onid wyt tithau
hefyd o'i ddisgyblion ef? Yntau a wadodd, ac a ddywed-
odd, Nac wyf. Dywedodd un o weision yr arch-offeiriad, 26
(câr i'r hwn y torrasai Petr ei glust,) Oni welais i di gyd

---

*oun (gan hyny)* er ei fod mewn amryw o'r prif lawysgrifau, ac fel canlyniad aethpwyd i ddarllen y ferf orphenol *(aorist)* fel pe buasai yn dra-gorphenol *(pluperfect)*. Y Cyf. Diw. yw, "Annas gan hyny a'i hanfonodd," &c. Penderfyna y cyfnewidiad hwn mai hanes y prawf o flaen Annas a geir yn yr adnodau blaenorol. Ni ddaeth dim o'r prawf hwn; o ganlyniad ail-ddodwyd y rhwymau a gymerasid oddi arno yn ystod y prawf a throsglwyddwyd ef gyda brys i sefyll prawf mwy ffurfiol mewn rhan arall o'r palas.

### PARHAD AM Y GWADIAD. ADN. 25—27.

Ail gydir yn yr hanes am y gwadiad, yr hyn oedd yn myned yn mlaen yn gyfamserol a'r prawf o flaen Annas. Gan mai bŷr iawn a fu y prawf o flaen Annas, nid ydoedd y gwadiad hirfaith (gwel Luc xxii.) ond ar ei ganol pan y mae'r Iesu yn cael ei symud o un llys i'r llall. Cyrhaeddodd y gwadiad ei bwynt terfynol tua'r adeg y diweddodd prawf Iuddewig yr Iesu, feallai yr adeg pan yr arweinid Ef yn ddyn condemniedig allan o lys Caiaphas.

**ADN. 25. Onid wyt tithau.** Gwell yw y ffurf a roddir ar y cwestiwn yn y Cyf. Diw.—"A wyt tithau hefyd yn un o'i ddysgyblion Ef"?—cwestiwn yn cael ei ofyn mewn syndod. Achoswyd y cwestiwn, medd y tri Efengylydd cyntaf, gan leferydd Galileaidd Petr. Y mae ei leferydd rhydd a helaeth a fwriadai ef i fod yn ddangosiad nad oedd a fynai ef ddim oll a'r Iesu yn myned i brofi y gwrthwyneb, ac yn peri i'w gymdeithion wrth y tân mewn syndod ofyn y cwestiwn. Y mae cysylltair i fod yn y fan hon nad yw yn y Cyf. Cymraeg, a dylid darllen—"yn sefyll ac yn ymdwymno. Hwythau *gan hyny*," &c. Awgryma hyn ddarfod i'w cwestiwn gael ei achlysuro gan yr olwg a geid ar Petr fel y gwelid ef yn ngoleuni y tân—ei ymddangosiad dyeithriol a chyffrous, ei edrychiadau mynych tua'r llys, ac os digwyddodd yr ail-wadiad tua'r adeg y symudid yr Iesu o lys Annas i lys Caiaphas y cynhyrfiad rhyfedd a barodd hyny yn ei ymddangosiad ef. Fel hyn yr oedd ei ymddangosiad a'i leferydd yn ei fradychu.

**ADN. 26. Un o weision.** Gwell ydyw *un o gaethweision*. Yr oedd hwn yn gâr i Malchus ac yn gaethwas fel Malchus. Dyma ddangosiad ychwanegol at yr hyn a gafwyd yn adn. 15, 16 o'r gydnabyddiaeth oedd rhwng yr Efengylydd a theulu yr archoffeiriad. **Oni welais i**—yr *i* yn bwysleisiol, y *fi* fel un parod i dystio i mi dy weled a fy llygaid fy hun. Ac eto nid ymddengys iddo ei weled yn tori clust Malchus, gan y buasai felly yn sicr o ddwyn y cyhuddiad yn ei erbyn. Y mae'n bur debyg ddarfod i'r gweision yn nghlywedigaeth Petr gyfeirio at yr amgylchiad hwnw, a gresynu na buasent wedi gallu dal y dysgybl hwnw hefyd. Y

27 âg ef yn yr ardd? Yna Petr a wadodd drachefn; ac yn y man y canodd y ceiliog

---

mae fod câr i Malchus yn ymosod arno (a diau iddo ef gael ei hysbysu o'r berthynas) yn dwyn ei gamymddygiad yn yr ardd yn effeithiol adref nes ei lenwi âg euogrwydd ac ofn.

**ADN. 27. Yna . . . . drachefn.** Trwy hyn nodir allan gysylltiad gyda'r engreifftiau blaenorol o wadu. Dechreuodd Petr gyda rhyw haner gwadu (gwel Marc xiv. 66—68), a'r tro hwnw buasai yn gydmarol hawdd iddo beidio gwneyd. Erbyn yr ail yr oedd yn fwy anhawdd peidio; oblegid heblaw ei fod wedi gwneyd unwaith o'r blaen gwelai fod y rhai ag y gwadai wrthynt yn gwybod am y gwadiad blaenorol. Ac erbyn y drydedd waith y mae nid yn unig wedi syrthio i arferiad o wadu, ond teimla ei hun mewn profedigaeth lem, gan yr ymddangosai ei fod wedi cael ei ddal ac y byddai'n rhwym o ddyoddef am y weithred yn yr ardd. Y canlyniad oedd iddo y tro hwn anghofio ei hunan yn hollol a chadarnhau ei wadiad gyda llwon cryfion. Nid yw Ioan yn croniclo y rhai hyn, ac y mae rhai yn canfod yn ei adroddiad ef yr hyn a alwent yn duedd i beri i ymddygiad annheilwng ei gyfaill ymddangos yn y goleuni goreu oedd yn bosibl. Dyna, meddant, ei amcan wrth nodi mai'r oerfel a'i gyrodd i fysg y gweision, wrth bwysleisio yn fwy na'r lleill fod ei ymosodwyr yn lluosog, ac wrth groniclo am waith hyd yn nod câr i Malchus yn ei gyhuddo. **Y canodd y ceiliog.** Mwy llythyrenol fyddai *y canodd ceiliog.* Digwyddodd hyn yn ol prophwydoliaeth yr Iesu. Gelwir sylw at y ffaith nad oedd y deddfau Rabbinaidd yn caniatau i ieir gael eu cadw y tu fewn i ddinas Jerusalem. Yn atebiad gall mai gan y milwyr Rhufeinig yn Nghastell Antonia yr oedd yr ieir yn nghadw, neu mai ceiliog y tu allan i'r muriau oedd yn cael ei glywed yn llys yr archoffeiriad, neu gall, ac yn llawn mwy tebygol, mai deddf farw ydoedd y ddeddf y pryd hyn. Barn Weiss ydyw nad ydys i feddwl ond am ddull Iuddewig o nodi amser. Golygai caniad cyntaf y ceiliog tua 3 o'r gloch, a'r ail ganiad neu y caniad pwysicaf tua 4 o'r gloch y bore (cyd. Marc xiii. 35). Modd bynag, y mae Marc yn xiv. 30 yn bendant iawn yn son, nid am *ail-ganiad*, ond am *ganiad ddwywaith*, ac yn gyson a hynyna yn niwedd yr un bennod yn rhoddi hanes am geiliog yn canu ddwywaith yn olynol. Y mae yn amlwg nad ydyw o ddim pwys ynglyn â'r brophwydoliaeth pa un ai unwaith ynte dwywaith y darfu i geiliog ganu.

### Y PRAWF RHUFEINIG NEU WLADOL. ADN. 28—40.

Barna amryw mai amcan y cynulliad o'r "Cynghor" yn y bore ydoedd cadarnhau yn gyfreithiol y ddedfryd ag y penderfynwyd arni yn y cynulliad afreolaidd yn y nos. Gall eu bod yn gwneyd hyny rhag ofn i Pilat godi anhawsder yn nglyn a'u dedfryd. Yr oedd y Gyfraith yn groes i basio dedfryd marwolaeth ar un yn y nos, ac yn ystod prysurdeb y gwyliau, ac yn bendant wrthwynebol i ddedfryd marwolaeth gael ei rhoddi mewn gweithrediad yr un diwrnod a'r condemniad. Ond fel y sylwyd nid prawf ydoedd y cyfarfod boreuol hwn, ac nid yw yn ymddangos fod yr Iesu ynddo o gwbl. Ymgynull i ymgynghori a wnaeth-

Yna y dygasant yr Iesu oddiwrth Caiaphas i'r dad- 28
leudy: a'r bore ydoedd hi; ac nid aethant hwy i mewn

---

ant ("*held a consultation*") yn nghylch y modd i weithredu yn fwyaf effeithiol o flaen Pilat, a daw ffrwyth yr ymgynghoriad hwnw i'r golwg. Rhoddir gan Ioan fanylion yn nghylch y prawf gwladol na roddir gan yr Efengylwyr eraill (adn. 28—32; 33—38; a xix. 8—11). Y mae'r hanes gan Ioan yn un a gynyrcha yr argyhoeddiad ei fod yn waith llygad-dyst, yr hwn yn ddibetrus a aethai i mewn i'r Dadleudy megis ag yr aethai hefyd yn wrol i lys yr archoffeiriad.

**ADN. 28. Yna y dygasant.** Y Cyf. Diw. yw—"Dygant gan hyny," sef fel canlyniad y dedfrydiad yn ystod y nos a'r ymgynghoriad yn y bore. **I'r dadleudy.** Cyfieithir y gair am ddadleudy mewn ffyrdd pur amrywiol. *Praitorion* yw y ffurf Roegaidd o'r gair Lladinaidd *prætorium*, yr hwn a ddaw o'r gair *prætor*. Yn Marc xv. 16 rhoddir y cyfieithiad llythrenol Pretorium, ond rhydd y Cyf. Diw. "palas" ar ymyl y ddalen. Yn Matt. xxvii. 27 fel yma y dadleudy (*common-hall*, C. S.), ac ar ymyl y ddalen "ty y rhaglaw," ond yn y Cyf. Diw. rhoddir "palas" yn yr hanes, a pretorium ar ymyl y ddalen. Yn Ioan xviii a xix cyfieithir ef yn "ddadleudy" (*judgment hall*, C. S.) a "ty Pilat" ar ymyl y ddalen, ond rhydd y Cyf. Diw. "palas" yn yr hanes, a "pretorium" ar ymyl y ddalen. Yn gyffelyb yn Act. xxiii. 35 "dadleudy"; "*judgment hall*" C. S., a "palas" Cyf. Diw. Sylwer hefyd ar y Cyf. Diw. yn Phil. i. 13 yn dodi yn lle y "llys" y cyfieithiad o "warchodlu ymherodrol" (*prætorian guard*). Gair milwrol yn fwy nag un barnol yw y gair *prætorium*. Yn Rhufain ei hun defnyddid ef i olygu *prif-luest* (*head-quarters*) y Cadfridog, *palas* un o swyddogion y Llywodraeth a'r *gwarchodlu ymherodrol*. Yn y talaethau pellenig drachefn, hwn ydoedd y gair arferol i ddynodi anneddfan swyddogol y rhaglaw Rhufeinig. Felly yn y penodau hyn. Nid dadleudy neu *judgment-hall* a feddylir, ond preswylfod y rhaglaw, ond a ddefnyddid i ddybenion barnol pan yr oedd galw am hyny. Yn Cesarea, ar lan Môr y Canoldir, y preswyliai Pilat mewn gwychder mawr a chan feddwl am ddim, na cheisio dim, ond moethusder a difyrwch paganaidd; ond ar adeg y gwyliau arferai fyned i Jerusalem fel y byddai i hyny fod yn ddyogelwch rhag terfysg a theyrnfradwriaeth. Tybia rhai mai yn mhalasdy mawreddog Herod Fawr, yr hwn a safai ar ochr Orllewinol y ddinas, ac yn y fan lle y mae y *Citadel* a Phorth Joppa ar hyn o bryd, yr arferai Pilat aros yn ystod ei ymweliadau â Jerusalem; ond llawn mor debygol yw y caniateid i fab Herod Fawr wneyd defnydd o hwnw, sef Herod Antipas, y Swyddog Rhufeinig o Ogledd-barth y wlad a arferai fynychu y gwyliau yn fwy oblegid teimlad o gywreinrwydd nag oblegid teimlad o grefydd. Nid oes achos i amheu y traddodiad mai mewn rhan o Gastell Antonia yn agos i'r Deml yr arhosai Pilat, ac mai yno y profwyd yr Iesu ganddo. **A'r boreu.** Defnyddir y gair sydd yma i nodi adeg benodol yn y boreu: sef adeg y bedwaredd wyliadwriaeth, o 3 hyd 6. Gallai y llys Rhufeinig eistedd mor fuan ag y daethai yn ddydd, ac y mae'n eithaf tebyg fod trefniad wedi ei wneyd y noson gynt iddo eistedd yn blygeiniol iawn. **Rhag eu**

i'r dadleudy, rhag eu halogi; eithr fel y gallent fwytta y

---

**halogi.** Cyfeiria hyn at y ddeddf seremoniol a ddesgrifir yn Exod. xii. 15 a Deut. xvi. Deddf oedd hon yn nghylch myned i ystafell heb ei glanhau oddiwrth lefain. Y fath anghysondeb a ddaw i'r golwg yn y fan hon! Tra yr oedd eu bryd ar dori y chweched gorchymyn, dangosent fawr sel am gadw y defodau seremoniol mwyaf dibwys; tra yr oedd llon'd eu henaid o ddrygioni moesol gofalent rhag i ddim ag oedd yn seremoniol aflan ddyfod i gyffyrddiad â'u cyrph; a thra yr ofnent ymgymysgu â bara lefeinllyd ni phetrusent drochi eu dwylaw mewn "gwaed gwirion."

**Y gallent fwytta y pasc.** Bydd yn fanteisiol i ni yn y fan hon drafod dau gwestiwn gyda'u gilydd y rhai a benderfynant y berthynas cydrhwng y Croeshoeliad a Swper y Pasg. (1) Ar ba ddydd o'r wythnos y bu y Croeshoeliad? Y mae'n amlwg ddarfod i'r Arglwydd Iesu adgyfodi ar ddydd Sul neu y dydd cyntaf o'r wythnos. Arferir son am ddydd yr Adgyfodiad yn ei berthynas a dydd y Croeshoeliad fel *y trydydd dydd*, ac y mae hyn yn ol dull Iuddewig o siarad yn penderfynu pa ddydd oedd dydd y Croeshoeliad. Gyda hwy golygai y trydydd dydd, os byddent yn edrych yn ol *echdoe*, ac os byddant yn edrych yn mlaen *drenydd* (Cyd. Luc xiii. 32). Cawn fod yr ystyr a roddant i'r term *trydydd dydd* yn egluro yr hyn a feddylient pan y sonient am *dridiau* (Gen. xlii. 17, 18 ac Esther iv. 16—v. 1). Yn ol eu dull hwy felly, yr ydym i gymeryd *tridiau* yn y lleoedd canlynol i olygu *hyd y trydydd dydd*—Matt. xii. 40; xxvii. 63, 64; Marc viii. 31. Y trydydd dydd o ganlyniad o edrych yn ol o ddydd yr adgyfodiad a fyddai dydd Gwener. Dyma'r dydd ag y mae bron bawb yn ei ystyried fel dydd y Croeshoeliad, a'r dydd a ystyrir felly gan draddodiad Eglwysig er yn fore iawn. Wrth gwrs y mae y rhai na roddant yr ystyr uchod i "dridiau" yn Matt. xii. 40 yn rhwym o gymeryd dydd Iau fel dydd y Croeshoeliad. (2) Ar ba ddydd o'r mis y bu? Fe gredir yn gyffredinol mai naill ai ar y 14eg neu ar y 15fed o Nisan, ac y mae'r ddadl rhwng y ddau ddyddiad bron yn ddiderfyn. Dibyna pwysigrwydd y cwestiwn ar hyn: os penderfynir ar y 15fed yna y noson flaenorol i'r Croeshoeliad ydoedd y noson arferol a phriodol i fwyta Swper y Pasg Iuddewig; ac os penderfynir ar y 14eg yna y noson ar ol y Croeshoeliad ydoedd yr adeg i swpera. Yn ol Exod. xii. 6—10, yr oedd Oen y Pasg i'w ladd ar y 14eg o Nisan yn y prydnawn neu y "cyfnos," ac yn ystod y nos yr oedd i gael ei fwyta. Yn ol y dull Iuddewig, yr oedd y nos yna yn ddechreuad y 15fed o Nisan. Gan nad pa noson o'r wythnos a fyddai, y noson yna ag oedd yn ddechreuad y 15fed o'r mis ydoedd yr adeg briodol i fwyta Swper y Pasg. Yn awr y cwestiwn yw, pa un ai y nos Iau cyn y Croeshoeliad ynte y nos Wener ar ol y Croeshoeliad ydoedd y nos arbenig yna, neu mewn geiriau eraill pa un oedd y 15fed o Nisan, adeg y pasg arbenig hwn—y diwrnod o fachlud haul nos Iau hyd fachlud haul nos Wener, ynte o fachlud haul nos Wener hyd fachlud haul nos Sabbath (Sadwrn)? Ar y cyfan rhaid dyweyd fod Ioan yn dangos yn eglur mai dilyn y Croeshoeliad a ddarfu Swper y Pasg Iuddewig a dyddiau priodol yr Wyl, a chyda hyny, wrth gwrs, yn dangos mai ar y 14eg o Nisan y bu y Croeshoeliad; ond, ar y llaw arall, y mae'r Efengylwyr eraill yn lled naturiol yn arwain un i

dybied mai ar y 15fed y bu y Croeshoeliad. Y mae Edersheim ac amryw eraill yn credu y rhaid i ni ddeall fod y 15fed o Nisan y tro hwn yn dechreu ar nos Iau, a hyny oblegid fod yr Efengylwyr eraill yn dangos yn glir mai Swper y Pasg rheolaidd ydoedd yr un a fwytaodd yr Iesu gyda'i ddysgyblion. Defnyddir y gair "pasg" yn nglyn ag ef, ac yr oedd pob trefniadau arferol i'w cael ynddo (Luc xxii. 7, 8, 13—15; Matt. xxvi. 17—20 a Marc xiv. 12—17). Noda Edersheim nas gellir meddwl am yr Iesu a'i ddysgyblion yn bwyta'r Pasg Iuddewig noson o flaen y genedl yn gyffredinol; oblegid nas gallent felly gael oen at y pwrpas,—nis gallent hwy fel cwmni weithredu yn eithriadol trwy gymeryd y Swper nos Iau yn lle nos Wener, oblegid mai prydnhawn dydd Gwener y buasai'r ŵyn yn unig yn cael eu hoffrymu. Fel hyn cyhyd ag y mae un yn argyhoeddedig fod y swper a gymerasai yr Iesu gyda'i ddysgyblion yn Swper y Pasg Iuddewig rhaid iddo hefyd feddwl am yr holl genedl yn bwyta y Swper y nos Iau hono.

Ar y llaw arall teimlir fod ystyriaethau pwysig iawn yn erbyn y golygiad yna. Os oedd y nos Iau yna yn noson y Swper Iuddewig yna yr oedd yn ddechreuad y 15fed o Nisan ac yr oedd y dydd hwnw bob amser megys "Sabbath." Y mae Dr. Chwolson, awdurdod Iuddewig, yn nodi rhes o bethau nas gellir meddwl am danynt yn cymeryd lle, o dan unrhyw amgylchiadau, ar y cyfryw ddiwrnod *(a)* y dàl yn yr ardd; *(b)* y prawf yn y llysoedd Iuddewig a gwladol; *(c)* y dyn yn dyfod o'r wlad, h.y. o'r maes, wedi bod yn gweithio ynddo (Marc xv. 21); *(d)* Joseph yn pwrcasu y llieiniau, &c. Y mae pob cyfeiriad yn Efengyl Ioan sef xiii. 1; xviii. 28; xix. 14—31, yn dangos ddarfod i'r Iesu a'i ddysgyblion gymeryd eu swper cyn y Croeshoeliad, ond ddarfod i'r Swper Iuddewig gael ei gymeryd ar ol y Croeshoeliad. Ceisia rhai egluro y cyfeiriadau hyn trwy ddàl mai nid Swper y Pasg oedd yr un ag oedd o flaen yr Iuddewon adeg y prawf, ond y *Chagigah*, sef math o offrwm-diolch a gymerid yn ddiweddarach yn yr ŵyl, ac a elwid weithiau mewn dull llac yn Basg (cyd. 2 Chron. xxxv. 7—9). Y mae eraill wedi ceisio gwneyd yr un peth trwy ddàl fod y genedl yn gyffredinol wedi cymeryd y Swper yr un adeg a swper yr oruwchystafell, ond fod yr awdurdodau wedi bod yn ormod eu prysurdeb gyda'r trefniadau i ddàl yr Iesu i allu ei gymeryd yr adeg briodol, ac o ganlyniad eu bod yn trefnu i'w gymeryd boreu dydd Gwener yn lle hyny. Teimlir nad yw y naill eglurhad na'r llall yn dderbyniol. Y mae Edersheim ac eraill ag sydd yn dilyn yr Efengylau Synoptaidd yn ystyried y ddau yn annaturiol. Y mae Godet yn gryf iawn yn pleidio y dyddiad ag yr arweinir ni gan Ioan i'w fabwysiadu, ac yn nodi y cyfeiriadau canlynol yn yr Efengylau eraill—Matt. xxvii. 62; Marc xiv. 2; xv. 42—46; a Luc xxiii. 53—56—fel rhai sydd hefyd yn cadarnhau y dyddiad yn ol Efengyl Ioan, sef y 14eg o Nisan. Y mae traddodiad Eglwysig drachefn er amser Tertullian ac Epiphanius wedi bod yn llawer mwy pleidiol i'r 14eg nag i'r 15fed. Hoff gan y tadau ydoedd son am yr Iesu yn offrymu ei Hun ar y Groes yr un adeg ag yr offryment ŵyn y Pasg, ac am dano ar yr ŵyl ddiweddaf hon yn hytrach nag yn bwyta yr oen cysgodol yn cyflwyno ei Hun fel y Sylwedd-oen.

Tybia rhai y gwelir yn Ioan amcan amlwg i gywiro yr Efengylau eraill, a hawdd ydyw meddwl ddarfod i'r dysgyblion yn mlaen llaw dybied mai "parotoi" at y Pasg rheolaidd a wnaent, ac ar ol hyny,

29 pasc. Yna Pilat a aeth allan attynt, ac a ddywedodd,
Pa achwyn yr ydych chwi yn ei ddwyn yn erbyn y dyn
30 hwn? Hwy a attebasant ac a ddywedasant wrtho, Oni

---

oblegid pwysigrwydd y swper a gawsent a gwaith yr Iesu yn defnyddio y gair Pasg (Cristionogol) yn nglŷn âg ef, ddarfod iddynt barhau i'w ystyried a'i alw yn Swper y Pasg. Pe dywedir ei fod iddynt hwy yn Swper y Pasg, swper oedd heb yr oen. Yn awr dyma'r casgliadau ag y deuwn iddynt :—

(1) Mai y 14eg o Nisan ydoedd dydd Gwener y Croeshoeliad.

(2) Mai y nos ar ol y Croeshoeliad ydoedd yr adeg briodol i fwyta y Pasg Iuddewig, ac mai yr adeg hono y bwytaodd y genedl ef.

(3) Mai nid y Swper Iuddewig yn briodol ydoedd yr un a gymerasai yr Iesu gyda'i ddysgyblion y noson flaenorol, ond swper arall yn cymeryd lle hwnw.

Y mae'r dyddiau yn ol y ddau olygiad uchod fel hyn :—

| | |
|---|---|
| (1) Nos Iau a Gwener—y 14eg Nisan yn ol Ioan, y 15fed yn ol yr Efengylau eraill | Dydd y Croeshoeliad. |
| (2) Nos Wener a'r Sabbath—y 15fed Nisan yn ol Ioan, yr 16eg yn ol yr Efengylau eraill | Dydd Sabbath. |
| (3) Nos Sabbath a'r Sul—yr 16eg Nisan yn ol Ioan, yr 17eg yn ol yr Efengylau eraill | Dydd yr Adgyfodiad. |

**ADN. 29. Yna Pilat.** Gwell yw, *Pilat, gan hyny.* Appwyntiwyd Pilat yn rhaglaw (geilw Josephus ef yn *procurator*) ar Judea gan Tiberius yn y flwyddyn O.C. 26, a bu yn y swydd am 10 mlynedd. Efe ydoedd y pumed rhaglaw Rhufeinig ar Judea, ac ar gyfrif ei gysylltiad â'r Iesu yr hynotaf o honynt o lawer. **A aeth allan.** Aeth allan o'i dŷ i gyntedd agored er mwyn cyfarfod eu rhagfarn hwy, ac felly ar ddechreu y prawf dangosodd ormod o barodrwydd i ildio iddynt. Cymerodd y darnau canlynol o hanes le *y tu fewn* i'r adeilad—xviii. 33—37; xix. 1—3; 8—11; a'r rhai canlynol *y tu allan*—xviii. 28—32; 38—40; xix. 4—7; 12—16. **Pa achwyn.** Caniatai y Gallu Rhufeinig i'r Iuddewon fesur helaeth o reolaeth gartrefol; caniateid i'r Sanhedrin drafod pob mater crefyddol a llawer o faterion cenedlaethol. Y mae'n debyg fod Pilat eisoes wedi clywed digon o achwyniad yn erbyn yr Iesu i gyfreithloni ei waith yn rhoddi gwasanaeth y milwyr i'w ddál; ac yn awr gwelwn ef yn hawlio ar fod pob cyfiawnder yn cael ei wneyd, a bod prawf rheolaidd a thêg yn cymeryd lle.

**ADN. 30.** Ymddengys mai ffrwyth eu "hymgynghoriad" fel Sanhedrin oedd mai dymunol fyddai iddynt amcanu cael gan Pilat gario allan eu dedfryd hwy heb fyned ei hunan i mewn i'r achos, amcanu rhuthro y mater drwodd i'w derfyniad heb ei ail-agor. Gwelent, os oedd yr achos i gael ei ystyried gan Pilat, y byddai'n rhaid meddwl am ryw gyhuddiad gwahanol i'r "cabledd" a wnaethai y tro yn eu llys

bai fod hwn yn ddrwg-weithredwr, ni thraddodasem ni
ef attat ti. Am hynny y dywedodd Pilat wrthynt, Cymer- 31
wch chwi ef, a bernwch ef yn ol eich cyfraith chwi.
Yna yr Iuddewon a ddywedasant wrtho, Nid cyfreith-
lawn i ni ladd neb: Fel y cyflawnid gair yr Iesu, yr 32
hwn a ddywedasai efe, gan arwyddoccâu o ba angau y
byddai farw. Yna Pilat a aeth drachefn i'r dadleudy, ac a 33

---

hwy, gan y gallasai Pilat wneyd yr hyn a wnaeth Galio ar ei ol, sef gomedd bod yn farnwr ar gwestiwn a berthynai yn briodol i'r genedl (Act. xviii. 14—16). **Yn ddrwgweithredwr.** Y mae hwn yn gyfieithiad llythyrenol o'r gair a ddefnyddient. Y fath olwg bruddaidd ydyw gweled arweinwyr y genedl yn cymeryd y Messiah a roddasai Duw iddynt, ac yn ei drosglwyddo fel drwgweithredwr i ddwylaw haner pagan creulawn digrefydd a difoes. Mwy annyoddefol na hynyna ydyw eu gweled yn ffugio teimladau da tuag at yr Iesu fel un o'u cenedl hwy, ac yn sicrhau Pilat na buasent yn ei drosglwyddo fel hyn i ddwylaw Rhufeiniwr oni bai ei fod mewn gwirionedd yn ddrwgweithredwr. Ystyr eu geiriau ydyw—ni thraddodasem ni ef (Iuddew) atat ti (Rufeiniwr), &c.

**ADN. 31. Cymerwch chwi ef . . . . . eich cyfraith chwi.** Y mae'n ddigon posibl y gwelir yn y fan hon ddatganiad o deimlad personol Pilat fel un erbyn hyn yn cyfranogi o deimlad ei briod na byddai iddo fod â llaw o gwbl mewn profi yr Iesu. Nid oedd heb weled na ddymunent hwy am ddim llai na marwolaeth yr Iesu, ac y mae am eu hadgoffa, feallai gyda graddau o wawdiaeth, o anallu eu cyfraith hwy i roddi iddynt eu dymuniad. Yn mhellach rhydd ar ddeall iddynt, os oeddynt am iddo ef roddi yr Iesu i farwolaeth, mai ofer y byddai iddynt ddisgwyl iddo wneyd hyny heb fod yr achos yn cael ei brofi ger ei fron. **Nid cyfreithlawn i ni ladd.** Y mae anmharodrwydd Pilat i weithredu yn eu dwyn i wneyd yr addefiad difrifol mai nid profi yr Iesu oedd mewn golwg ganddynt, ond ei ladd. Tybia rhai fod viii. 3, 59; Act. v. 33; vii. 57; xxi. 27, yn dangos fod yr Iuddewon yr adeg yma yn meddu y gallu i roddi i farwolaeth, ac felly fod yn rhaid deall y geiriau uchod fel rhai yn dysgu nas gallent roddi i farwolaeth trwy groeshoeliad, neu roddi i farwolaeth ar adeg yr ŵyl. Ond dengys Josephus ac eraill mai gwir ydoedd nad oeddynt y pryd hyn yn meddu y gallu i roddi i farwolaeth yn gyfreithiol. Pan wnaed Judea yn dalaeth Rufeinig amddifadwyd yr Iuddewon o'r hyn a alwai y Rhufeiniaid yn *jus gladii* neu y gallu i ladd. Pan y rhoddent rai i farwolaeth gwnaent hyny yn anghyfreithlawn a thrwy oddefiad y rhaglawiaid.

**ADN. 32. Fel y cyflawnid gair yr Iesu.** Ei eiriau am farwolaeth trwy groeshoeliad yn iii. 14; viii. 28; xii. 32. Pe dodasid yr Iesu i farwolaeth gan yr Iuddewon cymerasai hyny le trwy ei labyddio (Act. vii. 58). Gwelir mai nid marwolaeth ddamweiniol ydoedd ei farwolaeth Ef i fod.

**ADN. 33. Yna Pilat**—Y Cyf. Diw. yw *Pilat, gan hyny.* Yr ydym i ddeall ei fod erbyn hyn wedi derbyn y cyhuddiad neu y cyhuddiadau ag y

alwodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrtho, Ai ti yw Brenhin
34 yr Iuddewon? Yr Iesu a attebodd iddo, Ai o honot dy
hun yr wyt ti yn dywedyd hyn, ai eraill a'i dywedasant i ti
35 am danaf fi? Pilat a attebodd, Ai Iuddew ydwyf fi? Dy
genedl dy hun a'r arch-offeiriaid a'th draddodasant i mi.

---

gorfodwyd yr Iuddewon i'w dwyn yn mlaen. Y mae Luc (xxiii. 2) yn enwi tri chyhuddiad—y cyntaf yn anmhenodol, yr ail yn anwireddus, a'r trydydd yn fwriadol gamarweiniol. Y mae Pilat yn cymeryd sylw o un. Yr oedd y carcharor yn gwneyd ei hun yn Grist neu Fessiah-Frenhin, ond nid yn yr ystyr hono y trefnent i Pilat ddeall y cyhuddiad. Mynent iddo ef gredu fod yr Iesu yn amcanu gwneyd ei Hun yn frenhhin daearol. Y fath anghysondeb! Y maent o'r dechreu oll yn ei wrthwynebu am y rheswm syml nad oedd yn frenhin daearol, ond yn awr yn eu cyfyngder am ryw gyhuddiad a wnaethai'r tro ger bron Pilat y maent yn dwyn yn mlaen y cyhuddiad hwn—ei fod yn ceisio gosod ei Hun yn frenin ar yr Iuddewon yn lle Cæsar. **Ai ti yw brenhin yr Iuddewon.** Dyma, yn ol pob un o'r Efengylwyr, y cwestiwn cyntaf a ofynodd Pilat i'r Iesu, a'r unig ran o'r achwyniad a gronicla Ioan, a'r unig ran, y mae'n debyg, a apeliodd at Pilat fel yn werth sylw. Y mae'r cwestiwn yn cael ei ofyn mewn syndod, ac hefyd mewn dibrisdod—Ai ti heb neb na dim y tu cefn i ti, ond yn garcharor digymhorth a dirmygedig, yw'r brenhin? Y gwir yw, yr oedd lawn mor anhawdd i'r Doethion o'r Dwyrain ganfod y Brenhin yn y baban oedd ger eu bron yn y preseb ag oedd i Pilat ei ganfod yn y carcharor a safai o'i flaen; ond ei addoli a ddarfu iddynt hwy tra mai ei ddirmygu a ddarfu iddo ef.

**ADN. 34. Ai o honot dy hun . . . . . ai eraill.** Gofyna pa un ai ei gwestiwn ef ynte eu cyhuddiad hwy ydoedd hyn. Ceisia yr Iesu gan ei farnwr ddeall y gallasai dau ystyr hollol wahanol fod i'r enw—"brenhin yr Iuddewon." Os gofyn o hono ei hun oddiar safbwynt Rhufeiniwr ynghylch "brenhin yr Iuddewon" yr oedd Pilat, cyfleai yr enw hwnw y syniad o frenhin daearol yn cyfodi i fynu i gymeryd talaeth Judea oddiar y Rhufeiniaid, a'i llywodraethu yn ei le ef y rhaglaw. Fel atebiad i'r cwestiwn yn yr ystyr yna ni phetrusai yr Iesu ddyweyd nage. Yn mhellach yn mlaen dywed wrth Pilat nad daearol ydoedd ei frenhiniaeth Ef, a gallasai nodi fel y gwrthodasai gymeryd ei wneyd yn frenhin daearol gan yr Iuddewon eu hunain. Ond os mai ystyr arall oedd i'r enw yn ngwestiwn Pilat, sef, yr ystyr o Fessiah y genedl, yna byddai pobpeth yn wahanol, ac o ganlyniad gofynir ai yr Iuddewon a roddasant y geiriau yn ngenau Pilat, a cheisir ganddo beidio, o dan arweiniad cyfrwys yr Iuddewon, cymeryd y naill ystyr am y llall.

**ADN. 35. Ai Iuddew ydwyf fi.** Yn drahaus a dirmygus o'r genedl, ac er dangos pa mor rydd ydoedd ef oddiwrth unrhyw gyhuddiad na theimlad yn erbyn yr Iesu. Addefai mai "eraill" oedd yn gyfrifol am y cwestiwn a ofynasai; a gofynai yntau yn awr—**Beth a wnaethost**—beth fel ag i gyfrif am y gelyniaeth a'r gwrthwynebiad hwn a ddangosai ei genedl, ac yn arbenig ei barweinwyr, yn ei erbyn? Naturiol ydyw i ninau hefyd ofyn yr un cwestiwn. Yn un peth yr oeddynt fel cenedl yn

Beth a wnaethost ti? Yr Iesu a attebodd, Fy mrenhiniaeth 36
i nid yw o'r byd hwn. Pe o'r byd hwn y byddai fy mren-

---

disgwyl ymddangosiad y Messiah, ac yn ei ddisgwyl yn neillduol yr adeg hon. Rhyfeddent at ddysgeidiaeth yr Iesu (vii. 46), gwrandawent arno yn ewyllysgar a llawen (Marc xii. 37) a chredent na ddeuai yr un Crist ar ei ol a wnaethai arwyddion mwy na'r rhai a wnaethai Ef (vii. 31), ac eto ei wrthod a wnaethant. Nid dyeithr-ddyn ydoedd drachefn, ond un o honynt hwy eu hunain—un o feibion y genedl a chwenychai ac a arferai fawrhau ei chewri; ond eto dyma'r mwyaf a'r enwocaf o'i meibion i gyd yn cael ei ladd ganddynt. Paham? Yn mysg pethau eraill yr oedd y pethau hyn yn ddiau yn cyfrif am eu hymddygiadau—bydolrwydd, anghrediniaeth, anystyriaeth, rhagfarn, ac yr ydym yn benaf dim i briodoli eu hymddygiadau i ddylanwad eu harweinwyr. Y mae dysgawdwr Iuddewig o'r enw Chwolson mewn ysgrif ddyddorol (St. Petersburgh, 1892) yn condemnio y genedl, nid am beidio derbyn yr Iesu yn Fessiah, ond am ei ladd, ac y mae ef yn dodi y weithred annheilwng wrth ddrws y blaid Sadduceaidd ag oedd ar y pryd mewn awdurdod. Digwyddodd i'r awdurdodau bydol hyn gymeryd yn ei erbyn, a llwydd asant trwy weithio ar ragfarnau y bobl i'w cario hwythau gyda hwy. Fel yna y bu, meddai ef. Cymhellwyd y Sanhedrin i'w wrthwynebu gan deimladau swyddogol, balch, a hunangeisiol. Y mae y Phariseaid yn ei wrthwynebu oddiar safbwynt crefyddol, ac oblegid y teimlent fod eu traddodiadau crefyddol a'u hawdurdod hwy fel dysgawdwyr mewn perygl. Y mae'r Sadduceaid yn ei wrthwynebu yn fwy oddiar safbwynt gwladol, ac oblegid y teimlent fod eu safle fydol a'u dylanwad cenedlaethol yn cael eu peryglu. Ceisiai y Phariseaid y Messiah, ond Messiah llai ysbrydol na hwn, ac edrychai y Sadduceaid gydag eiddigedd ar ddyfodiad y Messiah rhag y byddai iddynt hwy eu hunain trwy hyny fyned yn is eu safle ac yn llai eu dylanwad. Yr ystyriaethau hyn, yn ddiau, a benderfynodd ymddygiadau yr arweinwyr. Gwelir mor ddeheuig y mae y rhai hyn drachefn yn dylanwadu ar eraill fel ag i gymhell y rhai hyny i gondemnio yr Iesu. Yr achwyniad a ddefnyddiwyd ganddynt fel moddion i gymhell y bobl i fyned yn erbyn yr Iesu ydoedd "cabledd," a'r achwyniad er dylanwadu ar Pilat ydoedd "teyrnfradwriaeth."

**ADN. 36. Fy mrenhiniaeth i.** Wrth egluro i Pilat y math o frenhin oedd, a'r math o frenhiniaeth oedd ganddo, gesyd allan mewn rhan yr hyn oedd yn cyfrif am y gwrthwynebrwydd iddo y cyfeiriai Pilat ato. Pe buasai yn frenhin yn ystyr wleidyddol y cyhuddiad ni buasai yr Iuddewon yn ei wrthwynebu. Rhydd ar ddeall i Pilat nad ydoedd Ef fel brenhin i'w ystyried yn gydymgeisydd â Cæsar, ac nad oedd raid i'w frenhiniaeth Ef ddod i wrthdarawiad â'r Ymerodraeth Rufeinig, gan y bodolent ac y gweithredent ar wastadeddau hollol wahanol—y naill yn ysbrydol a'r llall yn ddaearol. Nid ydoedd ei deyrnas Ef *o'r byd hwn* (*a*) o ran ei tharddiad, (*b*) o ran ei nhatur, (*c*) o ran cylch ei gweithrediad, (*d*) o ran dulliau ei gweithrediad, (*e*) o ran ei hamcanion, (*f*) o ran ei pharhad. Soniodd yr Iesu lawer am y Deyrnas fel y gwelir yn yr Efengylau eraill; yr hyn a wna yn y fan hon ydyw pwysleisio y berthynas hanfodol oedd yn bod rhyngddo Ef a hi. Efe mewn gwirionedd ydyw enaid y Deyrnas, a byddai'r un priodoldeb mewn dyweyd mai Efe yw y

hiniaeth i, fy ngweision i a ymdrechent, fel na'm rhoddid
i'r Iuddewon: ond yr awrhon nid yw fy mrenhiniaeth i
37 oddi yma. Yna y dywedodd Pilat wrtho, Wrth hynny ai
Brenhin wyt ti? Yr Iesu a attebodd, Yr ydwyt ti yn dy-
wedyd mai Brenhin wyf fi. Er mwyn hyn y'm ganed, ac
er mwyn hyn y daethum i'r byd, fel y tystiolaethwn i'r

---

Deyrnas ag sydd mewn dyweyd mai Efe yw "y ffordd, y gwirionedd a'r bywyd." Trwy ddod i undeb âg Ef y mae dod yn rhan o'r Deyrnas. **Fy ngweision.** Y mae amryw wedi tybied mai yr *angelion* a feddylia yn y fan hon, a bod ei eiriau yn yr ardd yn profi hyny (Matt. xxvi. 53). Peth hawdd, gyda'r angelion oeddynt bob amser at ei wasanaeth, fuasai i'r Iesu orchfygu y fyddin ddaearol fwyaf. Ond gwell genym ddeall y geiriau fel yn dysgu y gwirionedd yma—pe mai brenhin daearol a fuasai Ef y buasai ganddo hefyd ei filwyr daearol, a'i arfau daearol, a chan awgrymu, feallai, mai gweision iddo Ef a fuasai y swyddogion a'r awdurdodau Iuddewig oeddynt yn awr yn ceisio ei waed. Yr oedd y modd y traddododd ei hun i ddwylaw'r gelynion yn hollol wirfoddol gan rwystro i neb trwy foddion daearol ei amddiffyn, a phobpeth arall, yn dangos mai nid daearol oedd ei frenhiniaeth. Tra y gorchfygai eraill trwy rym arfau, dyma frenhin oedd yn myned i enill y fuddugoliaeth fwyaf fu erioed trwy oddefgarwch, hunanaberth a chymwynasgarwch.

**ADN. 37. Wrth hyny ai brenhin wyt ti?** Pa un ai gofyn hyn y mae, fel un yn cael ei dueddu i gredu yn yr Iesu fel brenhin, ynte fel un yn amheu ei fod yn frenhin? Os y cyntaf, yna yr ydym i ddeall fod yr Iesu, yr hwn "o dan Pontius Pilat a broffesodd broffes dda" wedi llwyddo i argyhoeddi y rhaglaw, ac mai o dan yr argyhoeddiad yna o'i gymeriad brenhinol y darfu iddo yn ddilynol i hyn gyfeirio ato fel brenhin yr Iuddewon a rhoddi y teitl yna uwch ei ben ar y groes. Ond cywirach yw yr ail, sef, nad oedd Pilat yn credu dim ynddo fel brenhin. Y mae y geiryn *oukoun*, wrth hyny, sydd yn y cwestiwn, a dyma'r unig le y ceir ef yn y Test. Newydd, yn dangos mai cwestiwn o amheuaeth yw yn cael ei ofyn mewn dull gwawdlyd. Y mae'r wawdiaith yn dod i'r golwg mewn peth arall hefyd, sef, yn ngosodiad y rhagenw ar y diwedd fel hyn—"Ai brenhin yn ol hyn, tydi?"

**Yr wyt ti, &c.** Darllena y Cyf. Diw. "Yr wyt ti yn dywedyd fy mod i yn frenhin." Mwy dewisol gan y pwyllgor Americanaidd yw y darlleniad ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw. "Yr wyt ti yn dywedyd hyny oherwydd fy mod i yn frenhin." Y mae amryw engreiphtiau o'r math hwn o ffurfymadroddi i'w cael yn y Test. Newydd, a hyny, meddai Lücke, oblegid dylanwad Rabbinaidd (cyd. Matt. xxvi. 25, 64; xxvii. 11, &c.). Nid yw y ffurf-ymadrodd yn hollol ddyeithr gyda ni, oblegid ceir peth tebyg iddo yn y ffurf o atebion a roddir mewn llysoedd gwladol. **Ym ganed . . . . y daethum i'r byd.** Gwell fyddai "*yr wyf fi wedi cael fy ngeni . . . . yr wyf fi wedi dyfod i'r byd.*" Gwelir mai nid un peth a nodir yma, ond dau beth cysylltiol. Newidier eu trefn a gwelir eu bod yn nodi ei ddyfodiad i'r byd, ai ymddangosiad mewn cnawd, a bod ynddynt gyfeiriad amlwg at gynhanfodiad ac ymgnawdoliad y Tragywyddol Fab. Y mae safle bwysleisiol y *fi* yn y brawddegau yn dwyn ger bron

gwirionedd. Pob un a'r sydd o'r gwirionedd, sydd yn
gwrandaw fy lleferydd i. Pilat a ddywedodd wrtho, Beth 38

---

yr urddas Dwyfol a berthynai i'r un a ddirmygid gan Pilat. **Y tystiolaethwn i'r gwirionedd.** Tybiwn yn gryf fod Ioan yn gwneyd gwahaniaeth bwriadol rhwng *tystiolaethu am* (y gair tystiolaethu gyda *peri* ar ei ol) a *tystiolaethu i* (y gair yn cael ei ddilyn gan y *dative*). Ceir y cyntaf yn i. 7, 8 ; ii. 25 ; v. 31, 32, 36, 37, 39 ; vii. 7 ; viii. 13, 14, 18 ; x. 25 ; xv. 26 ; a'r ail yn iii. 26 ; v. 33 ; xviii. 37 ; a'r trydydd Epistol 3, 6. O astudio yr engreiphtiau hyn fe welir fod tystiolaethu *i* wrthrych yn golygu rhoddi sail dros gredu yn modolaeth gwirioneddol y gwrthrych hwnw. Nid tystiolaethu yn ei gylch, ond tystiolaethu er sefydlu y ffaith o'i fodolaeth. Gwelir hefyd fod dwyn tystiolaeth *i* wrthrych yn golygu gwneyd yr hyn sydd bleidiol neu ffafriol iddo; ond dengys ii. 25, ac yn arbenig vii. 7 nad yw tystiolaethu *am* dano o angenrheidrwydd yn golygu hyny. Gwelir oddiwrthynt yn mhellach ddarfod i Ioan Fedyddiwr dystiolaethu *i'r* Iesu a thystiolaethu *am* dano. Daeth yr Iesu i'r byd i dystiolaethu *i'r* gwirionedd, h.y. i wneyd ffeithiau mawr y byd moesol ac ysbrydol yn sylweddau. Oblegid yn ei ymgnawdoliad a'i fywyd Ef y cafodd pob gwirionedd o'r fath ag oedd eisoes yn y byd eu llawn sylweddoliad ac ynddynt hefyd y datguddiwyd yr oll o wirionedd ag oedd i gael ei ddatguddio yn mhellach yn y byd hwn. Nid tystiolaethu *am* y gwirionedd fel peth gwahanol iddo ef ei hun a wnai yr Iesu, ond tystiolaethu *iddo* trwy fod yn ymgorphoriad o hono. Yr oedd y gwirionedd "yn yr Iesu," ac Efe ydoedd y gwirionedd. O ganlyniad po fwyaf o'r Iesu ei hun a ddeuai i'r golwg mwyaf o wirionedd, yn ei rym a'i ogoniant a ddeuai. Mewn atebiad i gwestiwn Pilat, darlunia yr Iesu, fel hyn, mai *Brenhin gwirionedd* ydoedd Ef, ac mai trwy wirionedd yr oedd yn myned i deyrnasu. Yr oedd gan Pilat, y mae'n ddiau, ei syniad am nodweddion hanfodol brenhin, ond y mae'n amheus a feddyliodd erioed am wirionedd fel anhebgor o bwys mewn brenhin. Buasai Groegwr yn fwy tebyg o feddwl am hyny na Rhufeiniwr. Gellid meddwl fod Pilat erbyn hyn wedi clywed digon i'w argyhoeddi nad oedd y perygl lleiaf i frenhiniaeth yr Iesu ddyfod i wrthdarawiad â'r ymherodraeth a gynrychiolid ganddo ef. Y fath wahaniaeth dirfawr a awgrymir fel yn bodoli cydrhwng brenhinaeth Crist a brenhiniaeth Cæsar, ac eto, y mae'n gwestiwn a oedd Pilat yn meddu y gallu i'w weled. **Pob un a'r sydd o'r gwirionedd.** Beth yw bod o r gwirionedd ? Bod un yn derbyn symbyliad neu ysbrydoliad oddiwrtho, meddai Westcott ; ond teimlwn fod yr ymadrodd yn dynodi perthynas nes rhwng y dyn a gwirionedd—megis fod y dyn yn cael ei wreiddio yn y gwirionedd a'i rymuso ganddo (iii. 31 ; a 1 Ioan iii. 19). Tybia un awdwr fod y berthynas a ddarlunir yn y fan hon yn un mor agos fel mai ystyr yr ymadrodd yw—"pob un ag sydd wedi cael ei eni o'r gwirionedd," gan edrych ar wirionedd fel un yn magu plant ar ei ddelw ei hun. **Yn gwrandaw fy lleferydd i.** Y mae y rhai sydd wedi eu geni o'r gwirionedd, o ran eu hanian a'u tueddfryd naturiol mewn llawn gydymdeimlad â'r gwirionedd, ac y mae hyn yn sicrhau eu bod yn gwrandaw lleferydd yr Iesu. Y mae lleferydd gwirionedd yn y gydwybod a lleferydd gwirionedd yn yr Iesu yn perthyn yn agos i'w gilydd, ac y mae y naill yn cefnogi ac yn cadarnhau y llall. Gellir hefyd ddyweyd

yw gwirionedd? Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a aeth
allan drachefn at yr Iuddewon, ac a ddywedodd wrthynt,
39 Nid wyf fi yn cael dim achos ynddo ef. Eithr y mae

---

y cynwysir yn y fan hon y dylanwad ag y byddai i'r Ysbryd fel Ysbryd y gwirionedd ei weithredu nes peri fod rhai yn cael eu "geni o'r gwirionedd," a thrwy hyny yn dod yn ddeiliaid o deyrnas gwirionedd fel yn iii. 5, 6. Y mae amryw o esbonwyr yn deall mai gwneyd apel at gydwybod Pilat a wna'r Iesu yn y geiriau hyn, ac mai eu hystyr yw—"Os wyt ti am weithredu yn ol dy gydwybod yr wyt yn rhwym o wrandaw arnaf fi a chredu yn fy niniweidrwydd." Apelia, meddai hen esboniwr, "oddiwrth y barnwr at y dyn." Y mae'n rhaid dyweyd mai apêl lwyddiannus, yn aml, yw'r un at gydwybodolrwydd a dynoliaeth, ond y mae'n gwestiwn a oedd gan Pilat ddigon o gydwybod i'r Iesu wneyd cais at ei chyffroi. Yn llawer mwy naturiol yr ymddengys mai amcan yr Iesu yn y fan hon ydoedd darlunio deiliaid ei deyrnas (cyd. iii. 21; vi. 45; 1 Ioan iv. 16; v. 20).

**ADN. 38. Beth yw gwirionedd.** Y duedd gyffredin ydyw cymeryd y cwestiwn hwn yn un gwawdlyd. Y mae'n ddigon posibl fod Arglwydd Bacon i raddau helaeth yn gyfrifol am hyn trwy ei waith yn rhoddi i ofynydd y cwestiwn yr enw o Pilat chwareus (jesting Pilate). Gwneir i'r cwestiwn yn y wedd yma ymddangos yn un lled naturiol trwy ei gymeryd yn ngoleuni yr hyn a ddywedir yn y frawddeg nesaf, sef fod Pilat gyda'i fod yn gofyn y cwestiwn yn myned allan cyn y gallasai gael atebiad iddo. Ar y llaw arall, y mae Chrysostom yn canfod yn Pilat ymofynydd difrifol am oleuni, ac y mae Cox mewn erthygl ddyddorol yn yr *Expositor* (ail gyfres, Cyf. viii.) yn dal fod Bacon yn gwneyd cam â Pilat. Ni fŷn ef o gwbl fod Pilat yn y cwestiwn hwn yn taflu diystyrwch ar yr Iesu. Yr oedd wedi derbyn argraph rhy ffafriol i wneyd hyny, ac yr oedd y pryd y gofynai y cwestiwn yn argyhoeddedig mai un hollol ddiniwed ydoedd yr Iesu yn llawn haeddu cael ei amddiffyn ai barchu. Yn atebiad i Cox, dywedwn y dengys yr hanes fod Pilat yn argyhoeddedig o ddiniweidrwydd yr Iesu, ond na ddarfu iddo, er hyny, ei barchu fel y dylasai. Dyma dri eglurhad ag sydd yn bosibl ar yr adn. hon. (1) Fod Pilat fel un ag oedd yn argyhoeddedig fod eisieu rhoddi terfyn ar y prawf yn tori yr ymddiddan i fyny yn sydyn, megis y gwna ambell i farnwr pan y bydd un o'r tystion ar ganol rhoddi tystiolaeth, neu un o'r dadleuwyr ar ganol traddodi ei anerchiad. (2) Fod Pilat fel Rhufeiniwr lled ddysgedig yn gwybod i raddau am ymdrechion y gwahanol gyfundrefnau athronyddol i roddi atebiad boddhaol i'r cwestiwn arbenig "Beth yw gwirionedd," ac ddarfod iddo gael ei symbylu gan ymadroddion blaenorol yr Iesu i ddyweyd—"Ah, 'beth yw gwirionedd' sydd gwestiwn mawr, dyrys ac anorphenol." (3) Mai ystyr geiriau Pilat ydyw —"Ond beth ydyw gwirionedd i mi fel rhaglaw." Nodi y mae nad oedd dim yn nglyn â'i swydd ef yn gofyn ar iddo wneyd ymchwiliad i wirionedd, ac felly gesyd y mater y naill du fel un hollol anmherthynasol. Gwelir nad yw Pilat wrth gyfeirio at wirionedd yn edrych arno yn yr un wedd ag y soniasai yr Iesu am dano; soniasai yr Iesu am y *gwirionedd*, sef gwirionedd yn ei gyfanrwydd, ond sonia Pilat am *wirionedd* (heb y fanod) sef gwirionedd yn nglyn âg unrhyw beth arbenig. Y mae pob un o ffeithiau

gennych chwi ddefod, i mi ollwng i chwi un yn rhydd ar y pasc: a fynnwch chwi gan hynny i mi ollwng yn rhydd i

---

diysgog y byd moesol ac ysbrydol yn wirionedd, a'r cwbl o'r rhai hyn gyda'u gilydd yw *y gwirionedd*. I'r graddau, drachefn, ag y bydd egwyddorion ein henaid ni yn dod i gysondeb â'r egwyddorion tragwyddol y bydd i ni ddod yn feddiannol ar y gwirionedd, ac nis gall rhagor o hono ymddangos yn ymarferol yn ein bywydau nag a fydd yn egwyddorol yn ein heneidiau.

**Nid wyf fi yn cael dim achos.** Rhydd rhai y gair *bai* yn lle y gair *achos* yn y fan hon. Y mae'r gair yma i'w gael hefyd yn xix. 4 a 6; Matt. xxvii. 37; Marc xv. 26; Act. xiii. 28; a xxviii. 18, ac yn y lleoedd hyn i gyd dylid ei gyfieithu yn achos neu achwyniad. Un o eiriau y llys gwladol ydyw (cyd. y frawddeg "*no true bill*"). Wrth ddyweyd nad oedd yn cael dim achos yn ei erbyn fe dybir y peth arall—nad oedd yn cael dim bai ynddo. Y mae y rhagenw *fi* yn y fan hon yn bwysleisiol. Yr oedd yr Iuddewon eisoes wedi rhoddi eu dedfryd, ac y mae Pilat yn wrthgyferbyniol iddynt yn rhoddi ei ddedfryd yntau. Ar ol adn. 28 y bu y prawf o flaen Herod (Luc xxiii. 7). Y mae Meyer yn gwneyd pwynt o'r ffaith nad yw yr Efengylydd hwn yn rhoddi hanes y prawf o flaen Herod fel yn gwrthbrofi haeriadau Baur a Schenkel "mai rhyw genedlddyn ydoedd yr Efengylydd hwn yn amcanu rhyddhau Pilat oddiwrth y cyfrifoldeb o roddi yr Iesu i farwolaeth, ac yn gosod y cyfrifoldeb o wneyd hyny ar ysgwyddau yr Iuddewon."

**ADN. 39. Ddefod.** Nid oes gwybodaeth sicr yn ei chylch. Yr oedd yn arferiad yn Rhufain a Groeg, ar achlysuron arbenig, i ryddhau carcharorion, ac y mae yn eithaf posibl mai y rhaglawiaid a wnaethant beth tebyg yn ddefod yn Israel. Priodol iawn ydoedd i'r ddefod gael ei chysylltu â gŵyl y Pasg, sef, gwyl fawr rhyddid cenedlaethol Israel. Tra mai gwaith y rhaglaw ydoedd rhyddhau, dengys Matt. xxvii. 15 a Marc xv. 6 mai rhyddhau y sawl a ddewisid gan y bobl oedd yr arferiad. Ni a welwn fod Pilat yn hollol argyhoeddedig na ddylid rhoddi yr Iesu i farwolaeth, a chredai mai plaid oedd yn gofyn am hyny, ac mai rhagfarn a chenfigen oedd yn eu symbylu. Tybiodd o ganlyniad y gallasai lwyddo trwy ryw gynllun i gael gan y dorf o leiaf i'w gefnogi ef yn ei ymdrech i ryddhau yr Iesu. Y mae ei ddyfarniad ef a dyfarniad y swyddog Rhufeinig arall, eu cydwladwr Herod, yn cael eu gwrthod gan y bobl. Ond gall mai oblegid eu bod yn wahanol i'r hyn a ddeallent oedd yn ddyfarniad eu Sanhedrin hwy y bu hyny. Y cynllun annheilwng cyntaf a gyflwynodd i sylw y dorf ydoedd hwn: y mae cystal a chaniatau mai dedfryd yr awdurdodau oedd yr un iawn, a noda gynllun trwy ba un y gallent ryddhau yr Iesu heb ddod i wrthdarawiad â'r Sanhedrin. Pâr Matt. xxvii. 21 i ni feddwl am Pilat yn dodi yr Iesu a Barabbas ochr yn ochr o flaen y dorf, ac yn gofyn iddynt pa un o'r ddau ddewisent; ond yn ol yr Efengylwyr eraill yr ydym i feddwl am Pilat yn cyflwyno enw'r Iesu iddynt fel un i'w ryddhau gan ddisgwyl, yn ddiau, y byddent yn foddlawn i ryddhad y gwr ag oedd wedi bod mor boblogaidd yn eu golwg hwynt. Ond fe ddyryswyd ei gynllun, nid yn unig oblegid fod y bobl yn mlaen llaw wedi gwneud eu meddyliau i fynu pwy oedd i gael ei ryddhau ar yr ŵyl hono, eithr fel y dengys Marc xv. 11 gwnaed hyn

40 chwi Frenhin yr Iuddewon? Yna y llefasant oll drachefn,
gan ddywedyd, Nid hwnnw, ond Barabbas. A'*r* Barabbas
*hwnnw* oedd leidr.

## PENNOD XIX.

1 YNA gan hynny y cymmerodd Pilat yr Iesu, ac a'*i*
2 fflangellodd ef. A'r milwyr a blethasant goron o

---

trwy i'r archoffeiriaid, ar ol i Pilat gyflwyno enw'r Iesu i'r bobl, fanteisio ar gyfle i gyflwyno enw Barabbas iddynt a'u "perswadio" i waeddi am ryddhad hwnw. Y mae yn eithaf tebygol ddarfod i Pilat y pryd hyn ddwyn Barabbas allan o'i gell a'i ddodi yn ochr yr Iesu, gan fawr hyderu y byddai y cyferbyniad rhyfedd rhwng y ddau yn foddion i ddarbwyllo y bobl.

**Frenhin yr Iuddewon.** Yr oedd llon'd yr enw hwn fel y defnyddid ef gan Pilat o wawdiaeth, ond yr oedd cyfeiriad y gwawdiaeth tuag at yr Iuddewon yn fwy na thuag at yr Iesu. Ni a welwn ynfydrwydd a gwendid y dyn; oblegid ei le ef ydoedd, nid gwawdio y bobl, ond gweithredu yn ol ei argyhoeddiadau tuag at yr Iesu.

**ADN. 40. Barabbas.** Y mae'r gair o darddiad Arameaidd, o *bar—abba*, h.y., mab yr athraw neu fab y tad. Y mae'n naturiol tybied oddiwrth yr enw ei fod o haniad uchel a chyfrifol, ond ei fod wedi ymddadblygu yn un drwg. Yn ol rhai cyfieithiadau Dwyreiniol yr enw arno yn Matt. xxvii. 16, 17 ydyw Iesu Barabbas. Y mae Ewald, Trench a Meyer yn cefnogi yr enw yna, a gwelir fod Origen hefyd yn gwybod am dano. Yn ol yr enw yna arno yr oedd gan y bobl i ddewis rhwng dau Iesu—Iesu Barabbas a Iesu Grist. Y mae yr holl brif lawysgrifau, ac o ganlyniad y mwyafrif o feirniaid, yn anghefnogol i'r enw Iesu Barabbas. Yr oedd Barabbas (Matt. xxvii. 16) yn "garcharor hynod." Yr oedd yn un o'r cymeriadau hyny yn y wlad a godent derfysg o dan y rhith o fod yn wladgarwyr, ond gyda'r amcan gwirioneddol o gael mantais i ysbeilio tai, ac er gwneyd hyny ni phetrusent i gyflawni llofruddiaethau hefyd (Marc xv. 7; Luc xxiii. 19). Tybir iddo ef gael ei ddal yn yr un terfysg ag y daliwyd y ddau leidr a groeshoeliwyd gyda'r Iesu. **A'r Barabbas hwnnw oedd leidr.** Awgrymiadol iawn yw y frawddeg hon, oblegid "lleidr" o angenrheidrwydd ydyw pawb a phobpeth a ddewisir o flaen ac yn lle yr Iesu. Y fath olwg a gawn ar ddull y byd—y mae Barabbas, un a brofwyd yn derfysgwr ysbeilgar, ac yn deyrnfradwr, yn cael ei ryddhau, tra y mae Iesu ar gyhuddiad hollol ddisail ac anwireddus o deyrnfradwriaeth yn cael ei roddi i farwolaeth.

---

## PENOD XIX.

CRIST YN CAEL EI FFLANGELLU A'I WAWDIO. ADN. 1—3.

**ADN. 1.** Dechreua y benod hon gyda hanes y bedwaredd ymgais o eiddo Pilat i wrthwynebu yr Iuddewon yn eu penderfyniad i roddi yr Iesu i farwolaeth. Ceir hanes yr ymgais gyntaf yn xviii. 31; yr ail yn Luc xxiii. 7; a'r drydedd yn xviii. 39. Dywedir yr arferai y Rhufeiniaid fflangellu caethweision yn flaenorol i'r weithred o'u gollwng yn rhydd,

ddrain, ac a'i gosodasant ar ei ben ef, ac a roisant wisg o
borphor am dano; Ac a ddywedasant, Henffych well, 3
Brenhin yr Iuddewon; ac a roisant iddo gernodiau. Pilat 4

---

ac nid annaturiol fyddai edrych ar y fflangellu hwn fel yn cyfateb i hwnw, ond mwy naturiol fyddai edrych arno fel y fflangellu ag oedd yn arferol yn nglŷn â'r gwaith o groeshoelio. Wedi i farn angeu gael ei chyhoeddi uwch ben un fflangellid ef yn gyntaf, a chroeshoelid ef ar ol hyny. Yn yr amgylchiad yma fe fu y fflangellu o flaen y condemnio. Ond nid ydys i ddeall fod Pilat ei hun yn bwriadu iddo fod yn rhan o'r gosp angeuol, ac i gael ei ddilyn gan groeshoeliad. Yn hytrach gweinyddid ef ganddo fel y byddai iddo fod yn foddion i osgoi y croeshoeliad, gwel Luc xxiii. 22. Tybiodd Pilat y buasai, trwy hyn, yn gallu apelio at dosturi y bobl, ac y byddai iddynt, ar ol gweled yr Iesu wedi cael ei haner ladd, ymfoddloni ar hyny, a chaniatau iddo gael ei ollwng yn rhydd. Y mae yn ei fflangellu er eu boddhau hwy, ac fel y byddai iddo, ar ol hyny, gael ei ollwng Ef yn rhydd er boddloni cydwybod a chyfiawnder. Nid ydyw yn debygol i'r Iesu, ar ol y condemniad, gael ei fflangellu eilwaith. Yr oedd ei fflangellu unwaith yn ddigon, ac yn fynych byddai hyny yn angeuol. Ychydig flynyddau yn ol darganfyddodd Syr Charles Warren ystafell dan-ddaearol yn Nghastell Antonia, yn mha un y cafwyd darn o golofn yn sefyll ynghanol yr ystafell, wrth ba un, fel y bernid, y cylymid y rhai a fflangellid.

**ADN. 2, 3.** Ymddengys i'r gwawdio hwn gan y milwyr gymeryd lle, mewn rhan o leiaf, ynglŷn â'u gwaith yn ei fflangellu, ac oblegid y siampl a gawsant gan Herod a'i weision (Luc xxiii. 11). Os rhoddodd Pilat ganiatad i'r milwyr i wawdio yr Iesu yr oedd yn ymddwyn yn greulonach tuag ato nag hyd yn nod trwy roddi gorchymyn i'w fflangellu; oblegid gallasai ddeall pa mor eithafol a fyddai y ffieidd-waith a gyflawnai y dosbarth hwn, ac y byddai i hyny beri blinder meddwl a theimlad i'r Iesu, mwy annyoddefol nag hyd yn nod yr archollion corphorol a dderbyniai o dan y fflangell. Er y tebygrwydd mawr rhwng y gwawdio a ddesgrifir yma, a'r un a ddesgrifir yn Matt. xxvii. 27 a Marc xv. 16, eto y mae'r fath wahaniaeth rhyngddynt o ran yr amser, a manylion eraill, fel nad yw yn sŷn fod esboniwr o safle Westcott yn eu gwahaniaethu fel hyn :—Ddarfod i'r gwawdio yn Matthew a Marc gymeryd lle ar ol condemniad yr Iesu, ond i'r un yn Ioan gymeryd lle o flaen hyny. Wedi i'r Iesu, felly, ar ol ei gondemniad ddisgyn i ddwylaw'r milwyr y maent yn ail-ddechreu eu *sport*, ac ar ol galw yr holl fyddin yn nghyd, yn cario allan eu chwareu cywilyddus yn llawer mwy eithafol nag o'r blaen. **Goron o ddrain:** Gellid yn lled naturiol gymeryd y goron, y wisg goch (lliw brenhinol), a'r cyfarchiad fel yn dangos fod y milwyr yn ffugio gwneuthur brenhin o hono. Ond yr ydym wedi methu ffeindio fod y gair *stephaños* (a'r gair Lladin cyfatebol *corona*) a gyfieithir yn y fan hon yn goron, yn golygu coron brenhin; ond bob amser coron neu bleth-dorch gorchfygwr. Yn y lluaws mawr o enghreiphtiau o'r gair yn y Test. Newydd, arwydda wobr am lafur neu arwyddlun buddugoliaeth. Gair arall (*diadēma*) a arferir fel arwyddlun o frenhin. Y mae dwy ddraenen yn cael eu hadnabod fel drain y goron. Prin mai y *spina Christi* a ddefnyddiwyd gan na buasai yn hawdd gwneyd pleth o honynt hwy. Mwy tebygo

gan hynny a aeth allan drachefn, ac a ddywedodd wrthynt,
Wele yr wyf fi yn ei ddwyn ef allan i chwi, fel y gwypoch
5 nad wyf fi yn cael ynddo ef un bai. Yna y daeth yr Iesu
allan, yn arwain y goron ddrain a'r wisg borphor. A
6 *Philat* a ddywedodd wrthynt, Wele y dyn. Yna yr arch-

---

mai y *Nabk* a ddefnyddiwyd, sef math o ddrain a welir yn awr mewn cyflawnder yn nyffryn yr Iorddonen, pigau y rhai ydynt finiog, eu dail yn debyg i ddail eiddew, a'r cangau yn hawdd eu plygu a'u plethu. Gwel rhai yn ngwaith yr Iesu yn gwisgo y goron ddrain arwydd ei fod yn dwyn arno ei hun felldith y cwymp. **Gwisg o borphor**: Ysgarlad yw y gair yn Matt. xxvii. 28; gwisg o liw disglaer. Y mae'n ddigon posibl mai hen fantell, o liwiau disglaer, wedi ei dodi y naill du ydoedd. Gyda'r bleth-dorch ddrain a'r wisg ddisglaer amcenid gwneyd arddangosiad o'r Iesu fel buddugoliaethwr yn cario y dydd ar ei wrthwynebwyr. Dylid darllen y drydedd adnod fel yn y Cyf. Diw.: "A hwy a ddaethant ato ef, ac a ddywedasant." Yr ydym felly i feddwl am danynt, bob yn un ac un, yn dod ac yn ei wawdlyd-gyfarch. Dirmygent y genedl hefyd trwy ei alw Ef yn frenhin yr Iuddewon. **Gernodiau**: Yn y Cyf. Diw., "tarawsant â dwylaw," ac ar ymyl y ddalen "tarawsant â gwiail." Rhoddant iddo fel amlygiad o barch a gwarogaeth *gernod* yn lle cusan.

CRIST YN CAEL EI GYFLWYNO I'R DORF.—ADN. 4—7.

**ADN. 4. Gan hyny.** Er mai "gan hyny" a ddylai fod yn y penodau hyn yn aml lle y ceir "yna," eto y mae yn yr adnod hon yn gamarweiniol, ac y mae'r Cyf. Diw. yn dodi "yna." **Ddwyn ef allan.** Yn xviii. 28 yr ydym yn gweled yr Iesu yn cael ei ddwyn i'r Pretorium, lle y bu hyd yn awr, pan y dygir Ef allan i olwg y dorf. Yn nglyn â hyn, yn wir, y mae yr anhawsder a nodir gan Meyer, sef nad oedd y dorf yn gweled yr Iesu yn cael ei fflangellu a'i wawdio gan y milwyr. Digon, fodd bynag, oedd iddynt ddeall fod hyny yn cymeryd lle, a'i weled ar ol y driniaeth chwerw. Ni raid meddwl am anhawsder yn nglyn â dod i wybod yr hanes, oblegid ni byddai dim rhwystr i Ioan neu arall fod y tu mewn neu y tu allan i'r Pretorium yn llygad-dyst o'r cwbl.

**ADN. 5. Yn arwain.** Gwell fyddai *yn gwisgo* fel yn Matt. xi. 8, neu *yn dwyn* fel yn Rhuf. xiii. 4. Y gair *phorōn*, nid *pherōn*, sydd yn y fan hon, ac y mae hyny yn gwneyd y gwisgo yn beth parhaol, yn arferiad. Y goron ddrain a'r wisg borphor a fu yn wisg am dano hyd ddiwedd y prawf. Yn wir gwisgo coron ddrain, gwisg dyoddefaint, a ddarfu yr Iesu trwy ei fywyd.

**Wele y dyn.** Gair yn galw sylw yw y "Wele." At beth y gelwir sylw?—ai at y dyoddefydd yn y dyn er cynyrchu tosturi tuag ato, ynte at y dyn yn y dyoddefydd er cynyrchu edmygedd o hono? Y ddau yn nghyd feallai. Wele y dyn, meddai, gan apelio at eu dynoliaeth hwythau fel ag i'w ollwng Ef yn rhydd naill ai o dosturi tuag ato, neu o edmygedd o hono. Y mae'n gwestiwn pa faint o dosturi tuag at yr Iesu oedd yn mynwes Pilat ei hun pan y cawn ef yn amcanu cynyrchu tosturi yn y dorf tuag ato trwy y triniaethau poenus a gwaradwyddus a drefnodd iddo, a

offeiriaid a'r swyddogion, pan welsant ef, a lefasant, gan
ddywedyd, Croeshoelia, croeshoelia *ef*. Pilat a ddywedodd
wrthynt, Cymmerwch chwi ef, a chroeshoeliwch : canys nid
wyf fi yn cael dim bai ynddo. Yr Iuddewon a attebasant 7
iddo, Y mae gennym ni gyfraith, ac wrth ein cyfraith ni efe
a ddylai farw, am iddo ei wneuthur ei hun yn Fab Duw.
A phan glybu Pilat yr ymadrodd hwnnw, efe o ofnodd yn 8

---

thrwy yr arddangosiad cyhoeddus hwn a wna o hono yn orchuddedig gan waed a briwiau. Prin y gellir amheu fod yn Pilat ei hun raddau o edmygedd o un cwbl lân a diniwed a ddyoddefai mor wrol a dirwgnach. Dyma nodwedd nas gallasai Rhufeiniwr lai na'i werthfawrogi. Modd bynag, ofer a fu yr apêl at y dorf: ond y mae y geiriau a ddefnyddiodd Pilat wedi apelio at y byd byth er hyny. "Wele y dyn," meddai ef, a sylwi mawr ar y dyn sydd wedi bod yn ddilynol i hyny. "Wele y dyn," meddai celfyddyd oreu yr oesoedd a'r gwledydd; "Wele y dyn," meddai llenyddiaeth y byd, wele y dyn perffaith a delweddol, wele y cynllun o ddyn, wele y ceidwad o ddyn, wele y Duw-ddyn.

**ADN. 6. Yna yr archoffeiriaid.** Gwelwn y Sadduceaid yn gofalu am fod y rhai cyntaf i ateb yr apêl, ac i roddi cyfeiriad i atebiad y dyrfa. Yr atebiad a gafodd apêl Pilat am dosturi ydoedd bloeddiadau uchel a chreulawn pobl o dan ddylanwad rhagfarnllyd, ac heb amynedd i feddwl am ddim, na gwrandaw ar neb, ond cael yr hyn oeddynt wedi ei benderfynu arno o'r dechreu. Dywedant yn awr mewn geiriau pendant beth oedd eu penderfyniad hwy drwy'r cwbl—cael yr Iesu i'r groes: cyd. Matt. xxvii. 22; Marc xv. 13; a Luc xxiii. 21. **Cymerwch chwi ef.** Y mae'n troi arnynt megis o'r blaen (xviii. 31). Y mae'r gair *fi* yn bwysleisiol fel yn xviii. 38, ac yn gyferbyniol i *chwi*. Y mae Pilat erbyn hyn yn siomedig wrth weled nad oedd ei ddatganiadau parhaus am ddiniweidrwydd yr Iesu, ei ymdrechion i ddyfod i gyfaddawd â hwy, na'r olwg ar yr Iesu yn dwyn ei benyd, yn tycio gyda hwy. Fel un yn teimlo yn chwerw tuag atynt yr etyb yn wawdlyd am iddynt hwy ei groeshoelio, yr hyn, wrth gwrs, nas gallent. Tybiwn ei fod yn awr yn gythryblus ei deimlad, a phryderus ei feddwl, ac wedi myned i *ofni* yn y gweinyddiad o'i swydd.

**ADN. 7.** Gwelwn yr Iuddewon yn ddigon llygad-graff i fanteisio ar stâd meddwl a theimlad Pilat. Yn atebiad i'w waith yn dywedyd "Cymerwch chwi ef," dywedant wrtho mai yn euog o farwolaeth y buasai, pe yn eu llaw hwy, a hyny yn ngwyneb un o'u deddfau hwy fel cenedl, gan gyfeirio at Lef. xxiv. 16. Y maent yn y fan hon cystal ag yn ychwanegu at y gŵyn wleidyddol oedd ger bron y gŵyn grefyddol oedd ganddynt yn ei erbyn. Pan y maent yn methu argyhoeddi Pilat fod yr Iesu yn haeddu marwolaeth fel un a geisiai wneyd ei hun yn frenhin yr Iuddewon, hwy a haerant ei fod yn haeddu marwolaeth fel un a wnelai ei hun yn Fab Duw.

**ADN. 8. Ofnodd yn fwy.** Tybia hyn ei fod mewn stâd o ofn yn flaenorol. Erbyn hyn gellir tybied fod dau gwestiwn yn gwasgu eu hunain at ystyriaeth Pilat, sef (1) A ydoedd ef fel rhaglaw yn parchu yn

9 fwy; Ac a aeth drachefn i'r dadleudy, ac a ddywedodd wrth
yr Iesu, O ba le yr wyt ti? Ond ni roes yr Iesu atteb iddo.
10 Yna Pilat a ddywedodd wrtho, Oni ddywedi di wrthyf fi?

---

ddyladwy megis y disgwyliai yr Ymerodraeth iddo wneud, y deddfau lleol hyny o eiddo'r Iuddewon nad oeddynt yn dod i wrthdarawiad â'r Ymerodraeth. (2) A oedd ef yn peidio bod mewn perygl o ddwyn arno'i hun ŵg y duwiau, ag yr oedd fel Rhufeiniwr wedi clywed llawer am dano. Yn ychwanegol, yn awr, at ei rwymedigaethau i'r carcharor oedd o'i flaen y mae ystyriaethau eraill yn cael lle yn ei feddwl. A oedd yn cyflawni ei rwymedigaethau i'r bobl a lywodraethid ganddo, ac a oedd yn peidio dod yn anystyriol i wrthdarawiad â'r duwiau? Ofnai gam-ymddwyn tuag at yr Iesu rhag ei fod yn un oedd yn anfonedig gan y duwiau, ac ar y llaw arall ofnai amddiffyn yr Iesu rhag ei fod trwy hyny yn cefnogi fel duw un nad oedd yn dduw. O ganlyniad, tra y mae y carcharor yn y llys yn gwbl ddiofn, ni a gawn y barnwr mewn profedigaeth ac yn myned i ofni fwy-fwy.

**ADN. 9. O ba le yr wyt ti.** Gofynir hyn nid gyda chyfeiriad at fan genedigaeth yr Iesu, ond at yr enw "Mab Duw," er mwyn iddo gael rhyw ddirnadaeth pa un ai dynol ai dwyfol oedd. **Ni roes . . . . . atteb.** Nis gellid disgwyl iddo, o dan yr amgylchiadau, roddi un. Yn un peth yr oedd llawer o amwysder yn y gofyniad. Peth arall, nid oedd Pilat ar ol ei gam-ymddygiadau tuag at yr Iesu yn haeddu cael ei ateb. Trachefn pe rhoddai'r Iesu atebiad i'r gofyniad mawr ac eang hwn ni buasai Pilat yn gallu ei ddeall. Yr oedd atebiad i'r gofyniad wedi ei roddi mewn rhan eisoes (xviii. 36, 37), ac nid ymddangosai fod Pilat yn ddim doethach. O ganlyniad distawrwydd oedd yr atebiad goreu allasai yr Iesu ei roddi. Yr oedd yr Iesu ar achlysuron blaenorol wedi myned yn fûd. Pan o flaen yr archoffeiriad y mae trwy ddistawrwydd yn condemnio y gau-dystiolaethau yn y modd mwyaf effeithiol; pan o flaen y "cadno" Herod y mae trwy ddistawrwydd yn osgoi rhoddi y boddhad a'r difyrwch cywrain a geisiai llofruddiwr Ioan; ac yn y fan hon y mae o'r diwedd wedi myned yn ddistaw ger bron Pilat—dyna oedd oreu. Nis gallwn gydolygu â Luthardt fod yr Iesu, y pryd hyn, wedi myned yn fûd er mwyn anfoddhau Pilat, a thrwy hyny sicrhau na byddai iddo, er gwaethaf yr Iuddewon, ei ollwng Ef yn rhydd. Credwn hefyd mai nid oblegid drwg-deimlad y mae yn peidio ei ateb, ond yn hytrach o dosturi tuag ato, ac am na ddymunai ei daflu i fwy o brofedigaeth nag yr oedd eisoes yn ei gafael. Ceisiodd Pilat gynyrchu tosturi tuag at yr Iesu. Nid yn hyny y llwyddodd, ond mewn cynyrchu yn yr Iesu dosturi tuag ato ef. O dosturi tuag ato y mae'r Iesu yn fûd. Y rheol yw pan y mae rhai a fyddant o dan brawf yn myned yn fud fod hyny i'w gymeryd yn ddangosiad o euogrwydd a gwendid, ond yr oedd distawrwydd yr Iesu o flaen Pilat yn brawf digamsyniol o'i nerth a'i ddiniweidrwydd.

**ADN. 10. Yna Pilat.** Gwell yw "Pilat, gan hyny." Camesboniodd y distawrwydd. Sieryd fel un wedi cael ei sarhau, ac awgryma fod yr Iesu trwy hyny wedi gwneud cam âg ef ei hun. Y mae y *fi* yn y fan hon yn bwysleisiol iawn fel mai yr ystyr ydyw—sut bynag yr wyt wedi ymddwyn o flaen eraill y mae pobpeth yn gofyn am iti ymddwyn yn

oni wyddost ti fod gennyf awdurdod i'th groeshoelio di, a
bod gennyf awdurdod i'th ollwng yn rhydd? Yr Iesu a 11
attebodd, Ni byddai i ti ddim awdurdod arnaf fi, oni bai ei
fod wedi ei roddi i ti oddi uchod: am hynny yr hwn a'm

---

eithriadol ger fy mron i. **Awdurdod.** Ar yr awdurdod a feddai y seilia ei bwysigrwydd eithriadol. Y mae'r Cyf. Diw. yn rhoddi *gallu* yn y testyn ac awdurdod ar ymyl y ddalen, ac eto dywedir mai ystyr arferol y gair *exousian* ydyw awdurdod sefydledig *(constituted right)*. Yr oedd Pilat yn feddiannol ar awdurdod, ond, druan o hono, nid oedd yn meddu gallu cyfatebol, ac y mae meddu awdurdod heb allu yn llawer mwy darostyngol na meddu gallu heb awdurdod. Ond a chymeryd y Cyf. Diw. sieryd fel pe buasai yn feddiannol ar allu, yr hyn, yn ddiau, a wnai oblegid yr ymdeimlad poenus oedd ynddo, ar y pryd, o'i ddiffyg gallu i weithredu yn ol yr awdurdod a feddai. Y mae'r Cyf. Diw., ar sail digonol, yn rhoddi y frawddeg—"i'th ollwng yn rhydd" o flaen y frawddeg—"i'th groeshoelio." Dyma hefyd y drefn naturiol.

**ADN. 11.** Etyb yr Iesu yn awr, mewn geiriau caredig a grasol, a dyma fe ymddengys, ei eiriau olaf wrth Pilat. Cyfeiriasai Pilat at y gallu neu'r awdurdod a feddai, a hawliai y fath annibyniaeth yn nglyn âg ef fel yr oedd yr Iesu o dan orfod i'w gywiro, ac i gyfeirio at uwchafiaeth Duw Dad, a dibyniaeth Pilat arno. Yr ydym i ganfod ffynhonell pob awdurdod yn Nuw, ac i edrych ar bob llywodraeth ddynol fel yn ddarostyngedig i'r Ewyllys Ddwyfol. Gallu ac awdurdod "wedi ei roddi" iddynt fel ymddiriedaeth sydd gan bawb eraill (cyd. iii. 27; Rhuf. xiii. 1; a 1 Pedr ii. 13). Ac yr oedd eisieu dysgu y wers hon i Pilat fel i lawer eraill. **Oddi uchod**—sef oddiwrth Dduw. Y mae'r gair yn un pwrpasol i ddwyn Pilat i ddeall y ffynhonell a feddylid. Y mae y syniad am y Goruchaf (*the Supreme*), am Fôd goruwch pawb eraill yn syniad cyffredin i ddynolryw. Ni buasai dyweyd "oddiwrth fy Nhad" yr un mor ddealledig iddo ef. Y mae rhai, yn wir, wedi deall "oddi uchod" yn cyfeirio at y llys Iuddewig fel uwch na llys Pilat, ac felly yn cael y frawddeg ddilynol am un ag oedd yn "fwy ei bechod" yn dyfod i mewn yn naturiol iawn; ond nis gallwn feddwl am yr Iesu yn darostwng Pilat a'i lys trwy briodoli uwchafiaeth i'r eisteddiad afreolaidd a fu yn ystod y nos. Yn hytrach yr ydym i feddwl am dano yn dwyn ger bron y gwirionedd pwysig a dwfn fod trefniadau uwch nag eiddo y naill lys na'r llall yn cael eu cario allan, mai nid yr Iuddewon gyda'u gelyniaeth ddiderfyn, ac nid hyd yn nod Pilat gyda'i awdurdod mawr, oedd yn penderfynu marw'r Groes. Na, un o hen drefniadau y Cyngor boreu ydoedd yn cael ei gario allan yn ddiarwybod ganddynt hwy. Rhaid i ni, o dan arweiniad geiriau'r Iesu yn y fan hon, feddwl am ddau beth mewn undeb a'u gilydd—meddwl am Pilat yn gweithredu yn ol yr awdurdod a feddai, ac am dano yn derbyn yr awdurdod i wneyd hyny, fel ymddiriedaeth, oddiuchod; meddwl am dano yn gyfrifol yn y mater tra ar yr un pryd yn offeryn i gario allan yr Ewyllys Ddwyfol. Yr oll a ddewisa rhai ei ddyweyd yw fod Duw yn caniatau iddo wneyd yr hyn a wnaeth; ond rhaid, yn ddiau, ddyweyd mwy. Nid ydyş wrth ddyweyd mai offeryn ydoedd yn llaw Duw yn ei wneyd ef yn ddieuog, gan fod ei wendidau ef

12 traddodes i ti, sydd fwy ei bechod. O hynny allan y ceisiodd Pilat ei ollwng ef yn rhydd: ond yr Iuddewon a lefasant, gan ddywedyd, Os gollyngi di hwn yn rhydd, nid wyt ti yn garedig i Cesar. Pwy bynnag a'i gwnelo ei hun

---

ei hun yn ei orfodi megys i weithredu yn groes i'w argyhoeddiadau. Nis gellir, fodd yn y byd, ryddhau Pilat o'r cyfrifoldeb o groeshoelio'r Iesu ; oblegid efe oedd yr unig un yn y wlad allasai wneyd hyny, a saif am byth ger bron y byd fel gwr a fethodd fanteisio ar gyfleusdra ardderchog i waredu y Gwaredwr.

**Yr hwn a'm traddodes . . . . . fwy ei bechod.** Ni ddylai fod anhawsder i benderfynu pwy a feddylir. Gwir ddarfod i Judas ei draddodi, ond nid ei draddodi fel y dywedir "i ti," sef i Pilat. Y mae rhai esbonwyr ar bwys xviii. 35 yn cymeryd mai y genedl a feddylir, ond y mae'n lled amlwg mai cydmaru Pilat gyda rhyw berson arbenig a wna'r Iesu, a phwy a all y person hwnw fod ond Caiaphas. O dri phechadur mawr—Pilat, Judas, a Chaiaphas—Pilat yn ddiau yw y lleiaf. Nis gallwn ddilyn Westcott yn y gwahaniaeth a wna rhwng Pilat a Chaiaphas yn eu perthynas â'r trefniadau Dwyfol i roddi'r Iesu i farwolaeth er gweled yn hyny reswm dros fod Caiaphas yn fwy ei bechod na Pilat, oblegid gweler xi. 50, 51. Ond y mae digon o resymau eraill dros olygu fod Caiaphas yn fwy ei bechod na Philat. Y mae yn pechu yn ngwyneb mwy o oleuni : pechai Pilat yn erbyn argyhoeddiadau cydwybod, ond pechai Caiaphas yn erbyn goleuni Datguddiad yn ogystal : traddodai Pilat yr Iesu o'i anfodd, ac ar ol gwneyd apeliadau a cheisiadau at ei ryddhau, ond traddodai Caiaphas Ef yn wirfoddol, "o genfigen," a chan wrthwynebu pob ymdrech at ei ryddhau. Nid ydoedd Pilat, o bosibl, yn gwybod dim am y Messiah, tra mai Caiaphas a ddylasai fod y cyntaf o bawb i'w adnabod, ac fel cynrychiolydd y Ddwyflywiaeth y cyntaf o bawb i'w groesawu.

**ADN. 12. O hyny allan.** Gwell fel yn y Cyf. Diw., "Ar hyny." Noda y frawddeg gysylltiad achosol yn hytrach nag amserol. Effaith lleferydd yr Iesu ydoedd gwneyd Pilat yn fwy awyddus ac ymdrechgar am ei ryddhau. Cyffröwyd ei gydwybod (yr ychydig gydwybod oedd ganddo) gan y cyfeiriad at Fôd uwch i'r Hwn yr ydoedd ef yn gyfrifol, ac, ar y pryd, aeth i ofni yr hyn a allasai fod yn effeithiau ei waith yn condemnio yr Iesu yn fwy nag yr ofnai yr hyn fyddai effeithiau ei waith yn ei ryddhau. **Y ceisiodd Pilat.** Y mae'r awydd oedd ynddo o'r dechreu erbyn hyn wedi troi yn ymdrech egniol. Yn flaenorol ewyllysiai (*thelōn*) ei ryddhau, Luc xxiii. 20, ond yn awr ceisia (*esētei*) wneyd hyny. Noda amseriad y ferf ymdrech barhaol, ac eto ni ddywedir beth a wnaeth. Amlwg yw, ei fod yn awr o ddifrif yn penderfynu rhyddhau yr Iesu, a rhydd Steinmeyer air yn y fan hon sydd yn gosod Pilat allan fel un oedd yn awdurdodol hawlio ei ryddhad. **A lefasant.** Yr un gair, meddai Westcott, ag yn adn. 6, 15, a xviii. 40, yn golygu gwaeddi gydag unllais uchel. **Garedig i Cæsar.** Yr oedd "Cyfaill Cæsar" (*amicus Cæsaris*) yn deitl a roddid ar y rhaglawiaid talaethol, a gwae yr un nas gellid cymhwyso yr enw ato. Y mae'n gwestiwn a oedd yr Iuddewon yn y fan hon yn cyfeirio at y teitl hwnw, ond y mae'n amlwg eu bod yn

yn frenhin, y mae yn dywedyd yn erbyn Cesar. Yna Pilat, 13

---

cyhuddo Pilat o annheyrngarwch i'r Ymerawdwr. Ac nis gellid, fodd yn y byd, ddwyn gwaeth cyhuddiad yn mlaen, oblegid yr oedd deddf bradfwriad (*lex majestatis—law of sedition*) y pryd hyny, yn cael ei gweinyddu yn y modd mwyaf dychrynllyd, fel yr oedd perygl i un cwbl dieuog i syrthio yn ysglyfaeth iddi pe byddai ond i gyhuddiad disail yn ei erbyn gyrhaedd clustiau yr Ymerawdwr. Ond pwy, atolwg, sydd yn gwneyd y cyhuddiad? Neb amgen na phobl a llon'd eu calonau o annheyrngarwch a gwrthryfelgarwch yn erbyn yr ymerodraeth. Nid ydoedd Pilat heb wybod mai gelynion i'r Ymerawdwr yn cymeryd arnynt fod yn amddiffynwyr teyrngarol iddo oedd y rhai hyn, ac eto yr oedd yn rhy wan, a'i fywyd ef ei hun yn rhy lawn o anghysonderau, i allu galw sylw at yr anghysondeb dybryd hwn ynddynt hwy. Hawdd ydyw gweled yn yr erlynwyr hyn fedr neillduol gyda'u gwahanol gynlluniau. Wedi iddynt ddwyn cŵyn foesol yn erbyn yr Iesu (xviii. 30), a chyhuddiad gwleidyddol ar ol hyny (xviii. 34), ac un crefyddol at hyny (adn. 7), ac i'r rhai hyn oll fod yn ofer, y maent, yn ddiweddaf, yn dwyn yn mlaen gyhuddiad yn erbyn y barnwr, a hwnw mor ddisail a'r rhai a ddygent yn mlaen yn erbyn y carcharor. Ond yr oeddynt hwy yn adnabod y barnwr, ac yn gwybod am ei fan gwan; ac yn hyn llwyddasant.

**ADN. 13. Yna Pilat.** Gwell yw "Pilat, gan hyny." Wedi clywed eu geiriau diweddaf y mae'n ildio ar unwaith. Yr oedd amryw bethau yn cyfrif am yr ildiad (*collapse*) sydyn yma. Yn un peth ei brofiad blaenorol gyda'r Iuddewon. Gwelsai ar amryw achlysuron y fath bobl diildio oeddynt hwy; pobl a fynent orchfygu neu ymddial; pobl a ddewisent farw o flaen ildio. Daethai i wrthdarawiad poenus â hwy trwy ei waith yn symud rhan o'r gwersyll Rhufeinig o Cesarea i Jerusalem, ac yn dodi i fynu yn ei ystafelloedd yn y ddinas addurniadau a ystyrient hwy yn baganaidd, ac yn defnyddio arian "y corban" i dalu am wneyd dyfrffosydd i'r ddinas. Ni fynent mo'r milwyr i halogi eu dinas, ni fynent mor addurniadau i'w hanurddo hi, ac ni fynent i arian y corban gael eu defnyddio i'r fath amcan anghysegredig, a rhoddent eu bywydau i lawr mewn gwrthdystiad yn erbyn y pethau hyn. Dangosasant ar yr achlysuron yna gymaint zel ac ystyfnigrwydd fel y dymunai y rhaglaw osgoi pethau blinion o'r fath ar ol hyny. Peth arall oedd ei euogrwydd ef ei hun yn ngwyneb ei gam-ymddygiadau fel rhaglaw. Yn nglyn â hyn y mae genym dystiolaeth Philo, "Yr oedd arno ofn pe'r anfonid dirprwyaeth Iuddewig i Rufain y byddai iddynt ddarlunio ei luaws gam-ymddygiadau ef, megis ei waith yn tynu eiddo yn anghyfiawn i'w logell ei hun, ei orchymynion annhêg a'i gosbedigaethau annynol." O ganlyniad dychrynai rhag i ymchwiliad gael ei wneyd i'w raglawiaeth, yr hyn hefyd a gymerai le, pe'r anfonid cŵyn i Rufain fel y bygythid. Y gwir yw, yr oedd ef yn ystod y pedair blynedd ag yr oedd wedi bod yn rhaglaw wedi gwneyd ei hun yn rhy wan i fedru gweithredu yn ol ei argyhoeddiadau a chyflawni ei ddyledswyddau. Pe dygasid yr achos hwn ger ei fron yn fuan ar ol ei ddyfodiad i'r swydd buasai bobpeth yn wahanol; ond erbyn hyn yr oedd gwendidau pedair blynedd o raglawiaeth yn rhwystr ar y ffordd i'r Iesu gael cyfiawnder. Rheswm arall eto ydoedd hyn, nas gallasai bellach ddisgwyl fawr o ffafr oddiwrth Tiberius

pan glybu yr ymadrodd hwn, a ddug allan yr Iesu; ac a
eisteddodd ar yr orsedd-faingc, yn y lle a elwir y Palmant,
14 ac yn Hebraeg, Gabbatha. A darpar-wyl y pasc oedd hi,

---

gan fod ei noddwr a'i gefnogydd, sef Sejanus, yr hwn a ddienyddiwyd yn O.C. 31, eisoes wedi colli ei ddylanwad gyda'r Ymerawdwr. Yr ystyriaethau uchod a'u cyffelyb a barodd iddo ildio mor gywilyddus. Y mae'n rhaid dyweyd mai golwg ddifrifol yw yr un a geir ar Pilat. Heblaw ei fod wedi gwneuthur ei hunan yn rhy wan i weithredu yn ol ei argyhoeddiadau, ac i weithredu cyfiawnder yn y gweinyddiad o'i swydd, nes o ganlyniad fod y diniwed yn gorfod dyoddef oblegid ei wendidau ef, ni a welwn ynddo hefyd un a ddygodd yn helaeth arno ei hun drafferth a phrofedigaeth am na wnaeth ar y dechreu yr hyn ag oedd yn iawn, un a rwymodd ei ddwylaw ei hun trwy ganiatau gormod i'r gwrthwynebwyr, un a wnaeth gamgymeriad difrifol trwy ddewis boddhau y bobl (Luc xxiii. 24) yn hytrach na boddloni cydwybod, gan wrandaw ar lais y bobl pan yr oedd hwnw yn amlwg groes i lais Duw, un a ddewisodd swydd a safle o flaen pobpeth arall. Gan nad beth a fyddai ei ymddygiadau tuag at yr Iesu, ni a'i gwelwn ef yn ofni dyfod i wrthdarawiad â Cæsar. Yr oedd yn barod i wneyd llawer er mwyn rhyddhau yr Iesu, ond nid oedd yn barod i golli ffafr yr Ymerawdwr, a chyda hyny i golli ei swydd, ei safle urddasol, yr anrhydedd a feddai a'r elw a dderbyniai. "Pwy bynag a fyno gadw ei einioes, a'i cyll hi; ond pwy bynag a gollo ei einioes er fy mwyn i a'r Efengyl, hwnw a'i ceidw hi," ac yn Pilat ni a welwn hynyna yn cael ei wirio. Efe a foddhaodd y bobl er mwyn cadw ei einioes, ac yn fuan ar ol hyn y mae yn colli ei einioes a phobpeth arall er mwyn i'r un pobl gael eu boddhau. Buasai yn annrhaethol well pe dangosasai barodrwydd i golli ei einioes a phobpeth daearol er mwyn yr Iesu, gan y buasai trwy hyny yn cadw ei einioes. Cafodd Pilat ei ddiswyddo, a pha un bynag a'i gwir a'i peidio yw y traddodiad yn nglyn a Mynydd Pilatus yn Switzerland, y mae'n eithaf sicr mai diwedd dychrynllyd a gafodd y gwr a draddododd yr Iesu i'w groeshoelio. **A ddug allan.** Ar ol ei gyflwyniad i sylw y dorf yn adn. 5 cymerwyd yr Iesu i'r dadleudy, lle y bu hyd yn awr pan y dygir Ef allan i dderbyn y ddedfryd. Yr oedd yn gyson ag arferiad Rhufeinig i'r ddedfryd gael ei rhoddi yn yr awyr agored. **A eisteddodd.** Nid oes digon o sail dros dderbyn y darlleniad arall—"ac a'i dododd ef (sef yr Iesu) i eistedd." Byddai'r orseddfainc Rufeinig yn cael ei gosod ar safle dderchafedig ac amlwg, a'r un modd y gosodid y carcharor pan yn derbyn ei ddedfryd. Yn Eglwys Merched Seion (*Church of the Sisters of Zion*) dangosir maen ar ba un y dywedir y safai yr Iesu pan yn cael ei gondemnio. **Palmant.** Y mae'r gair *Lithostrōton* yn golygu ceryg wedi eu cydio yn nghyd, sef y brith-balmant (*mosaic*) ag oedd mor gyffredin yn ac o amgylch y Deml. Credir fod grisiau yn arwain i fynu i'r fan lle yr oedd y barnwr a'r carcharor ar y pryd, a bod yno ddernyn o frith-balmant ar yr hwn y cymerodd y condemniad le. **Gabbatha.** Y mae ychydig o anhawsder yn y fan hon, oblegid nid ydyw Gabbatha yn gyfieithiad Hebraeg nac Aramaeg o balmant. Yr esboniad ar hyn, feallai, yw mai gair ydyw *Gabbatha* yn cyfeirio at beth arall ag oedd yn nodweddiadol o'r un man. Un ystyr eithaf posibl i Gabbatha yw y dynoda fan o ba un yr ymddangosai maes cauedig y deml (*Temple area*)

ac ynghylch y chweched awr: ac efe a ddywedodd wrth yr
Iuddewon, Wele eich Brenhin. Eithr hwy a lefasant, 15
Ymaith âg *ef*, ymaith âg *ef*, croeshoelia ef. Pilat a

---

megys truman hir-grwn, ond fel y sylwa yr awdurdod uchel Dr. Nestle yn Ngeiriadur Hastings y mae'n anmhosibl penderfynu ar ei ystyr.

ADN. 14. **Darparwyl y Pasg.** Dengys Exod. xii. 6 fod rhan o'r 14eg o Nisan i fod yn ddarparwyl. Y rhan ar y dechreu ydoedd *y cyfnos*, sef rhwng y ddau hwyr. Arferid deffinio y cyfnos fel dwy neu dair awr cyn machludiad haul, ond pan ddaeth nifer yr ŵyn a offrymid yn lluosog iawn daeth rhan helaethach lawer o'r dydd i'w ystyried yn ddarparwyl. Gwaith mawr y ddarparwyl, heblaw offrymu yr ŵyn ydoedd glanhau y tai, er sicrhau na byddai dim lefain ynddynt. Mewn ystyr fwy cyffredinol yr oedd y ddarparwyl er dechreu'r mis. Mor fuan ag yr hysbysid trwy gyfrwng cenhadau, tânau ar benau y mynyddoedd, &c., fod mis y Pasg wedi dechreu, elai yr holl wlad i barotoi ar gyfer yr ŵyl trwy wella y ffyrdd, y pontydd, &c. **Yn nghylch y chweched awr.** Nid oes yn yr Ysgrythyr gwestiwn amseryddol o bwys ag sydd yn fwy dyrys na'r un sydd yma. Dywed Ioan i'r Iesu gael Ei gondemnio ar y 6ed awr, a dywedir yn Marc xv. 25 iddo gael ei groeshoelio ar y 3edd awr. Os yr un dull o gyfrif amser sydd gan y ddau Efengylydd, sef y dull arferol gyda'r Iuddewon o ddechreu'r dydd, chwech o'r gloch y bore, yna ceir fod yr Iesu yn cael ei gondemnio ganol dydd ac yn cael ei groeshoelio dair awr cyn hyny. Pa un o'r ddau sydd i'w ddilyn, a sut y mae eu cysoni? Y mae Matthew a Luc, mor bell ag yr ânt, yn cefnogi Marc, oblegid rhoddant ar ddeall fod yr Iesu ar y Groes tua chanol dydd. Ar yr un pryd gellid disgwyl y manylion gyda mwy o gywirdeb gan un oedd yn llygad-dyst fel Ioan. Y mae Westcott yn dål mai y dull Rhufeinig sydd gan Ioan bob amser, sef dechreu cyfrif o haner nos, ac felly y 6ed awr a fyddai chwech o'r gloch y bore. Y mae Plummer drachefn yn deall mai dull—yn cyfateb i'r un Rhufeinig—ag y daethai Ioan yn gynefin âg ef yn Asia Leiaf sydd ganddo yn y fan hon, ac yn ol hwnw golygai y 6ed awr chwech o'r gloch y boreu. Ar y llaw arall dadleua Godet mai y dull Iuddewig sydd gan Ioan yn y fan hon, oblegid yn benaf, y metha weled sut y gallasai yr holl dreialon a'r holl driniaethau yr aethai'r Iesu trwyddynt er yr adeg a nodir yn xviii. 28 gymeryd lle erbyn chwech o'r gloch y boreu. Y mae ef yn cysoni Marc a Ioan trwy gymeryd fod Marc yn nodi yr amser y cafodd yr Iesu ei fflangellu, yr hyn, yn ol yr arfer cyffredin, a ystyrid yn ddechreuad y croeshoeliad, tra y mae Ioan gyda mwy o gywirdeb yn nodi yr awr y cafodd yr Iesu mewn gwirionedd ei gondemnio i farwolaeth, sef tua deuddeg o'r gloch. Y mae Meyer hefyd, am yr un rheswm a Godet, yn ystyried fod tua deuddeg o'r gloch yn adeg mwy tebygol i'r condemniad gymeryd lle na chwech o'r gloch y bore. Oddiwrth Ioan yr ydym i ddeall ei bod yn agoshau at haner dydd cyn i gondemniad terfynol yr Iesu gael ei sicrhau, ac ar ol hyny ddarfod iddynt weithredu gyda'r brys mwyaf fel y llwyddasant i gael yr Iesu ar y Groes yn fuan ar ol haner dydd. **Wele eich Brenhin.** (Gwel ar xxiii. 33—37).

ADN. 15. **Croeshoelia ef.** Y mae'n naturiol gofyn ai yr un pobl oedd yn gwaeddi "Hosanna i Fab Dafydd" ddechreu yr wythnos ag

ddywedodd wrthynt, A groeshoeliaf fi eich Brenhin chwi?
A'r arch-offeiriaid a attebasant, Nid oes i ni frenhin ond
16 Cesar. Yna gan hynny efe a'i traddodes ef iddynt i'w
groeshoelio. A hwy a gymmerasant yr Iesu, ac a'i

---

oeddynt yn gwaeddi "Croeshoelia ef" ddiwedd yr wythnos? Nage, yn sicr, meddai rhai, ond pobl hollol wahanol. Dieithriaid o Galilea a lleoedd eraill oedd yn yr orymdaith, ond trigolion Jerusalem, ag oeddynt o dan ddylanwad yr offeiriaid, oedd wrth y dadleudy: pobl y wlad yn gwaeddi "Hosanna" a phobl y dref yn gwaeddi "Croeshoelia." Haws genym gredu fod llawer o'r un pobl yn bresenol ar y ddau amgylchiad, ond fod yr arweinwyr yn rhai gwahanol. **Nid oes i ni frenhin ond Cæsar.** Rhaid yw fod Pilat fel un gorchfygedig gan yr Iuddewon yn cael rhyw gymaint o gysur a boddhad wrth weled eu bod yn cael y fuddugoliaeth hon trwy wneyd yr hyn oedd mor ddinystriol iddynt hwy eu hunain, ac mor galonogol i'r ymerodraeth. Fel y sylwa Reith, "Trwy ymgyndynu gyda hwy llwyddodd Pilat i ddirwasgu oddiwrthynt yr hyn ag y methodd y dyoddefiadau mwyaf difrifol, yr erledigaethau mwyaf llym, ac hyd yn nod ferthyrdod ei hun, sef tynu oddiwrthynt gyffes a gynwysai wadiad o'u hannibyniaeth cenedlaethol, a chydnabyddiaeth teyrngarol o Ymerawdwr Rhufain fel eu hunig arglwydd hwy. Er gwrthod ei Fessiah gorfu i'r Iuddew wadu ei hun, ei wlad, ei hanes, ei ddyfodol, a'i Dduw." Trwy wrthod i Fab Duw fod yn frenhin arnynt y maent yn rhoddi terfyn ar y Ddwyflywiaeth, ac yn dewis o hyny allan gael eu llywodaethu o Rufain yn lle o'r Nef. Y mae'r gair ddefnyddiwyd yn un hynod neillduol: nid gwrthod yr Iesu fel y Messiah addawedig y maent, ond datgan nad oedd a fynent hwy â'r un Messiah ag oedd yn bod neu i fod. Yr archoffeiriaid Sadduceaidd, y mae'n wir, a ddarfu ddyweyd fel yna, ac y mae'n amheus a fuasai y Phariseaid yn ei ddyweyd. Modd bynag, rhoddwyd mynegiad i'r gair gan gynrychiolwyr y genedl ar y pryd, a gwelir yn hanes y genedl fel y cyflawnwyd y dymuniad hwn o'r eiddynt.

**ADN. 16. A'i traddodes.** Nid ydyw yn myned trwy y ffurf arferol o gondemnio, nac ychwaith yn cyhoeddi y ddedfryd o gondemniad, gan ddyweyd y gair angeuol—*Ibis ad crucem* (cyd. Matt. xxvii. 26; Marc xv. 15; Luc xxiii. 25). Cyflawna weithred yr hon a ddeallid gan Iuddewon fel yn arwyddo ei fod yn gwrthod gwneyd hyny. Ar ol golchi ei ddwylaw efe a ddywed, yn unol â chais blaenorol ei briod, mai "Dieuog" ydoedd "oddiwrth waed y cyfiawn hwn." I hyn atebodd y dorf yn anystyriol iawn—"Bydded ei waed Ef arnom ni, ac ar ein plant." Ac felly yn hollol y bu; oblegid ymhen 30 mlynedd ar ol hyn y mae y rhaglaw Rhufeinig yn tywallt gwaed miloedd o drigolion Jerusalem, ac ychydig yn ddiweddarach daeth croeshoelio y trigolion yn beth mor gyffredin fel y dywedir "nad oedd digon o groesau i'w cael at y cyrph, na digon o le i osod y croesau i fyny." **Iddynt . . . . hwy**—sef y rhai yn yr adnod flaenorol. Pilat oedd mewn enw yn gyfrifol, ond eu gweithred hwy ydoedd hon i fod. Caniatau a wnai ef iddynt hwy gario allan eu dedfryd eu hunain. **A gymerasant yr Iesu.** Gwell fyddai darllen a "dderbyniasant." Yr un gair sydd yma ac yn i. 11.

dygasant ymaith. Ac efe gan ddwyn ei groes, a ddaeth i 17
le a elwid Lle y benglog, ac a elwir yn Hebraeg, Golgotha:

---

Gwir felly ddarfod iddynt ei dderbyn—derbyniasant Ef nid fel Crist Duw a Cheidwad dynion, ond fel drwgweithredwr: nid fel un i lywodraethu arnynt, ond fel un i gael ei ladd ganddynt. Yr un gair sydd yma am danynt hwy yn ei gymeryd neu ei dderbyn Ef, ag sydd yn xiv. 3 am dano Ef yn cymeryd neu yn derbyn ato'i hun; ond y fath wahaniaeth—derbyniant hwy Geidwad y byd i'w groeshoelio, a derbynia yntau bechaduriaid y byd i'w gogoneddu.

**ADN. 17.** Yr ydym yn awr yn dilyn yr Iesu ar hyd yr hyn a elwir yn Ffordd y Gofid (*via dolorosa*). Yr oedd deddfau Israel a Rhufain yn gofyn ar fod ysbaid o amryw ddyddiau rhwng cyhoeddiad y ddedfryd a'i rhoddiad mewn gweithrediad; ac eto mor fuan ag y traddodwyd yr Iesu i'w dwylaw arweiniwyd Ef ymaith gyda'r brys mwyaf. Cyn cychwyn y maent yn rhoddi iddo ei wisg ei hun yn lle y wisg borphor (Marc xv. 20), ond ni ddywedir eu bod yn symud ymaith y goron ddrain. Gellir meddwl am danynt yn gyntaf oll yn ei arwain i lawr y grisiau fel y darlunir gan Doré. Ond ai "y grisiau sanctaidd" a geir yn awr yn Rhufain oeddynt sydd beth arall. Ar ol gadael adeiladau Antonia credwn i'r orymdaith fyned ar hyd heol yn rhedeg i'r gorllewin, ac yn mhen yspaid gan adael y ffordd a arweinia at Eglwys y Bedd Sanctaidd ar y chwith troisant ar hyd heol ogleddol yn arwain y tu allan i'r ddinas trwy Borth Damascus. **Gan ddwyn ei groes.** Darllena y Cyf. Diw.—*gan ddwyn y groes iddo ei hun.* Dyna oedd yr arferiad, ac o bosibl fod yn Luc xiv. 27 gyfeiriad ato. Gall y gair "Croes" olygu polyn neu blanc, ac y mae Dr. Adam Brown yn Ngeiriadur Hastings, Keim, ac eraill yn dàl nad yr arferiad ydoedd i gario y groes drom yn gyfan, ond rhan arbenig o honi, y *patibulum*, h.y. breichiau y groes, neu y darn a ddodid yn *groes* i'r un mwy a thrymach a sicrheid yn y ddaear. Heblaw dwyn ei groes arferai y carcharor, neu ryw filwr a gerddai o'i flaen, ddwyn astell, ac arni yn ysgrifenedig enw y carcharor a'i drosedd. Nid yw Ioan yn croniclo holl ddigwyddiadau yr orymdaith, er engraipht, nid yw yn yngan gair am Simon yn cario y groes, yr hyn fel y gwelir oddiwrth yr Efengylwyr eraill a wnaed am ran yn unig o'r ffordd. **A ddaeth i le.** Y mae un syniad a ddylasai fod i mewn, heb fod yn y Cyf. Cymraeg, sef y syniad "o fyned allan" o'r ddinas. Yn xii. 12 ni a welwn orymdaith yn ei gymeryd i mewn i'r ddinas, ond gwahanol iawn i hono yw'r orymdaith hon yn ei gymeryd allan o'r ddinas. **Golgotha.** Gair Hebraeg, ac y mae gair Aramaeg tebyg iddo. Y gair Groeg ydyw *kranion*, y Lladin *calvaria*, y Saesonaeg *skull*, y Cymraeg penglog. Y geiriau yn y gwahanol ieithoedd am benglog, felly, yw y gwahanol enwau a ddefnyddir ar le y Croeshoeliad. Y mae y Cyf. Diw. yn Luc xxiii. 33, yr unig fan y ceid yr enw *Calfaria* yn rhoddi y gair penglog yn ei le, a'r rheswm amlwg am arferiad helaeth yr enw Calfaria yw—mai dibynu ar y cyfieithiad Lladinaidd o'r Ysgrythyr y bu'r Eglwys am amser maith o ddechreu y bumed ganrif. Y mae penderfynu ar *le* y Croeshoeliad yn waith anhawdd iawn. Y mae traddodiad Eglwysig helaeth a phwysig yn dynodi y fan yn *Eglwys y Bedd Sanctaidd* ag sydd yn awr yn nghanol dinas Jerusalem. Y mae'r traddodiad yn un nas gellir ei anwybyddu

pan y gwelir ei fod wedi dechreu gyda gwaith Cystenyn Fawr a'i fam Helena, yn ol tystiolaeth Eusebius, yn adeiladu y gofadail fawr hon, a phan y cawn y tair caingc Ddwyreiniol o'r Eglwys Gristionogol, Eglwys Groeg, Eglwys Rhufain a'r Eglwys Armenaidd, yn credu yn ddiysgog mai y tu mewn i'r adeilad yma y ceir safleoedd y Croeshoeliad a'r bedd. Y mae'r Eglwysi hyn (ac eraill) o ganlyniad yn cario yn mlaen wasanaeth mewn gwahanol ranau o'r adeilad, ac, fel y mae gwaetha'r modd, hefyd, gyda milwyr y Twrc Mahometanaidd yn gorfod bod yno yn ddifwlch i gadw y Cristionogion hyn rhag ymladd â'u gilydd.

Er pobpeth y mae tuedd gref, ag sydd yn myned ar gynydd parhaus, i wrthod y safle a nodir gan draddodiad, ac i gredu ddarfod i Cystenyn a'i fam gael eu camarwain yn y mater. Y mae amryw safleoedd eraill wedi eu cynyg, ond erbyn hyn saif y ddadl cydrhwng Eglwys y Bedd Sanctaidd a'r hyn a elwir yn *Calfaria Gordon*. Peth arall i'w ystyried, wrth gwrs, o barth i le y croeshoeliad ydyw y dystiolaeth Feiblaidd am dano. Y mae'n rhaid i'r lle gyfateb i'r pethau canlynol a ddysgir yn yr hanes—(1) Ei fod y tu allan i furiau y ddinas, Matt. xxvii. 31; xxviii. 11; a Heb. xiii. 12. (2) Ei fod yn agos i'r ddinas, Ioan xix. 20. (3) Ei fod yn agos i brif-ffordd, Matt. xxvii. 39; Marc xv. 29; Luc xxiii. 26. (4) Ei fod yn weladwy o bellder, Matt. xxvii. 55; Marc xv. 40; Luc xxiii. 49. (5) Fod gardd a beddau heb fod yn mhell oddiwrtho, Ioan xix. 41, 42. (6) Fod y lle yn un ag y byddai priodoldeb mewn cyfeirio ato fel "y benglog": Matt. xxvii. 33; Marc xv. 22; Luc xxiii. 33; Ioan xix. 17. Ar ol ymchwiliad helaeth ymddengys i ni nas gall nemawr i un o'r amodau yna fod yn wir am safle Eglwys y Bedd Sanctaidd fel yr oedd y pryd hyny mwy nag fel y mae yn awr. Ar y llaw arall, ymddengys fod Calfaria Gordon yn cyfateb i'r oll o honynt. Gelwir y lle fel hyn oblegid y pwys a roddwyd arno fel man y croeshoeliad gan y diweddar Gadfridog Gordon pan yn gwneyd ymchwiliadau yn y wlad. Bryn bychan ydyw, yn sefyll ar ei ben ei hun, y naill du i'r brif-ffordd sydd yn myned drwy Borth Damascus, a rhyw gan' llath y tu allan i fur gogleddol y ddinas. Y mae'r olwg arno yn peri i un yn naturiol feddwl am *benglog*, a'i ffurf yn bresenol i bob tebyg ydoedd ei ffurf y pryd hyny. Y mae'r hen esboniad ar enw y lle yn hollol annaturiol, oblegid nid lle y penglogau a ddywedir gan gyfeirio at ddarnau o gyrph y rhai dienyddiedig oedd i'w cael yn y lle. Yr ystyr yw—y lle ag sydd o ran ei ffurf megis penglog, ac o ganlyniad, fel y dywed Luc, "a elwir y benglog." Y mae fod y lle megis penglog yn dangos y priodoldeb o'i alw yn fryn, er na elwir mo hono yn fryn na mynydd yn y Beibl. Yn un o ystlysau y bryncyn hwn, y mae "ogof Jeremiah," ac felly yr ydym i feddwl am y prophwyd hwnw o dan y bryn yma yn cyfansoddi ei alarnad am gymeriad a chyflwr ei bobl Israel, ac am yr Iesu, y prophwyd mawr, ar yr un bryn yn cael ei groeshoelio ganddynt. Yn ngwyneb y cwbl teimlwn na raid i ni betruso son am fryn y Groes a phen Calfaria, ac y mae yn dda genym feddwl am Golgotha wedi ei gadw yn Ddwyfol syml fel yr oedd, ac nid yn lle wedi ei anurddo gan yr addurniadau a'r llafurwaith ymddangosiadol a berthyn i ddefodaeth ddynol, ac y mae'n dda genym yn mhellach ymuno âg Edersheim mewn son am y lle moel hwn fel "y llanerch mwyaf cysegredig a gwerthfawr yn Jerusalem."

Lle y croeshoeliasant ef, a dau eraill gyd âg ef, un o bob 18
tu, a'r Iesu yn y canol.

---

**ADN. 18. Y croeshoeliasant.** Dull cyntefig a barbaraidd o roddi i farwolaeth ydoedd hwn. Yn gydmarol ddiweddar y daeth yn arferedig yn yr Ymerodraeth Rufeinig, ac ni feddyliwyd yn Rhufain ei hun am groeshoelio neb ond caethweision. Yn amser Iesu Grist arferid croeshoelio eraill, os yn byw yn y talaethau pellenig; ond bob amser pan y byddai y Rhufeiniaid yn croeshoelio fe dybid fod yr un a groeshoelid, naill ai yn gaethwas, neu yn perthyn i'r dosbarth mwyaf brwnt ac isel o droseddwyr. Fel y cyfryw y rhoddwyd yr Iesu i farwolaeth. Rhoddodd yr Ymerawdwr Cristionogol Cystenyn derfyn ar yr arferiad annynol. Nodweddid y math hwn o farwolaeth gan (1) boen corphorol, (2) gwaradwydd meddyliol. Nid yw pawb o'r farn fod croeshoeliad y math mwyaf poenus o farwolaeth, ond y mae pawb o'r farn ei fod y mwyaf gwaradwyddus, fel mai y canlyniad yw fod y Groes yn dod ger ein bron fel arwyddlun o waradwydd (Heb. xii. 2; xiii. 13; Gal. iii. 13). Nid ydoedd croeshoeliad yn arferiad Iuddewig, ac eto yr oedd gyda hwy arferiad a osodai allan mewn rhan "waradwydd y groes," sef eu gwaith ar ol llabyddio un i farwolaetb yn ei grogi ar bren er mwyn ei wneyd "yn felldigedig" (Jos. x. 26; 2 Sam. iv. 12; Ezra vi. 11; Deut. xxi. 22). Nid damwain ydoedd i'r Iesu farw trwy gael ei groeshoelio. Yr oedd angenrheidrwydd am iddo farw felly, nid yn unig oblegid ddarfod i hyny gael ei ragfynegi (iii. 14; xii. 32), ond oblegid fod dybenion mawr a phwysig yn cael eu cyrhaedd trwy hyny—megis fod cyhoeddusrwydd y farwolaeth yn foddion i'w dwyn ger bron sylw y byd, fod erchylldra yr ing a'r gwaradwydd yn amlygiad o ddrygedd a bryntni pechod, fod yr hunan-aberth yn ddatguddiad o'r cariad anfeidrol, a bod yr oruchafiaeth a gafodd yr Iesu trwy angeu ar "farwolaeth" a'r "felldith" yn Iawn dros bechod y byd. Nodi y croeshoeliad fel ffaith a wna'r Efengylwr, ond yn ddilynol i hyny nodir ei ystyr a'i amcan yn helaeth, yn neillduol gan Paul (Tit. ii. 14; 1 Tim. ii. 6; 2 Cor. v. 15; Gal. iii. 13). Gwelir hefyd nad ydoedd "athroniaeth y croeshoeliad" yn beth dieithr i feddwl Ioan (x. 11, 17; xi. 49—52; a 1 Ioan ii.).

**Dau eraill.** Nid yw Ioan yn desgrifio cymeriadau y rhai hyn. Yr oedd hyny wedi ei wneyd gan yr Efengylwyr eraill (Matt. xxvii. 38; Marc xv. 27; a Luc xxiii. 32). Paham y croeshoeliwyd y rhai hyn gyda'r Iesu? a pha un ai trefniad o eiddo Pilat ynte trefniad o eiddo'r Iuddewon oedd? Hollol gyson â'r awydd a'r ymgais a ddangosasai Pilat i ryddhau yr Iesu fyddai ei fod yn benderfynol o beidio gwneyd trefniadau penodol ar gyfer ei groeshoelio. Gan y mynent hwy ei groeshoelio, trefnai yntau fod hyny yn cymeryd lle megis yn nghysgod rhywrai eraill a groeshoelid drwy ei drefniad penodol ef, ac yr oedd ganddo yn ngharchar ddau o gyd-derfysgwyr Barabbas yn aros dydd eu dienyddiad, ac felly y mae'n trefnu fod i'r Iuddewon groeshoelio yr Iesu gyda'r ddau a groeshoelid ganddo ef. **Iesu yn y canol.** Gellir meddwl am hyn eto fel trefniad o eiddo Pilat er gwaradwyddo y genedl; ond mwy tebygol yw fod yr Iesu yn cael ei groeshoelio gyda'r ddau garnleidr, ac yn y canol rhyngddynt, yn ol dymuniad a threfniad yr Iuddewon, fel y gallent waradwyddo'r Iesu trwy nodi allan mai Efe ydoedd y gwaethaf

19 A Philat a ysgrifenodd ditl, ac a'i dododd ar y groes.
A'r ysgrifen oedd, IESU O NAZARETH, BRENHIN YR
20 IUDDEWON. Y titl hwn gan hynny a ddarllenodd llawer
o'r Iuddewon; oblegid agos i'r ddinas oedd y fan lle y
croeshoeliwyd yr Iesu: ac yr oedd wedi ei ysgrifenu yn
21 Hebraeg, Groeg, *a* Lladin. Yna arch-offeiriaid yr Iudd-
ewon o ddywedasant wrth Pilat, Nac ysgrifena, Brenhin yr
Iuddewon; eithr dywedyd o hono ef, Brenhin yr Iuddewon
22 ydwyf fi. Pilat a attebodd, Yr hyn a ysgrifenais, a
ysgrifenais.
23 Yna y milwyr, wedi iddynt groeshoelio yr Iesu, a gym-

---

a'r peryclaf o'r tri. Eu hamcan hwy trwy ei osod yn y canol oedd ei waradwyddo, ond y gwir yw, er hyny, mai ei le priodol a gogoneddus Ef yw y lle canol yn mhob man. Efe yw y canol-wr a chanol-bwynt y cwbl oll. Felly yn y Greadigaeth, felly yn yr Eglwys, felly yn mherthynas yr Eglwys a'i Duw, ac felly yn y Duwdod ei Hun.

**ADN. 19. Deitl**—y gair Lladin arferol *titulus*. "Ysgrifen ei achos" a ddywedir yn Marc xv. 26. **Brenhin yr Iuddewon.** Parha Pilat i ddefnyddio y cyhuddiad a ddygasent hwy yn mlaen, er mwyn eu gwaradwyddo hwy yn fwy na'r Iesu, fel pobl a'u bryd mewn gwirionedd ar gael brenhin iddynt eu hunain.

**ADN. 20. Yn Hebraeg, Groeg, a Lladin.** Peth arferol yn y talaethau Rhufeinig ydoedd rhoddi mwy nag un iaith ochr yn ochr. Yr Hebraeg (neu yr Aramaeg) ydoedd iaith gyffredin y trigolion, y Groeg ydoedd iaith yr ymwelwyr dysgedig â'r ŵyl, a'r Lladin ydoedd iaith y swyddogion Rhufeinig. Iaith y werin, iaith yr ysgolion, a iaith y llys; dyma dair iaith yn cynrychioli Crefydd, Diwylliant a Masnach y byd. Yn ddiarwybod iddo ei hun gesyd Pilat y Crist croeshoeliedig allan fel Brenhin yn mhob iaith, Brenhin ar bob dyn, a Brenhin yn nglyn â holl symudiadau'r byd.

**ADN. 21. Archoffeiriaid yr Iuddewon.** Dyma'r unig engraipht o'r term. Cais y ddirprwyaeth hon oedd ar i Pilat newid geiriad y teitl. Yn y gwreiddiol y mae'r fanod o flaen y gair Brenhin yn y frawddeg gyntaf, Nac ysgrifena—"Y Brenhin," &c. Cyfyd y cwestiwn, Pwy a feddylien. hwy wrth "y Brenhin"—pa un ai y Messiah ynte yr ymerawdwr?

**ADN. 22.** Yn yr atebiad hwn gwelir "yr ystyfnigrwydd haiarnaidd" hwnw ag y dywed Philo oedd yn nodweddiadol o Pilat. Ond paham ar ol ildio cymaint y mae yn gadarn yn awr? Nid oedd raid iddo bellach, y mae'n amlwg, ofni Tiberius, ond gallasai yn ddibetrus ddangos iddo y teitl.

AMGYLCHIADAU Y CROESHOELIAD. ADN. 23—27.

Yr hyn o'r amgylchiadau a roddir gan Ioan fe'i rhydd gyda manylder llygad-dyst. Yn un peth rhydd olwg fyw iawn ar y personau oedd o gwmpas y Groes.

merasant ei ddillad ef, ac a wnaethant bedair rhan, i bob
milwr ran; a'*i* bais ef: a'i bais ef oedd ddiwnïad, wedi ei
gwau o'r cŵrr uchaf trwyddi oll. Hwythau a ddywedasant 24
wrth eu gilydd, Na thorrwn hi, ond bwriwn goelbrennau
am dani, eiddo pwy fydd hi: fel y cyflawnid yr ysgrythyr
sydd yn dywedyd, Rhannasant fy nillad yn eu mysg, ac am
fy mhais y bwriasant goelbrennau. A'r milwyr a wnaeth-
ant y pethau hyn.
Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu, ei fam ef, a 25
chwaer ei fam ef, Mair *gwraig* Cleophas, a Mair Magdalen.

---

**ADN. 23. Y milwyr gan hyny.** Yn ol y drefn yr oedd yr eiddo oedd o gwmpas person y croeshoeliedig yn disgyn i ddwylaw y milwyr a'i croeshoeliai. Ychydig iawn, yn ddiau, o eiddo daearol oedd i'w gael ar ol yr un a adawodd etifeddiaeth ysbrydol ddiderfyn ei gwerth ai gogoniant ar ei ol i'w bobl. Dosbarthir yr hyn a wisgai yr Iesu yn ddwy ran, sef *ei ddillad* (*himatia*), h.y. ei wisg uchaf, a'i *bais* (*chitôn*), h.y. ei wisg isaf; neu mewn geiriau eraill yr *arwisg* a'r *amwisg*. Nid yw cyfieithiad y LXX. o'r Psalm, yr hwn a ddifynir yn adn. 24, yn gwneyd y gwahaniaeth a wna Ioan. Dangosir fod y milwyr yn bedwar o nifer, y nifer arferol mewn gwyliadwriaeth (Act. xii. 4). Gellir meddwl am ei arwisg yn cynwys pedwar dernyn—y penwisg, y sandalau, y wregys, a'r fantell, yr hon a olygai, feallai, y goban gyffredin yn y wlad a eilw yr Arabiaid yn *abayeh;* a gellir hefyd gyda Godet feddwl am y milwyr yn gyntaf oll, yn rhanu y pedwar dernyn cydrhyngddynt trwy fwrw coelbren arnynt. Gwelir fod yr amwisg (*tunic*) yn un neillduol. Yr oedd wedi **ei gwau trwyddi,** a chyrhaeddai o'r **cwr uchaf** neu y gwddf hyd at y traed, gan ffitio braidd yn dỳn am y corph. Cymerodd Chrysostom yr amwisg hon i olygu gwisg dlawd a gwael megis eiddo y bobl gyffredin, ond yr argraph a rydd yr hanes yw ei bod yn wisg werthfawr, wedi ei gwneyd yn ofalus gan un o'i garedigion Ef. Rhydd Josephus brawf arbenig mai gwisg werthfawr oedd drwy nodi mai un fel hon ydoedd gwisg yr archoffeiriaid.

**ADN. 24. Goelbrennau.** Tybir fod disiau (*dice*) wrth law gan y milwyr fel y byddai iddynt ddifyru eu hunain yn ystod y wyliadwriaeth. Wedi iddynt sicrhau yr Iesu ar y groes, ni a'u cawn, mewn ysbryd chwareus o dan lygaid yr Iesu, yn rhanu ei ddillad, a thrwy fwrw coelbren yn penderfynu pwy oedd i gael yr amwisg. Gwêl Ioan yn eu gweithred gyflawniad o'r Ysgrythyr, Ps. xxii. 18. Cydmarer adn. 1, 7, 8 o'r Ps. gyda Matt. xxvii. 46, 39, 43, ac adn. 15, 18 o'r Ps. gydag adn. 28 a 23 o'r benod hon, a theimlir fod y Salm hon, yr un modd ag Esaiah liii., wedi eu cyfansoddi a'r Croeshoeliad yn y golwg. Hyd yn nod pe cymerir y Psalm yn gyntaf oll fel datganiad o brofiad rhyw wr da yn Israel, yr hwn oedd yn gysgod o Grist, rhaid, y mae'n amlwg, ei chymeryd fel Salm Fessianaidd, ac yn cynwys rhagfynegiad pendant o'r hyn a gymerai le ar Galfaria. Fel y sylwa hyd yn nod Cheyne, ni ddylid synu at fod desgrifiad manwl yn cael ei roddi ganrifoedd yn mlaen llaw, pan y ceir fod y Croeshoeliad wedi ei dragwyddol gynllunio (1 Petr i. 11).

26 Yr Iesu gan hynny, pan welodd ei fam, a'r disgybl yr hwn
a garai efe yn sefyll ger llaw, a ddywedodd wrth ei fam, *O*
27 wraig, wele dy fab. Gwedi hynny y dywedodd wrth y

---

**ADN. 25.** Dengys y gwreiddiol fod Ioan yn cyferbynu y rhai y soniwyd am danynt yn adn. 23 a 24 â'r rhai yn yr adnodau dilynol. Cwestiwn pwysig yn nglyn â'r adnod hon ydyw—Pa un ai tair ynte pedair gwraig a enwir ynddi? Y mae y darlleniad yn amwys, a gellir ei ddeall fel hyn—Ei fam, a chwaer ei fam sef Mair Cleophas, a Mair Magdalen. O ddeall yr adnod fel yna y darfu i Jerome ac eraill gymeryd fod ynddi sail i'r golygiad mai *cefndryd* i'r Iesu ydoedd "ei frodyr." Y mae yn deilwng o sylw mai y darlleniadau Syriaidd yw—"Ei fam, a chwaer ei fam, *a* Mair Cleophas, a Mair Magdalen." Rhoddir rhestr hefyd yn Matt. xxvii. 56, a Marc xv. 40, ac y mae eu cydmaru yn dangos y pethau canlynol: (1) fod yn rhaid gwahaniaethu "chwaer ei fam ef" oddiwrth Mair Cleophas; (2) mai yr un yw Mair Cleophas a Mair mam Iago a Jose; ac yn (3) yr ymddengys yn debygol mai "chwaer ei fam ef" ydyw yr un a elwir yn "Salome" gan Marc, ac yn "fam meibion Zebedeus" gan Matthew.

**ADN. 26.** Cawn olwg ar yr Iesu yn nghanol ei ing mwyaf yn ymddwyn fel Efe ei hun—mewn hunan-anghof dwyfol-brydferth yn meddwl am angenrheidiau a chysuron eraill. Teimlir dau anhawsder yn yr adnod hon. (1) *Y modd y cyfarcha yr Iesu ei fam.* Camgymeriad mawr, yn sicr, ydyw tybied fod elfen o ddiraddiad neu ddiystyrwch yn dod i'r golwg yn yr enw ddefnyddiodd arni. Defnyddiodd ef, fel yr ymddengys, nid yn ddamweiniol, ond yn fwriadol, megis ag y gwnaeth yn ii. 4. Yr oedd yn rhaid rhoddi ar ddeall i Mair yn garedig fod y cysylltiadau teuluaidd ag oeddynt o'r ddaear yn ddaearol yn cael eu dirwyn i ben fel y byddai i gysylltiadau o radd uwch, rhai ysbrydol-deuluaidd, gymeryd eu lle. Yr oedd hi bellach i feddwl am dano Ef nid fel ei mhab naturiol, ond fel ei Cheidwad ysbrydol; a gwelir y gallasai yr ystyriaeth hon fod yn foddion effeithiol iawn i liniaru y poen gorlethol a deimlai ger bron y groes. (2) *Ei waith yn cyflwyno ei fam i ofal Ioan* pan yr oedd ganddo frodyr i ofalu am dani. Diflana yr anhawsder yn ngwyneb dwy neu dair o ystyriaethau. (1) Os mai haner-brodyr i'r Iesu oedd y "brodyr," fel y dysga Lightfoot, Westcott, ac eraill, ac os oedd Salome, mam Ioan, yn chwaer i Mair y Forwyn, yna yr oedd perthynas naturiol nês cydrhwng Mair a Ioan nag oedd rhyngddi hi a'r "brodyr." Dyna ddigon o reswm dros y weithred—perthynas naturiol nês. (2) Ond a chaniatau nad oedd Ioan ddim yn perthyn yn naturiol nês i Mair na'r "brodyr," h.y., caniatau yr hyn sydd yr un mor debygol, eu bod yn frodyr llawn i'r Iesu, ac felly yn blant i Mair, nid ydym heb resymau dros y weithred. Gwelir oddiwrth 1 Cor. ix. 5 eu bod yn briod, ac y mae'n bur debyg eu bod wedi priodi cyn adeg y Croeshoeliad, oblegid arferai yr Iuddewon briodi cyn eu bod yn ugain oed. Os felly, yr oedd gwaith yr Iesu yn cyflwyno ei fam i ofal ei gefnder a'i gyfaill penaf, yr hwn oedd yn ddibriod ac mewn amgylchiadau da, yn hollol naturiol. (3) Ond y rheswm penaf yw a ganlyn—y mae'r Iesu eisoes wedi cyfeirio sylw ei fam at berthynas uwch na'r un

disgybl, Wele dy fam. Ac o'r awr honno allan y cymmer-
odd y disgybl hi i'w gartref.
Wedi hynny yr Iesu, yn gwybod fod pob peth wedi ei 28
orphen weithian, fel y cyflawnid yr ysgrythyr, a ddywedodd,

---

naturiol. Y mae'r cylch eglwysig yn cymeryd lle y cylch teuluaidd, ac y mae'r Iesu o ganlyniad yn cyflwyno ei fam i ofal yr unig ddysgybl oedd yn bresenol i gynrychioli yr Eglwys. Ni ddywedir fod y brodyr ar Galfaria, ac fe ddysgir nad oeddynt ar y pryd yn credu, vii. 5. **A'r dysgybl, &c.** Gwel Rhagarweiniad, tudal. 6.

**ADN. 27. Ac o'r awr hono.** Gweithredodd Ioan ar unwaith yn ol yr awgrym a dderbyniodd gan yr Iesu, a chymerodd Mair ymaith yn lle ei bod yn llygad-dyst o ragor o'r ing, ac yn arbenig er arbed iddi fod yn bresenol i weled y diwedd. Dyma'r olygfa sydd gan Herbert Schmalz yn ei "*Return from Calvary.*" **I'w gartref.** Tybia Dr. Reynolds ac eraill y gwelir yn hyn brawf fod gan Ioan dŷ yn Jerusalem yn gystal ag yn Bethsaida. Os nad oedd ganddo dy parhaol yno ymddengys yn bur debygol fod ganddo ystafelloedd at ei wasanaeth yn y ddinas yr adeg arbenig yma, gan fod ei fam yn y ddinas gydag ef. Ai gyda Ioan y trigodd Mair ar ol hyn? Yn ol un traddodiad aeth Mair gyda Ioan i Ephesus, lle hefyd y claddwyd hi; ond yn ol un arall preswyliodd am 11 mlynedd ar ol y Croeshoeliad gyda Salome a Ioan yn Jerusalem, ac yno y bu farw yn 59 mlwydd oed, ac y claddwyd hi, lle y ceir Eglwys yn dynodi safle ei bedd. Teg ydyw ychwanegu nad yw hanesydd mor foreu ag Epiphanius yn gallu dyweyd dim yn sicr am Mair yn ddilynol i **Esgyniad yr Iesu.**

**ADN. 28. Pobpeth wedi ei orphen weithian.** Yr un gair ddefnyddir gan Ioan yn y fan hon ag a ddefnyddia yr Iesu yn adn. 30, a gosodir hwy ochr yn ochr fel, pan yr oedd pobpeth eisoes wedi ei *orphen* yn ol Ioan, y darfu i'r Iesu hefyd ddywedyd "Gorphenwyd." **Fel y cyflawnid yr Ysgrythyr.** Mater lled anhawdd a dyrys ydyw penderfynu gyda pha beth y mae cysylltu y geiriau hyn—pa un ai gyda'r geiriau sydd o'u blaen ynte gyda'r rhai sydd ar eu hol. Pa un ai fod yr Ysgrythyr yn cael ei chyflawni yn ngorpheniad pob gwaith oedd ganddo i'w gyflawni, ynte fod rhyw Ysgrythyr yn cael ei chyflawni yn ei waith yn dyweyd am y syched a deimlai. Y diweddaf o'r rhai hyn a dderbynir yn gyffredin, a'i ystyr yw, fod pobpeth wedi ei orphen oddigerth cyflawniad un Ysgrythyr, yr hon sydd yn cael ei chyflawni yn awr. Os derbynir hwn, rhaid, yn sicr, ddeall mai nid gwneyd y datganiad a wna'r Iesu fel y byddai i'r Ysgrythyr arbenig hono gael ei chyflawni, ac heb fod gwir syched yn peri iddo ei wneyd. Nid dyweyd er mwyn cyflawni yr Ysgrythyr, ond cyflawni yr Ysgrythyr trwy ddyweyd. Hwn yw y golygiad a fabwysiedir gan Chrysostom, De Wette, Ewald, Godet, Westcott, Plummer, &c. Ar y llaw arall y mae Bengel, Tholuck, Luthardt, Steinmeyer a Meyer yn cysylltu "fel y cyflawnid yr Ysgrythyr" gyda "pobpeth wedi ei orphen weithian." Ystyriwn fod y pwyntiau canlynol yn bleidiol i'r golygiad diweddaf. (1) Yr anhawsder i ffeindio yr Ysgrythyr arbenig. Nid oes dim tebyg i'r geiriau lefarodd yr Iesu yn y Ps. Fessianaidd (cyd. Ps. xxii. 15). Ni wna cyfeiriad at Ps. lxix. 21

29 Y mae syched arnaf. Yr oedd gan hynny lestr wedi ei
osod yn llawn o finegr, a hwy a lanwasant yspwng o
finegr, ac a'i rhoddasant ynghylch isop, ac a'i dodasant

---

mo'r tro ychwaith, oblegid gweithred wawdlyd a maleisus a ddesgrifir yno o roddi bustl yn y bwyd a finegr yn ddiod, tra yr ymddengys ddarfod i'r milwyr gydsynio â chais yr Iesu a rhoddi iddo yr hyn ai disychedodd yn effeithiol. (2) Y tebygrwydd cydrhwng y ddwy ferf "orphen" a "cyflawnid." Y mae y ddwy ferf hyn yn deilliaw o'r un gwreidd-air, ac y mae llawer o debygrwydd rhyngddynt (*teleō* a *teleioō*) fel y goddefid i ni ddarllen "fod pobpeth wedi ei gyflawni weithian fel y cyflawnid yr Ysgrythyr." Byddai yn werth sylwi ar yr engreiphtiau o ddefnyddiad y ddiweddaf o'r ddwy ferf yn iv. 34; v. 36; xvii. 23; Heb. ii. 10; v. 9; vii. 19; ix. 9; x. 1, ac hefyd ar gyfieithiad y Vulgate o honi sef *consummare* ac yna *consummation*. Cydnebydd Westcott mai nid hwn yw y gair arferol am gyflawni yr Ysgrythyr, ai fod "yn ymddangos fel yn nodi allan gwblhad perffaith yr hyn yr oedd prophwydoliaeth yn yr oll o honi yn gysgod o hono yn hytrach na chyflawniad rhyw Ysgrythyr arbenig." Fel hyn ni a gredwn fod y ddwy ferf yn cael eu defnyddio yn fwriadol gyda'u gilydd er dangos fod yr hyn gyflawnwyd ganddo Ef yn cyfateb yn berffaith i'r hyn ofynid oddiwrtho yn yr Ysgrythyr. (3) Y mae amryw ddadleuon eraill, megis hon o eiddo Meyer - fod son am bobpeth wedi ei orphen weithian yn golygu fod pob Ysgrythyr wedi ei chyflawni fel nas gellir, ar ol hyny, son am fyned i gyflawni un trwy ddyweyd—"y mae syched arnaf." **Y mae syched arnaf.** Hwn yw y pumed o'r saith gair lefarodd yr Iesu oddiar y groes, a'r unig un sydd yn cyfeirio at y dyoddefiadau corphorol a brofai. Rhaid dyweyd mai tlws iawn ydyw y golygiad fod yr Iesu pan y llefarodd y pedwerydd gair - "Eloi, Eloi, lama Sabachthani"—llefariad yr hwn a nodai uchaf-bwynt ei ddyoddefiadau—yn ymwybodol fod y gwaith mawr ysbrydol oedd ganddo i'w gyflawni trwy farw wedi ei gwbl orphen, ac o ganlyniad ei fod bellach wedi cael egwyl i feddwl am ei ddyoddefiadau corphorol. Ar ddechreu ei fywyd gweinidogaethol cawn Ef yn y fath ymdrechfa ysbrydol gyda'r diafol nes y mae am 40 niwrnod wedi ymgodi uwchlaw'r ymdeimlad o angenrheidiau'r corph, a phan y mae'r ymdrechfa hono trosodd dywedir iddo deimlo newyn; ond ar derfyn yr ymdrechfa ysbrydol gyffelyb a fu ar y groes y teimlad a'i meddiannodd ydoedd teimlad o syched. Sicrheir nad oedd dim loesion mwy arteithiol yn cael eu profi gan y croeshoeliedig na'r rhai a brofai oblegid syched. Y mae'r Iesu fel un yn meddu gwendidau dibechod dynoliaeth yn cydnabod yn onest ei anghen ar y pryd, ac yn apelio at ddynoliaeth un o'r milwyr Cenhedlig am gael ganddo yr hyn a dorai ei syched.

**ADN. 29. Yr oedd llestr, &c.** Heb y "gan hyny." Y mae'r hyn ddywedir am y llestr fel wedi ei osod yn nghyda bod yr ysbwng, &c., yno, yn dangos yn lled eglur fod y pethau hyn yno yn bwrpasol i weinyddu i anghenion y croeshoeliedig yn gystal, feallai, ac i eiddo y milwyr. **Finegr**—h.y. gwin-egr. Y mae "egr" yn air Cymraeg cyfystyr a sur, ac feallai yn perthyn i'r gair Lladin *acer*. Y mae gwin yn gyfystyr a *vin* (Lladin, *vinum*). Yr ystyr felly ydyw *gwin sur*, neu y math israddol o win a wneyd

wrth ei enau ef. Yna pan gymmerodd yr Iesu y finegr, 30
efe a ddywedodd, Gorphenwyd: a chan ogwyddo ei

---

o grwyn y grawnwin ar ol i'r sug gael ei wasgu allan i wneyd gwin gwell. Dyma win y bobl dlodion, a'r gwin roddid i filwyr. **Ysbwng.** Yr un a'r gair Groeg. Y cyfeiriad hwn yw yr unig un yn yr Ysgrythyr at y peth defnyddiol yma ag sydd i'w gael yn tyfu ar y creigiau yn y môr. **Ynghylch isop.** Yr arfer cyffredin ydyw cymeryd yr "isop" yn y fan hon i gyfateb i'r "gorsen" yn Matt. xxvii. 48 a Marc xv. 36, ac i olygu gwialen o'r *caper*, sef planhigyn sydd yn tyfu yn Mhalestina a'r Aipht. Y mae y peth ag y sonia Ioan am dano, fodd bynag, yn cael crybwyll am dano yn aml yn yr Ysgrythyr (Ex. xii. 22; Lef. xiv. 4, vi. 52; Num. xix. 6, 18 [cyd. Heb. ix. 19]; 1 Bren. iv. 33); ac nid yw yn ymddangos y buasai y *caper* yn bwrpasol at yr hyn a briodolir yn yr H.D. i isop. Y mae Dr. Post, meddyg ac athraw yn Beyrout, yn gryf o'r farn y rhaid cymeryd yr isop i olygu un o'r 6 math o blanhigion Dwyreiniol sydd yn perthyn i'r dosbarth a elwir yn *marjoram origanum*, a chan yr Arabiaid yn *satar*. Noda ef fod tystiolaeth Rabbinaidd yn cadarnhau mai hwn yw yr isop Beiblaidd. Peth eithaf cyffredin, yn awr, ydyw ei weled yn "tyfu o'r pared." Gellid yn hawdd gael tusw o hono i'w ddefnyddio at ddibenion taenelliad, yr hyn yw yr ystyr yn Ps. li. 7, a lleoedd eraill. Y mae yn rhoddi blas ac arogl peraidd, ac o ganlyniad defnyddir ef i wneyd trwyth o hono. Sicrheir hefyd ei fod yn effeithiol i dori syched, ac y buasai cymysgu ychydig o hono gyda'r finegr, a'i roddi i'r croeshoeliedig, y peth goreu allesid ei wneyd. Yn ol y golygiad hwn y mae'n rhaid deall fod Ioan yn cyfeirio at un peth, a'r Efengylwyr eraill at beth arall: cyfeiria ef at yr isop a gymysgid gyda'r finegr a chyfeiriant hwythau at y gorsen a ddefnyddiwyd er estyn yr yspwng ag oedd yn llawn o'r finegr a'r isop at enau yr Iesu. Dengys Ioan, y croniclydd ag oedd yn llygad-dyst, mai gweithred garedig oedd, ac nid gweithred sarhaus, fel y mae llawer wedi tybied oddiwrth y gair finegr, ac, o bosibl, oddiwrth Luc xxiii. 36. Rhaid fod Luc yn cyfeirio at weithred wahanol, yr un modd ag y cyfeirir at weithred hollol wahanol yn Matt. xxvii. 34 a Marc xv. 23.

**ADN. 30. Gorphenwyd.** Yr oedd y gair hwn, meddai Bengel, yn nghalon yr Iesu cyn iddo ei lefaru (cyd. adn. 28). Wrth ei lefaru llefarodd y gair pwysicaf a mwyaf cynwysfawr a lefarwyd erioed wrth y byd. O gyferbynu'r gair gyda'r un o'i flaen gwelir fod hwnw yn cyfeirio at ei ddyoddefiadau corphorol, a hwn at ei waith ysbrydol: mai gwendid dynol sydd yn dod i'r golwg yn hwnw, a mawredd Dwyfol yn hwn. Y mae'r gair yn ymgysylltu gyda'r un a lefarodd y nos o'r blaen (xvii. 4), ac yn edrych yn ol at y gair cyntaf o'i eiddo sydd ar gael (Luc ii. 49), ac at un arall a lefarodd pan ar ganol ei waith (ix. 4). Dyma felly yn hwyr-ddydd ei fywyd air ag sydd yn atebiad i eiriau eraill a lefarasai yn moreu-ddydd a phrydnawn-ddydd ei fywyd. Nid gorphen marw, y mae'n amlwg, a feddylir yn y fan hon, ond gorphen cyflawni y gwaith a ymddiriedwyd iddo. Tra y mae eraill yn gorphen gweithio *cyn* marw, gorphenodd hwn weithio trwy farw. Yr oedd *dyoddef* yn rhan arbenig o'i waith, ac oblegid hyn symia Petr ei hanes daearol i un gair—"dyoddefaint Crist" (1 Petr i. 11). Ond camgymeriad

31 ben, efe a roddes i fynu yr yspryd. Yr Iuddewon gan

---

ydyw meddwl mai dyoddefaint corph yn unig nac yn benaf ydoedd hwnw; eithr fel y mae un wedi sylwi yn brydferth—"enaid ei ddyoddefiadau ydoedd dyoddefiadau ei enaid." Cytuna pawb y ceir ynddo engraipht o ymgyflwyniad perffaith i Ewyllys Duw, a'i fod o ganlyniad yn esiampl berffaith o fywyd. Mor sicr a hyny hefyd rhaid meddwl am dano fel Meichniydd a'i farwolaeth fel marwolaeth iawnol. Nis gallasai neb na dim ddwyn oddiamgylch ei farwolaeth Ef, ond trwy ei fod yn marw fel Meichniydd dros eraill er "maddeuant pechodau" (Marc x. 45 a Matt. xxvi. 28). Dengys Ioan ei fod Ef yn offrymu ei hun ar y Groes ar yr adeg yr oedd yr Israeliaid yn offrymu ŵyn y Pasg yn y ddinas. Pan y mae teuluoedd Israel yn dyweyd—dyna orphen offrymu y Pasg am un flwyddyn eto, y mae'r Iesu yn dywedyd—dyna orphen gwneyd hyny am dragwyddoldeb. Dadl a nodir gan Dr. Sanday er profi cymeriad iawnol y farwolaeth yw yr arferir yn y Test. Newydd gysylltu y gwaed dywalltwyd ar y Groes gyda sefydliad y "cyfamod newydd" (Heb ix. 18—23), gan gyfeirio at foddion sefydliad y cyfamod cyntaf (Ex. xxiv. 4—8). O ganlyniad, gwelir yn angeu'r Groes y syniadau o gyfamod, cynrychiolaeth, meichniaeth, a iawn. Ond sut y mae cyfrif am nad yw yr Efengylwyr yn cynyg esboniad ar y farwolaeth a groniclir gyda'r fath fanylder gan bob un o honynt? Atebiad Dr. Dale i'r gofyniad ydyw—mai gweithio allan Efengyl a ddarfu'r Iesu, ac nas gellid disgwyl iddo gyflwyno i'r byd athrawiaeth yn ei chylch, ac mai croniclo ei waith ydoedd yr oll a amcanai yr Efengylwyr ato. Ar yr un pryd gwelir fod cymeriad iawnol yr Iesu yn cael ei ddal a'i ddysgu er yn foreu iawn. Dengys Dr. Maclear *(Evidential Value of Holy Eucharist)* ei fod yn hollol afresymol ac annaturiol cysylltu y golygiad gyda'r aberthau dynol ag y bu'r byd yn eu hoffrymu. Dysgir y gwirionedd am Grist fel Iawn gan ddau o'r dysgyblion yn 1 Petr ii. 21—24 a 1 Ioan i. 7, ii. 1, gan Apostol mawr y Cenhedloedd yn 1 Cor. v. 7, a mabwysiedir ef gan dadau boreuaf yr Eglwys, megis Clement o Rufain, Polycarp, Ignatius, &c. Yr oedd y gwaith, ag y darfu i'r Iesu y pryd hyn ei orphen, yn "waith dros Dduw gyda dynion, ac yn waith dros ddynion gyda Duw," a chynwysai yn neillduol (*a*) cario allan drefniadau y cyngor boreu, vi. 38—40; (*b*) cyflawni y prophwydoliaethau a sylweddoli y cysgodau; (*c*) rhoddi datguddiad i'r byd; (*d*) rhoddi amlygiad o fywyd dynol perffaith; (*e*) rhoddi iawn dros bechod; (*f*) darostwng ei elynion a gelynion ei bobl. **Ogwyddo ei ben.** Y llygad-dyst o Efengylydd, yn unig, sydd yn nodi hyn. **Roddes i fynu yr ysbryd.** Y mae'r gair a ddefnyddia Ioan yn air cryf er gosod allan weithred o drosglwyddiad trosodd. Yn ol Matthew Efe "a ymadawodd a'r ysbryd," a chyfieithir hyny yn "*yielded up the ghost*" a "*let go the spirit.*" Gwelir fod yr Efengylwyr fel pe yn bwrpasol yn defnyddio geiriau sydd yn gosod allan nid yn unig wirfoddolrwydd y weithred, ond ei fod yn marw trwy weithred o'i eiddo Ef ei hun. Dengys Luc ddarfod i'r Iesu wrth drosglwyddo i'w Dad yr ysbryd ddefnyddio gair, sef y seithfed gair oddiar y groes, Luc xxiii. 46. Y mae llawer wedi ei ysgrifenu, a hyny gan lawer, ar yr hyn a fu yn achos o farwolaeth yr Iesu, a hen syniad yn cael ei goleddu mai marw a wnaeth trwy i'w galon

hynny, fel nad arhôai y cyrph ar y groes ar y Sabbath, o herwydd ei bod yn ddarpar-wyl, (canys mawr oedd y dydd

---

rwygo o dan y loesion dirdynol. Ond y mae'n gwestiwn a ydys i edrych am achosion naturiol i'w farwolaeth. Yr oedd ei farwolaeth yn farwolaeth naturiol yn yr ystyr ei bod yn farwolaeth y rhan naturiol o hono; ond cwestiwn arall yw a oedd yn farwolaeth a gymerodd le yn ol cwrs natur. Ymddengys mai yr argraph a dderbyniwyd wrth sylwi ar angeu'r groes ydoedd, nid am un yn colli ei fywyd, ond am un yn cyflwyno ei hunan i afael marwolaeth. Gwel ar x. 18. Y mae'n eithaf sicr fod yr Iesu yn oddefydd yn ei angeu, ac iddo fyned drwy y profiad ag yr aiff pob dyn trwyddo wrth farw, ond y mae'n amlwg hefyd ei fod yn weithredydd yn ei angeu. Yn y cwbl yr ydym i feddwl am y goddefydd yn y gweithredydd a'r gweithredydd yn y goddefydd.

**ADN. 31. Darparwyl.** Yn adn. 14 sonir am "ddarparwyl y Pasg," ond yma am ddarparwyl y Sabbath. Yr oedd pob dydd Gwener gyda'r Iuddewon yn ddarparwyl y Sabbath, ac yr oedd y dydd Gwener arbenig hwn yn ddarparwyl y Sabbath ac yn ddarparwyl y Pasg. **Mawr . . . . Sabbath.** Yr oedd yn Sabbath mawr (*high day*) trwy ei fod yn Sabbath mewn dwy ystyr—(*a*) yn Sabbath wythnosol, (*b*) yr oedd y dydd cyntaf o'r ŵyl (Nisan 15eg), yr hwn, ar ba ddydd bynag y disgynai, a ystyrid megis Sabbath. Yma ni a sylwn ar y gofyniad—Pa flwyddyn y bu Crist farw, a pha ddydd o'r mis yn ol ein cyfrif ni? Yn gymaint ag i hyn gymeryd lle yn ystod rhaglawiaeth Pilat ac archoffeiriadaeth Caiaphas rhaid ei fod rhwng y blynyddoedd 28 a 33 O.C. Y cwestiwn gan hyny yw—Ar ba un o'r blynyddoedd hyn y bu y 14eg o Nisan ar ddydd Gwener? Yn ymchwiliadau manwl T. Lewes yn ei *Origines Hebreae* (1725) dangosir mai yn ol symudiadau'r lleuad yr arweinid yr Iuddewon yn nglyn a chadw eu gwyliau. Nid oeddynt hwy yn deall symudiadau'r haul a symudiadau'r lleuad yn eu perthynas a'u gilydd fel ag i benderfynu ar ddyddiad yr ŵyl yn mhell yn mlaen llaw, ac o ganlyniad dibynent ar sylwadaeth barhaol. Gan nad oedd blwyddyn y lleuad yn cynwys ond 345 o ddyddiau yr oeddynt o dan orfodaeth, tua bob yn ail flwyddyn, i roddi mis ychwanegol at y 12 mis rheolaidd fel ag i beri fod blwyddyn y lleuad a blwyddyn yr haul yn cydredeg. Arferent ddodi y mis ychwanegol i fewn o flaen mis Nisan fel ag i daflu y Pasg, a phob gŵyl arall trwy'r flwyddyn gyda hi, fis yn ddiweddarach. Gwelir yn mhellach yr anghen am y trefniad hwn yn yr ystyriaethau canlynol. Yr oedd yn rhaid i'r Pasg fod yn nghanol mis Nisan pan y byddai y lleuad yn llawn, i'r ŵyn fod yn barod i'w lladd, ac i'r ffrwythydd fod yn ddigon addfed iddynt allu cyflwyno yr ysgub flaenffrwyth. Sicrheid trefn unffurf trwy gymeryd yr hyn a elwir gan seryddwyr yn Alban Eilir (*Vernal Equinox*) yn safon, a deallid bob amser fod y 1af o Nisan i fod naill ai o fewn 15 niwrnod cyn Alban Eilir neu o fewn 15 niwrnod ar ei ol. Hyn sydd yn cyfrif am fod adeg y Pasg yn newid o flwyddyn i flwyddyn. Y mae tablau i'w cael ers amser maith bellach yn nodi ei adeg flynyddau yn mlaen llaw. Y dyddiad mwyaf tebygol i'r Croeshoeliad ydyw y 18fed o Fawrth, 29 O.C. Y mae Epiphanius ar sail y cronicl pwysig a elwir *Actau Pilat* yn sicrhau mai hwn oedd y dyddiad. Cawn ysgrif faith yn Ngeiriadur Hastings yn diweddu gyda'r un casgliad. Hwn felly, yn ol pob tebyg,

Sabbath hwnnw), a ddeisyfasant ar Pilat gael torri eu
32 hesgeiriau hwynt, a'u tynnu i lawr. Yna y milwyr a
ddaethant, ac a dorrasant esgeiriau y cyntaf, a'r llall yr
33 hwn a groeshoeliasid gyd âg ef. Eithr wedi iddynt ddyfod
at yr Iesu, pan welsant ef wedi marw eisoes, ni thorrasant
34 ei esgeiriau ef. Ond un o'r milwyr a wanodd ei ystlys ef â
35 gwaywffon : ac yn y fan daeth allan waed a dwfr. A'r hwn

---

ydoedd dydd y dyddiau—Mawrth 18fed, 29 O.C. Yn rhan gyntaf y dydd, sef yn ystod y nos bu y golchi traed, y swper sanctaidd, y ddysgeidiaeth a'r weddi yn yr oruwchystafell, a'r ing a'r bradychiad yn yr ardd; y bore dilynol bu'r profi a'r croeshoelio; a'r prydnawn bu'r marw a'r claddu—y cwbl cyn i'r Sabbath mawr ddechreu. **Fel nad arhoai.** Yr arfer Rhufeinig ydoedd gadael corph y croeshoeliedig ar y groes i gyfarfod âg unrhyw ffawd, a byddai y croeshoeliedig am oriau ac weithiau am ddyddiau cyn marw. Yr oedd hyn, fe ymddengys, yn groes iawn i deimlad a deddf yr Iuddew (Deut. xxi. 22, 23). Ond yn yr amgylchiad yma symud y cyrph o'r golwg cyn y Sabbath mawr, oedd y peth a ddymunid gan y ddirprwyaeth, ac nid dim arall.

**ADN. 32.** Yr enw gan y Rhufeiniaid ar y weithred o dori esgeiriau ydoedd *crurifragium*. Yr oedd yn fath poenus a gwaradwyddus o gospedigaeth. Gweinyddid ef ar yr un dosbarth o bobl ag a groeshoelid. Weithiau cyfunid y ddau—y *crurifragium* yn gyntaf a'r croesholiad ar ol hyny. Ond yma daw y *crurifragium* ar ol y croeshoeliad, a hyny i amcan arbenig. Yr offerynau a arferid eu defnyddio yn y *crurifragium* oedd morthwylion, pastynau a gwaewffyn. Ai yr un milwyr a gyflawnodd y *crurifragium* ag a gyflawnodd y croeshoeliad? Ystyria Weiss fod yr hanes yn dangos mai rhai gwahanol a anfonwyd i dori yr esgeiriau. Paham y maent yn myned at y ddau eraill cyn myned at y gwr canol? Atebiad llawn mor naturiol ag unrhyw un a gynygir yw eu bod yn myned yn gyntaf at y rhai a ymddangosent yn fwyaf byw. Dengys yr Efengylau eraill fod y canwriad ag oedd yn arolygu y cwbl, wedi derbyn yr argraph ddarfod i'r Iesu drengu gyda'i waith yn llefain a'r "llef uchel" hono, ac iddo oblegid y modd eithriadol hollol y bu farw ddatgan y rhaid mai Mab Duw oedd Efe.

**ADN. 34. A wanodd ei ystlys.** Gwnaed hyn i sicrhau ei farwolaeth. Y mae y ferf "wanodd" yn golygu trywaniad egniol a ffyrnig. Yr offeryn a ddefnyddiwyd oedd nid "picell fain" ond y waewffon (*lance*), sef yr erfyn hir a thrwm a ddefnyddid gan feirchfilwyr. Gwelir oddiwrth xx. 27 fod archoll wedi ei hagor i mewn i'r cnawd. Y mae'r cwbl yn eglur brofi mai nid rhyw grafiad ysgafn ar wyneb y cnawd a wnaed. **Waed a dwfr.** Y mae hen awdwyr a hen arlunwyr wedi arfer rhoddi lle amlwg iawn i hyn. Cymerir y ffaith a groniclir fel prawf anianyddol fod yr Iesu eisoes wedi marw cyn y trywaniad, a thrachefn fel prawf anianyddol fod corph yr Iesu yn rhydd oddiwrth ganlyniadau llygrol angeu, a'i fod eisoes wedi dechreu ymffurfio yn gorph ysbrydol. Rhoddir i'r elfenau drachefn lu o ystyron allegol ac arwyddluniol. Y mae lluaws,

a'i gwelodd, a dystiolaethodd; a gwir yw ei dystiolaeth:
ac efe a ŵyr ei fod yn dywedyd gwir, fel y credoch chwi.
Canys y pethau hyn a wnaethpwyd, fel y cyflawnid yr 36
ysgrythyr, Ni thorrir asgwrn o hono. A thrachefn, 37
ysgrythyr arall sydd yn dywedyd, Hwy a edrychant ar yr
hwn a wanasant.

---

ar ol Awstin a Chrysostom, yn gweled ynddynt y ddau Sacrament Cristionogol; eraill y ddwy fendith a nodir gan Paul yn Eph. v. 25, 26. Os ydyw Ioan yn nodi y "dwfr a'r gwaed" oblegid y gwela ynddynt ystyr arwyddluniol, feallai y dylid cysylltu gyda hyn yr hyn a ddywed yn 1 Ioan v. 8. Ond ymddengys mai pwysleisio'r "gwanu" y mae Ioan yn y fan hon. Wrth sylwi gwelodd hylif haner dyfrllyd a haner gwaedlyd yn dod allan o'r archoll. Gall ei fod yn nodi hyn er dangos pa mor arw a dwfn a fu y trywaniad. Y mae mwy nag un ffordd o gyfrif am y dylifiad hwn yn cael eu nodi gan feddygon sydd wedi gwneyd astudiaeth helaeth o'r mater, ac yn mysg pethau eraill cytunir fod yr archoll wedi agor ei ystlys hyd at ei galon. Yn ngwyneb y cwbl y mae gwirioneddolrwydd y farwolaeth yn fater sicr. Buasai y trywaniad ei hunan yn ddigon i sicrhau hyny heb son am ing yr ardd, y triniaethau yn y llysoedd, y croeshoeliad a'r weithred wirfoddol o roddi i fyny'r ysbryd. Fel y sylwa Lücke yn briodol iawn—"nid oes yr un beirniad wedi dangos rhith o debygolrwydd na ddarfu i'r Iesu mewn gwirionedd farw." Ni ddarfu i neb feddwl am amheu hyd nes y meddyliwyd am hyny fel moddion i esbonio ymaith yr Adgyfodiad. Ond y mae'r Docetiaeth hono sydd yn gwneyd marwolaeth y Groes yn beth ymddangosiadol yn rhwym o ymddangos yn hunan-gondemniedig.

**ADN. 35. A'r hwn, &c.** Nid neb arall heblaw yr Efengylydd ei hun. **Gwir yw ei dystiolaeth.** Gofynir i wir dystiolaeth fod yn eiddo llygad-dyst fyddo'n barod i roddi ei fywyd i lawr dros yr hyn a dystiolaetha. **Yn dywedyd y gwir.** Heblaw ei fod fel tyst yn un gwirioneddol, hawlia yma fod ei dystiolaeth o ran ei chynwys yn un wirioneddol.

**ADN. 36. Ni thorir asgwrn.** Gwelai Ioan gysgodau luaws yn cael eu sylweddoli. Ystyria y ffaith ddarfod i'r Iesu osgoi y *crurifragium* fel sylweddoliad o'r hyn a gysgodid yn Oen y Pasg, Ex. xii. 46. Y mae'r Cyf. Diw. yn rhoddi yn lle "*shall not be broken*" y darlleniad "*shall not be crushed*"—yr hwn a gynwysa gyfeiriad amlwg at ddrylliad yr esgyrn o dan forthwylion y *crurifragium*. Ofer iawn a fu ymdrech ysgol Tübingen i godi rhagfarn yn erbyn dilysrwydd Efengyl Ioan trwy nodi fod yn yr Efengyl amcan amlwg i wneyd i'r Iesu gyfateb i Oen y Pasg. Na, nid y cysgod a allasai roddi bôd i'r fath sylwedd a Hwn.

**ADN. 37.** Yn y trywaniad gwel Ioan gyflawniad o brophwydoliaeth arbenig (Zech. xii. 10). Y mae hyd yn nod y Talmud Iuddewig yn cymeryd y brophwydoliaeth hon yn un Fessianaidd, er mai desgrifiad ydyw yn y lle cyntaf o'r genedl, ar ol gwrthryfela yn erbyn Jehofah, yn troi yn ol ato mewn edifeirwch. Y mae y Cyf. Diw. yn gwella y darlleniad yn Zechariah fel hyn—"edrychant tuag ataf fi yr hwn," &c. Yr ydym i feddwl am ddau wanu—y cyntaf yn *wanu ffigyrol* a'r ail yn *wanu*

38 Ac ar ol hyn, Joseph o Arimathea (yr hwn oedd ddisgybl
i'r Iesu, eithr yn guddiedig, rhag ofn yr Iuddewon) a
ddeisyfodd ar Pilat, gael tynnu i lawr gorph yr Iesu: a
Philat a ganiattâodd iddo. Yna y daeth efe ac a ddug

---

*llythyrenol;* ac am ddau edrychiad, sef y genedl yn edrych ar y Jehofah fel un wedi ei wanu ganddynt, a'r Iuddewon oeddynt yn gyfrifol am y Croeshoeliad yn edrych ar yr Iesu wedi iddynt ei wanu. Dengys Luc fod y rhai diweddaf yma yn edrych "gan guro eu dwyfronau," o dan ddwysbigiad ac mewn dychryn. Hyn fydd hanes holl elynion croes Crist. Ond y mae'r ystyr yn Zechariah i'r edrychiad yn cael ei chyflawni hefyd; oblegid y mae caredigion y Crist croeshoeliedig o hyd, mewn ysbryd edifeirwch, "yn edrych tuag ato." Y mae dau beth yn y fan hon i sylwi arnynt (*a*) Na ddrylliwyd mo esgyrn yr Iesu, oblegid Oen y Pasg ydoedd ag oedd i gael ei gyflwyno yn gyfan-gwbl. (*b*) Ond ddarfod i'w gnawd gael ei ddryllio trwy yr hoelion a'r waywffon; oblegid yr arfer cyffredin oedd i ddryllio yr aberth. Y mae'r Cyf. Diw. o 1 Cor. xi. 24 yn dilyn y prif lawysgrifau, gan ddarllen—"Hwn yw fy ngorph yr hwn sydd drosoch;" ond dadleua eraill y rhaid meddwl am y frawddeg yn cynwys y gair "tori," ac i'r llawysgrifau uchod ei adael allan oblegid y dywedir yma "Ni thorir asgwrn o hono."

**ADN. 38. Joseph o Arimathea.** Y farn oreu yn ddiau o barth i Arimathea ydyw mai yr un yw a *Ramathaim-Sophim* yn mynydd Ephraim ag y sonir am dano yn aml yn 1 Samuel. Ond pa le yr oedd Ramathaim-Sophim? Y farn gyffredin yn y wlad hono yw mai yr un yw a Mispah neu Neby-Samwil (bedd Samuel), lle 4½ milldir i'r Gogledd-orllewin o Jerusalem. Ar y llaw arall y mae Conder yn Ngeiriadur Hastings a Dr. G. Adam Smith yn ei lyfr ar Palestina yn ystyried mai rhyw le llawer pellach o Jerusalem ydoedd, megis *Beit Rima*, 20 milldir i'r Gogledd-orllewin o Jerusalem. Dyna ddinas Samuel a chartref Joseph, yr hwn a wnaeth eu hunan, trwy gysylltiad byr a'r Iesu, yn adnabyddus, yn anwyl ac anfarwol. Yn Luc xxiii. 50 dywedir ei fod yn "wr da a chyfiawn," yn Mat. xxvii. 57 ei fod yn "wr goludog," yn Marc xv. 43 ei fod yn wr "pendefigaidd" o ran ymddangosiad a sefyllfa, yn Luc xxiii. 50, 51 ei fod yn gynghorwr neu yn aelod o'r Sanhedrin, ac yn ddiweddaf dangosir ei fod yn ddysgybl ag oedd "yn disgwyl am deyrnas Dduw." **Yn guddiedig.** Fel Nicodemus, dysgybl dirgelaidd a fu hyd yn hyn. **Rhag ofn.** Yn un peth rhag ofn esgymundod. Gwelir fod y dysgyblion ag oeddynt yn ofnus ac yn ddirgelaidd o'r blaen wedi myned yn awr yn ddigon gwrol i wynebu unrhyw beth, tra y mae'r dysgyblion ag oeddynt yn wrol a chyhoeddus cyn hyn wedi myned yn ofnus a dirgelaidd. Effeithiau amrywiol fel yna ydyw effeithiau treialon o hyd—gwneyd y drwg yn dda, a'r da yn ddrwg, y gwan yn gryf a'r cryf yn wan, &c. **A ganiataodd.** Gwna hyn yn rhwydd ar ol cael sicrwydd am farwolaeth yr Iesu. Yr oedd yn drefniad yn yr ymerodraeth fod perthynasau a chyfeillion y rhai a roddid i farwolaeth i gael eu cyrph i'w claddu, os ceisient hyny, a chondemnir yn llym gan Cicero a Tacitus waith rhai awdurdodau yn ceisio llwgr-wobrau cyn y rhoddent ganiatad. Oni bai am y gymwynas hon o eiddo Joseph buasai corph yr Iesu yn cael ei

ymaith gorph yr Iesu. A daeth Nicodemus hefyd, (yr 39
hwn ar y cyntaf a ddaethai at yr Iesu o hyd nos,) ac a ddug
fyrr ac aloes y'nghymmysg, tu a chân pwys. Yna y cym- 40
merasant gorph yr Iesu, ac a'i rhwymasant mewn llïeiniau,
gyd âg aroglau, fel y mae arfer yr Iuddewon ar gladdu.
Ac yn y fangre lle y croeshoeliasid ef, yr oedd gardd; a 41
bedd newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed.
Ac yno, rhag nesed oedd darpar-*wyl* yr Iuddewon, am fod 42

---

daflu yn bur ddiseremoni i fedd y "rhai anwir." Dengys Esiah liii. 9 mai felly y trefnid iddi fod, ond mai nid felly yr oedd i fod.

**ADN. 39. Nicodemus.** Gwel iii. 1, a vii. 50. Yr oedd ef a Joseph, fel aelodau o'r Cynghor, y mae'n debyg iawn, yn gwybod am deimladau eu gilydd; ac y mae Nicodemus yn ymwroli i gladdu'r Iesu, ac yn ymaberthu yn nglyn a hyny oblegid gweled ei gyfaill Joseph yn gwneyd yr un peth. Sŷn a siomedig i ni, feallai, ydyw cael nad oedd yr un o hen ddysgyblion yr Iesu yn y claddedigaeth; ac eto hawdd ydyw meddwl nas gallasent hwy ddim gwneyd yr hyn a wnaeth y ddeuddyn hyn. Cafodd yr Iesu, o dan yr amgylchiadau, y claddedigaeth goreu oedd bosibl. **Fyrr ac aloes.** Daw myrr ger ein bron yn nglyn a'r hanes am enedigaeth, marwolaeth a chladdedigaeth yr Iesu, Matt. ii. 11, Marc xv. 23. Math o glud (*gum*) ydyw yn dod o blanhigyn (tebyg i'r acacia) a geir yn Arabia a'r Aipht, ac y mae yn nodedig o beraroglaidd. **Aloes.** Sonir am hwn fel am y myrr amryw weithiau yn yr H. D. Math o bren ydyw yn tyfu yn Arabia a lleoedd eraill, a'r enw Arabaidd arno ydyw *ûd*. Y mae'n beraroglaidd ac yn waed-ataliol (*styptic*) ac o ganlyniad melid ef yn llwch a defnyddid ef gan yr Aiphtiaid ac eraill at ddibenion corpheneiniad. **Tua chan pwys.** Y mae *libra* yn golygu pwys o 12 wns, ac felly yr oedd y swm yn fawr. Mor hynod y cyflawnwyd prophwydoliaeth Esaias—yr oedd yma fedd ardderchog, llieiniau drudfawr, a chyflawnder o fyrr ac aloes.

**ADN. 41. Yr oedd gardd.** Ioan yn unig a ddywed fod y bedd mewn gardd. Daliwyd yr Iesu mewn gardd ar ochr orllewinol y ddinas, a chladdwyd ef mewn gardd ar ochr ogleddol y ddinas. Bedd Joseph ydoedd, ac fel y dywed Matthew "ei fedd newydd ei hun, yr hwn a dorasai efe o'r graig." Gwneid defnydd helaeth o'r lluaws ogofeydd oedd yn y wlad, a neddid lleoedd yn ystlysau yr ogof i roddi y cyrph ynddynt. Yr oedd ganddynt gladdfeydd cyhoeddus, a chladdfeydd preifat, y rhai diweddaf hyn yn aml yn ngardd y teulu. Yr ydym i ddeall, oddiwrth hyn, fod gan Joseph gartref yn Jerusalem yn gystal ag yn Arimathea, ac mai yn Jerusalem y bwriadai gael ei gladdu. **Bedd newydd . . . yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed.** Pwysleisir hyn er nodi pa mor glir oddiwrth lygredigaeth y bedd a fu yr Iesu. Pell iawn ydoedd Joseph o ddeall mai rhoddi benthyg ei fedd yr ydoedd i'r Iesu, ac y byddai yn fuan at ei wasanaeth ef, os dewisai ei ddefnyddio, ac yn llawer gwell bedd nag o'r blaen. (Gwel ar xix. 17).

**ADN. 42. Darparwyl.** Gweler ar adn. 14 a 31. Y tebyg yw i'r claddedigaeth gymeryd lle rhwng 5 a 6 y prydnawn. **Yn agos.** Sylwyd

y bedd hwnnw yn agos, y rhoddasant yr Iesu.

---

eisoes (adn. 17) fod wrth ymyl Calfaria Gordon amryw erddi. Y mae un o honynt mewn modd arbenig yn cyfateb i'r gofynion yn yr hanes. Dangosir bedd yn yr ardd hon yn gynwysedig o ddwy ystafell wedi eu naddu yn y graig. Yn y fwyaf mewnol o honynt y mae bedd agored. Dyma o bosibl **y bedd hwnw** lle **y rhoddasant yr Iesu.**

---

## PENOD XX.

### ADGYFODIAD CRIST—BYWYD O FARWOLAETH.

Yn briodol iawn y rhydd Westcott fel penawd yn y fan hon "y bywyd newydd"; oblegid amlygir i ni fywyd newydd nid yn unig yn hanes yr Iesu ei hun, ond yn hanes ei ddilynwyr. Erbyn cydmaru yr hanes a geir am yr Adgyfodiad gan y pedwar Efengylwr teimlir fod ger ein bron luaws o anghysonderau ymddangosiadol, y rhai, modd bynag, sydd yn eglur ddangos y dilysrwydd a berthyn i'r hanes. Mor wahanol ydyw i'r hyn a fuasai ffug-hanes neu waith twyllwyr. Nid oes yn yr hanes ond yr hyn a fuasid yn ei ddisgwyl oddiwrth waith pedwar hanesydd yn ysgrifenu yn fwy neu lai annibynol ar eu gilydd am yr un digwyddiadau cynwysfawr. Cafwyd yn yr adroddiadau o'r un digwyddiadau yn ystod y rhyfel bresenol lawer engraipht o gyffelyb anghysonderau, megis nifer y rhai oedd yn brwydro, nifer y clwyfedigion, &c. Y mae desgrifiad Ioan yn hollol gydweddol â'r cynllun oedd ganddo; cyflea y ffeithiau fel yr oeddynt yn foddion i osod allan ogoniant yr Iesu, ac i ddadblygu ffydd a bywyd yn ei ddilynwyr.

Manteisiol fydd cael yr holl ddigwyddiadau a groniclir gan un neu ragor o'r Efengylwyr yn ol eu trefn:—(1) Y ddaeargryn, treigliad y maen a ffoad y wyliadwriaeth (Matt. xxviii. 1—4). (2) Ymweliad y gwragedd yn blygeiniol â'r bedd (Ioan xx. 1; Matt. xxviii. 1; Marc xvi. 1; Luc xxiv. 1). (3) Mair Magdalen yn brysio i ddwyn Pedr ac Ioan at y bedd (Ioan xx.). (Cyd. hefyd Luc xxiv. 1—12). (4) Y gwragedd eraill wrth y bedd, ac ymddangosiad angel neu ddau iddynt (Matt. xxviii. 5—8; Marc xvi. 5—8; Luc xxiv. 3—8). (5) Pedr ac Ioan wrth y bedd (Ioan xx. 3—10). (6) Ymddangosiad angel i Mair Magdalen, ac ymddangosiad yr Iesu iddi (Ioan xx. 11—18; Marc xvi. 9—11). (7) Ymddangosiad yr Iesu (*a*) i'r gwragedd eraill (Matt. xxviii. 9); (*b*) ar y ffordd i Emmaus (Luc xxiv. 13—35; Marc xvi. 12, 13); (*c*) i Pedr (cyd. Luc xxiv. 34 a 1 Cor. xv. 5); (*d*) i'r dysgyblion heb Thomas (Ioan xx. 19—23; Luc xxiv. 36—48; Marc xvi. 14); (*e*) i'r dysgyblion gyda Thomas (Ioan xx. 24—29; cyd. 1 Cor. xv. 5; (*f*) i'r dysgyblion wrth Fôr Galilea, Ioan xxi. 1—24; (*g*) i'r pum cant brodyr ar Fynydd yn Galilea, Matt. xxviii. 16—20 (1 Cor. xv. 6); (*h*) i Iago, brawd yr Arglwydd (1 Cor. xv. 7); (*i*) i'w ddilynwyr ar yr

## PENNOD XX.

Y *DYDD* cyntaf o'r wythnos, Mair Magdalen a ddaeth 1
y bore, a hi etto yn dywyll, at y bedd; ac a welodd y

---

Olewydd wrth esgyn, Luc xxiv. 50, 51 (Act. i. 6–12, a 1 Cor. xv. 7); (*l*) i Saul (1 Cor. xv. 8, Act. ix. 3—6). Gwelir fod dau o'r ymddangosiadau heb eu croniclo gan yr Efengylwyr.

YR ADGYFODIAD FEL FFAITH HANESYDDOL. ADN. 1—10.

**ADN. 1. Y dydd cyntaf o'r wythnos.** Dechreuai y Sabbath Iuddewig tua 6 o'r gloch Nos Wener, a diweddai tua 6 o'r gloch Nos Sadwrn, pryd y dechreuai *y dydd cyntaf o'r wythnos*. Y dydd cyntaf arbenig hwn ydoedd y cyntaf o ddyddiau'r Arglwydd. Gyda'r mwyafrif o Gristionogion cymerodd Dydd yr Arglwydd le y Sabbath Iuddewig, ond parhaodd rhai Cristionogion, megis yr Ebioniaid, i gadw y Sabbath Iuddewig, a chadw hefyd Ddydd yr Adgyfodiad fel Dydd yr Arglwydd. Nid ydyw Dydd yr Arglwydd yn cael ei alw yn Sabbath yn y Test. Newydd o gwbl. Y mae y cyfeiriad ato yn 1 Cor. xvi. 2 yn dangos mai efe oedd y Sabbath gyda'r Cristionogion. Fel "Dydd yr Arglwydd" hefyd y cyfeiria Ioan ato yn Dat. i. 10. (Cyd. Rhagarweiniad, tud. viii.). Ond cawn dadau boreuaf yr Eglwys yn cyfeirio ato o dan ei enw Cenhedlig o Ddydd Sul neu Ddydd yr Haul. Y mae'n amlwg oddiwrth yr Efengylau i'r Iesu adgyfodi yn foreu Dydd Sul, ac felly iddo fod yn y bedd o tua 5 o'r gloch Nos Wener hyd tua 5 o'r gloch bore Sul, yspaid o 36 o oriau. Mewn geiriau eraill bu yn y bedd am ran o dridiau, ac, yn ol y dull Iuddewig o gyfrif, adgyfododd ar "y trydydd dydd." **Mair Magdalen.** Gelwir hi felly, yn ddiau, oddiwrth enw ei chartref yn Magdala neu Magadan (gwel Cyf. Diw. o Matt. xv. 39). Tybir mai yr un ydyw a'r *El-Mejdel* presenol, tair milldir i'r gogledd o Tiberias ac ychydig bellder oddiwrth y môr. Ystyr y gair ydyw *twr*. Y mae yno yn awr olion tŵr, a gwelir y buasai yn wylfa fanteisiol. Y mae Mair yn gymeriad gwir ddyddorol. Gwnaeth enw mawr iddi ei hun trwy ddyfod i gysylltiad bŷr â'r Iesu. Y mae hanes ei chysylltiad yn troi o gwmpas ei farwolaeth, ei gladdedigaeth a'i adgyfodiad. Cyfeirir ati dair-ar-ddeg o weithiau yn y cysylltiadau yna, a dim ond unwaith cyn hyny. Tybiwn yn gryf fod yn perthyn iddi gymeriad prydferth, a bod y syniad sydd am dani fel un anghyffredin o bechadurus a drwg yn un hollol disail a chyfeiliornus. Y mae dau beth, feallai, yn cyfrif am y syniad yna, (1) y camgymeriad o briodoli ystyr foesol i'r meddiant cythreulig, a chymeryd y ffaith ei bod wedi ei meddiannu gan saith o gythreuliaid fel prawf a dangosiad ei bod yn bechadures saith gwaeth na phechaduriaid yn y cyffredin. (2) Y syniad cyffredin mai Mair Magdalen ydoedd "y bechadures fawr" ag y sonia Luc am dani yn golchi traed yr Iesu â'i dagrau, ac yn eu sychu â gwallt ei phen. (Gwel ar xii. 1–9). Byddai yn hollol briodol i ni gasglu ei bod hi, oblegid y meddiant cythreulig, yn saith gwatih mwy truenus na'r cyffredin o bobl. Ond trwy drugaredd yr Iesu daeth hon i fod megis un wedi ei meddiannu gan saith o angelion. Y mae rhai wedi tybied mai yr un ydoedd Mair Magdala a Mair Bethania. Y mae y ddwy hyn mewn rhai pethau yn

2 maen wedi ei dynnu ymaith oddi ar y bedd. Yna y rhedodd
hi, ac a ddaeth at Simon Petr, a'r disgybl arall yr hwn yr
oedd yr Iesu yn ei garu, ac a ddywedodd wrthynt, Hwy a
ddygasant yr Arglwydd ymaith o'r bedd, ac ni wyddom ni
3 pa le y dodasant ef. Yna Petr a aeth allan, a'r disgybl
4 arall, a *hwy* a ddaethant at y bedd; Ac a redasant ill dau

---

debyg i'w gilydd, ond mewn pethau eraill yn hollol anhebyg. Y mae'n wir ei fod yn sŷn nad oes dim son am Mair Bethania yn nglyn a marwolaeth a chladdedigaeth yr Iesu, ond nid yw hyny yn ddigon o sail i dybied mai hi ydyw Mair Magdalen. **A ddaeth, &c.** Yr oedd eraill gyda hi. Ychwanega Matthew "Fair arall" ati, a Marc "Salome," a Luc "Joanna." Cawn i'r rhai hyn "wedi darfod y dydd Sabbath," h.y. wedi 6 o'r gloch nos Sadwrn, fyned a phrynu peraroglau, ac ar ol hyny "yn fore iawn"—"a hi eto yn dywyll"—"ar y cynddydd"—"a hi yn dyddhau i'r dydd cyntaf o'r wythnos"—fyned tua'r bedd. **Welodd y maen.** Ni ddarfu iddi sylwi ar ddim y tro hwn ond fod y maen o'i le. Dangosir yn y wlad y math o feini ag oeddynt yn gauadau ar yr ogof-gladdfeydd. Maen crwn tebyg i faen melin, a rhych (*groove*) wedi ei gwneyd i'r maen gael ei olwynu ynddi fel ag i'r ogof fod yn gauedig neu yn agored fel y dewisid, a sylwir mai y gair "treiglo" (*roll*) ac nid "tynu ymaith" a ddefnyddir gan yr Efengylwyr eraill. Prydferth iawn yw yr olwg ar y gwragedd hyn—ag oeddynt wedi dechreu "gweini" ar yr Iesu yn Galilea (Luc viii. 3), ac yn awr yn cael y fraint o weini "y gymwynas olaf" iddo—yn prynu ac yn parotoi y peraroglau, ac yn myned tua'r bedd heb gymaint a meddwl dim am y "maen mawr" ag oedd ar y ffordd. Mor wahanol iddynt ydyw llawer, y rhai, pan y gofynir iddynt geisio crefydd neu wneyd rhywbeth yn nglyn â chrefydd, a feddyliant am ryw faen neu gilydd yn rhwystr ar eu ffordd. Ac eto y mae crefydda yn bwysicach na'r holl feini i gyd. Yn aml iawn rhithiol yw yr anhawsderau a deimlir, meini o wneuthuriad meddwl y bobl yw y rhai a welir. Pan y bydd yr anhawsderau yn rhai gwirioneddol gofynir i ni fyned yn mlaen, ac os bydd y meini yn rhai nas gallwn ni eu symud gofala yr Iesu am anfon angel i wneyd hyny, ac os rhai a fyddant ag y gallwn ni ein hunain eu symud nis gallwn wneuthur dim mwy angelaidd na gwneyd hyny. Dywedir i'r gwragedd hyn, adeg y claddedigaeth, weled "pa fodd y dodasant ei gorph Ef," ac ymddengys mai oblegid y teimlent i'r gwaith o eneinio a threfnu corph yr Iesu gael ei wneyd yn rhy frysiog y pryd hyny y maent hwy, y cyfle cyntaf a ganiateid iddynt, yn myned i wella y weithred hono.

**ADN. 2. At Simon Petr ac at y dysgybl arall.** Felly yn y Cyf. Diw., yr hyn a ddengys nad ydoedd Petr ac Ioan i'w cael gyda'u gilydd yn yr un ty. Dymunol ydyw cofio fod mam yr Iesu yn cartrefu gydag Ioan, ond o bosibl yn rhy wan ar y pryd i adael ei hystafell. **Yn ei garu.** Nid yr un gair sydd yma ag yn xiii. 23, xix. 26, a xxi. 7, 20; a gellid cymhwyso hwn at Petr yn ogystal ag at Ioan.

**ADN 3, 4.** Yr oedd Mair Magdalen gyda hwy yn ddiau yn rhedeg. Gwelir ar ol hyn fod gan Ioan amcan mewn nodi ei fod ef yn gyflymach rhedwr na'i gydymaith Petr.

ynghyd: a'r disgybl arall a redodd o'r blaen yn gynt na
Phetr, ac a ddaeth yn gyntaf at y bedd. Ac wedi iddo 5
grymmu, efe a ganfu y llïeiniau wedi eu gosod: er hynny
nid aeth efe i mewn. Yna y daeth Simon Petr yn ei ganlyn 6
ef, ac a aeth i mewn i'r bedd, ac a ganfu y llïeiniau wedi eu
gosod; A'r napcyn a fuasai am ei ben ef, wedi ei osod, nid 7
gyd â'r llïeiniau, ond o'r neilldu wedi ei blygu mewn lle
arall. Yna yr aeth y disgybl arall hefyd i mewn, yr hwn 8
a ddaethai yn gyntaf at y bedd; ac a welodd, ac a gredodd.
Canys hyd yn hyn ni wyddent yr ysgrythyr, fod yn rhaid 9

---

**ADN. 5, 6. Grymmu.** Nid ydyw hwn yn gyfieithiad da o'r gair gwreiddiol. Y mae'r Cyf. Diw. yn defnyddio dwy ferf er gosod allan y syniad, ac yn darllen "Wedi iddo grymmu ac edrych i mewn efe a welodd." Ceir yr un gair a'r un ystyr iddo yn Luc xxiv. 12, a Ioan xx. 11, a'r un gair hefyd, ond gydag ystyr fwy ffigyrol yn Iago i. 25 a 1 Petr i. 12. **Nid aeth efe i mewn . . . . a aeth i mewn.** Gwelir y ddau ddysgybl yn ymddwyn fel hwy eu hunain.

**ADN. 7. Napcyn . . . . . llieiniau.** Gweler ar xi. 44. Dangosai trefniad destlus y dillad yn y gladdfa mai nid cael ei lusgo oddiyno gan na chyfeillion na gelynion a ddarfu i'r Iesu, ac hefyd mai nid ar frys y gadawodd yntau y bedd.

**ADN. 8. Yna.** "Yna gan hyny," sef oblegid i Petr fyned i mewn ac aros yno, cafodd Ioan ddigon o wroldeb i fyned i mewn. **Ac a welodd.** Y mae Ioan yn yr adnodau hyn yn fwriadol yn defnyddio berfau gwahanol. Yn adn. 5 dywed "a ganfu" *(blepei)* yr hyn a olyga un edrychiad cyflym ar yr oll. Yn adn. 6 dywed "a ganfu" *(theorei)* yr hyn a olyga syllu yn hir a myfyrgar, ac yn adn. 8 dywed "a welodd" *(eide)* yr hyn a olyga gwelediad â'r meddwl. **Ac a gredodd.** Pa beth a gredodd? Tybia rhai mai credu y dystiolaeth a roddasai Mair, ond yn sicr credodd hyny mor fuan ag y daeth at y bedd. Credodd fwy na hyny ar ol y weledigaeth a gafodd y tu mewn, a dengys yr adnod ddilynol mai credu yn yr Adgyfodiad a wnaeth. Nid ydyw Ioan yn hysbysu mai efe ydoedd y cyntaf i gredu yn yr adgyfodiad, ond ymddengys mai felly yr oedd. Iddo ef bu gweled y bedd gwag a threfniad y dillad ynddo yn ddigon ó sail, ond bu raid i eraill wrth ragor o seiliau fel y ceir gweled.

**ADN. 9. Yr ysgrythyr.** Y mae'r gair yma yn y rhif unigol, ac felly dynoda ryw Ysgrythyr arbenig, ac y mae'n debyg mai Ps. xvi. 10 ydyw hono. **Fod yn rhaid.** Yr oedd hyn wedi ei ddysgu yn helaeth yn iii. 14, xii. 34, Matt. xvi. 21, xxvi. 54, Marc viii. 31, Luc ix. 22, xvii. 25, xxii. 37, xxiv. 7, 26, 44. Y mae'r hwyrfrydigrwydd oedd ynddynt i gredu yn yr Adgyfodiad yn beth neillduol iawn. Tra y gallesid disgwyl i'r Ysgrythyr yn mlaen llaw eu dwyn i gredu yn yr adgyfodiad, yr adgyfodiad ei hun sydd yn eu dwyn i ddeall cyfeiriad yr Ysgrythyr.

**ADN. 10.** Y mae'r **dysgyblion**, sef Petr ac Ioan, yn myned **at yr eiddynt**—neu fel yn y Cyf. Diw. "i'w cartref eu hunain." Pwy a all

10 iddo gyfodi o feirw. Yna y disgyblion a aethant ymaith
drachefn at yr eiddynt.

---

ddychmygu yr hyn a gymerodd le pan yr aethpwyd a'r newydd i Mair, "mam yr Arglwydd"?

### YR ADGYFODIAD FEL FFAITH ANWADADWY.

Wrth gwrs y mae yn wyrth, ac yn fath arbenig o wyrth. Y mae llawer ar ol Thomas Aquinas yn rhanu y Gwyrthiau Cristionogol i ddau ddosbarth (*a*) y rhai sydd yn gwneyd i fynu Gristionogaeth, (*b*) y rhai a fuont yn foddion i gadarnhau ei gwirionedd. Perthyn i'r dosbarth cyntaf o wyrthiau y mae'r Adgyfodiad. Adgyfodiad Crist, meddai Fairbairn, a roddodd fôd i Gristionogaeth. Y mae'r Apostol Paul yn 1 Cor. xv. wedi gosod Cristionogaeth i sefyll neu syrthio yn ol a ydyw Adgyfodiad Crist yn ffaith wirioneddol neu beidio. Y mae crediniaeth yn Adgyfodiad Crist yn tybied crediniaeth yn y gwyrthiol, ac y mae crediniaeth yn y gwyrthiol yn tybied crediniaeth yn Nuw. Dibynu yr ydym am hanes y wyrth ar dystiolaeth, ac erbyn hyn y mae pawb yn cydnabod annhegwch ac afresymoldeb Hume yn dibynu ar dystiolaeth er penderfynu cysondeb natur, ond yn gwrthod pob tystiolaeth am y gwyrthiol. Nid ydyw cysondeb natur a'r gwyrthiol yn bethau anghyson a'u gilydd; yn hytrach y mae'n rhaid cael y cyntaf er cael yr ail. Ar y dechreu, y mae'n wir, yr oedd y gwyrthiol yn amod derbyniad o'r Efengyl, ond yn awr, ysywaeth, gwrthodir yr Efengyl gan rai yn syml am ei bod yn wyrthiol. Cydnabyddir yn gyffredin, hyd yn nod gan brif elynion Cristionogaeth, fod delw gwirionedd ar yr hanes am Adgyfodiad Crist yn yr Efengylau. Ac nid ydym yn dibynu ychwaith ar yr Efengylau am yr hanes, ond y mae genym dystiolaethau eraill pwysig. Yn mysg y rhai hyn y mae cyfeiriadau at yr Adgyfodiad mewn pedwar o Epistolau Paul, sef y Galatiaid, 1 a 2 Corinthiaid a'r Rhufeiniaid. Y mae y pedwar Epistol hyn o gyfansoddiad boreuach na'r pedair Efengyl, ac nid oes neb yn amheu eu dilysrwydd, ond y mae rhai a'u derbyniant hwy o flaen unrhyw ran o'r Gyfrol Sanctaidd. Ar ol cael profion diymwad o'r ffaith daeth yr Eglwys yn fore iawn i gredu ynddi. Yr Adgyfodiad, fel y gwelir, ydoedd prif bwnge eu pregethau a'u hymddiddanion, ac un o brif erthyglau eu cred. Pan ysgrifenai Paul at y Corinthiaid yn 56 O.C. yr oedd rhai yn amheu yr adgyfodid dynion, ond nid oedd y rhai hyny yn amheu ddarfod i Grist gael ei adgyfodi, fel y gwelir oddiwrth waith yr Apostol yn gwneyd y defnydd a wna o Adgyfodiad Crist fel dadl yr adgyfodid dynion. Hwyrach y rhaid rhoddi braslun o'r ceisiadau a wneir i esbonio ymaith y ffaith bwysig hon. Nodwn yn fyr y gwahanol ddamcaniaethau. (1) *Ddarfod i'w gorph gael ei ladrata o'r bedd* fel yr awgrymir yn Matt. xxviii. 11—15. Ond

sylwer mor afresymol yw yr hanes am y "cysgu," mor anmhosibl ydoedd i'r dysgyblion eiddil ladrata y corph o afaelion y gallu Rhufeinig, ac mor hawdd a fuasai ac mor sicr y byddai i'r awdurdodau Rhufeinig ac Iuddewig eu gorfodi i'w ddychwelyd yn ol. (2) *Mai mewn llewyg y bu'r Iesu.* Dyma'r tir a gymerai y gwrthwynebwyr boreuaf (Older Rationalists). Ond gweler yn hanes y Croeshoeliad (xix. 34) pa mor anmhosibl yw y dybiaeth hon. Hefyd têg ydyw dyweyd i Renan lwyr ddymchwelyd y ddamcaniaeth. (3) *Mai twyllo y wlad a ddarfu i ychydig o'r dysgyblion.* Y mae'r dybiaeth hon mor wrthun a'r un o honynt, yn enwedig pan welir nad oedd dim mantais i'w ddisgwyl, ond eu bod yn hytrach yn dod i wrthdarawiad difrifol â chynddaredd y gallu Iuddewig ac â chadernid y gallu Rhufeinig. (4) *Mai dychmygu a ddarfu iddynt* fod yr Iesu wedi adgyfodi. Renan yw tad y dybiaeth hon, ac fel hyn y dysga :—Mai y cyntaf i ddychmygu ydoedd y "Mair Magdalen histeraidd," ac oddiwrthi hi ymdaenodd y peth megis haint ; mai yr hyn a barodd iddynt ddychmygu ydoedd ymlyniad brwdfrydig wrth eu hen athraw, neu mewn geiriau eraill mai dymuniad angherddol am i'r Iesu adgyfodi a fu "yn dad" i'r syniad ddarfod iddo wneyd. Ond y mae'r ddamcaniaeth yn syrthio i lawr yn hollol yn ngwyneb yr hanes ; oblegid gwelir mai nid â "brwdfrydedd" y meddiennid hwy ond â digalondid, nad oeddynt mewn stad o ddisgwyliad ond mewn stad o anobaith, ac, yn hytrach na chredu yn adgyfodiad Crist fel peth tebygol, mai yn hynod ymarhous y daethant i gredu ynddo ar ol cael profion digonol o hono. (5) *Mai gweledigaethau mewnol* (*subjective visions*) oedd yr ymddangosiadau. Ystyria Fairbairn y ddamcaniaeth hon yn llai annerbyniol na'r un flaenorol. Hon yw y ddamcaniaeth boblogaidd gydag anffyddwyr diweddar. Nodant fod Paul yn rhestru yr ymddangosiad iddo ef gyda'r ymddangosiadau i'r gwragedd a'r dysgyblion, a haerant mai mewnol fel yr eiddo ef oedd yr eiddynt hwy. Ond gellir gofyn ai nid mwy rhesymol fyddai casglu mai gwrthrychol oedd yr ymddangosiad iddo ef fel y lluaws o ymddangosiadau iddynt hwy. Y mae llawer o'r un peth i'w ddyweyd er gwrthbrofi y ddwy ddamcaniaeth ddiweddaf, megis yr anmhosiblrwydd ini feddwl fod can gymaint o bersonau gwahanol, ac o dan y fath amgylchiadau gwahanol, yn cyd-ddychmygu yr un pethau a'u gilydd neu yn cael yr un gweledigaethau mewnol a'u gilydd.

YR YMDDANGOSIAD I MAIR MAGDALEN. ADN. 11—18.

Oddigerth y sylw yn Marc xvi. 9 mai iddi hi yr "ymddangosodd yn gyntaf," yr ydym yn dibynu am yr hanes hwn ar Ioan, a chan Mair ei hun, o bosibl, y cafodd Ioan ef. Sylwer ar y Cyf. Diw. yn y paragraph hwn.

11 Ond Mair a safodd wrth y bedd oddi allan, yn wylo: ac
12 fel yr oedd hi yn wylo, hi a ymostyngodd i'r bedd; Ac a
ganfu ddau angel mewn *gwisgoedd* gwỳnion, yn eistedd, un
wrth ben, ac un wrth draed y lle y dodasid corph yr Iesu.
13 A hwy a ddywedasant wrthi, *O* wraig, paham yr wyt ti yn
wylo? Hithau a ddywedodd wrthynt, Am ddwyn o honynt
hwy fy Arglwydd i ymaith, ac nas gwn pa le y dodasant ef.
14 Ac wedi dywedyd o honi hyn, hi a droes drach ei chefn, ac
a welodd yr Iesu yn sefyll: ac nis gwyddai *hi* mai yr Iesu
15 oedd efe. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, *O* wraig, paham

---

ADN. 11. **Ond Mair a safodd.** Wedi i Petr ac Ioan ddychwelyd i'r ddinas erys Mair yn unig wrth y bedd gan wylo. **Hi a ymostyngodd.** Yr un gair sydd yma ag sydd yn adn. 5 am Ioan yn "crymu" i'r bedd. Petrusai fyned i mewn, megis y gwnaethai Ioan ar y dechreu. Y mae yn y ddwy ogof—yr un yn yr Eglwys a'r un yn yr Ardd—a ddangosir fel bedd yr Arglwydd ddwy ystafell—un allanol ac un fewnol, ac yr ydym i feddwl am Mair fel hefyd am Ioan yn edrych trwy yr allanol i'r fewnol, lle y dodasid y corph.

ADN. 12. **A ganfu ddau angel.** Mair yn unig a gafodd y weledigaeth hon. Ymddangosasai angelion, ac un ohonynt yn llefaru i'r gwragedd eraill yn flaenorol i hyn (Matt. xxviii. 5—7; Marc xvi. 5—7; Luc xxiv. 4—8). Yr oedd yr angelion yn cysgodi man y bedd, megis y cysgodai y cerubiaid y drugareddfa gynt (Ex. xxv. 22). Ymddengys oddiwrth y desgrifiad fod ochr yr orweddle tuag at ddrws yr ogof, ac y mae hyn eto yn ffafriol i'r ogof sydd yn yr ardd yn hytrach nag i'r un sydd yn Eglwys y Bedd.

ADN. 13. **Yn wylo.** Un o'r pethau amlycaf yn hanes Mair yw ei gwaith yn wylo ar ol ei Harglwydd. Y mae Dwyfol ysbrydoliaeth fel am i'r byd sylwi ar ei dagrau. Sylwir arnynt gan Ioan yn adn. 11, gan yr angelion yn adn. 13, a chan yr Iesu yn adn. 15. **Fy Arglwydd i** Yr oedd yr Iesu trwy y datguddiadau o hono'i hun, a thrwy ei gymwynas fawr iddi wedi ei henill yn hollol iddo ei hun. **Nas gwn.** Nid oes ganddi hi, hyd yn hyn, ddim eglurhad ar yr amgylchiad mwy nag yr oedd ganddi ar y dechreu, adn. 2.

ADN. 14. Golygfa anarferol o dlos a thoddedig yw yr un yn yr adnod hon a'r tair adnod ddilynol. Sylwer nad yw yn cynhyrfu yn yr olwg ar angelion, nac yn cymeryd nemawr o ddyddordeb ynddynt. Pan yn chwilio am yr Iesu y mae'n troi draw oddiwrth angelion fel rhai heb fod yn werth sylw ganddi. **Ac nis gwyddai hi.** Paham? Ai am mai edrych arno yr oedd trwy ei dagrau, neu trwy oleuni gwan y bore, neu am nad oedd yn disgwyl ei gael yn Berson byw fel hyn, neu oblegid rhyw gyfnewidiad oedd wedi cymeryd lle ynddo Ef?

ADN. 15. **Yr Iesu a ddywedodd.** Dyma eiriau cyntaf yr Iesu ar ol adgyfodi, ac y mae yn werth sylwi wrth bwy y llefarwyd hwy. Pa faint bynag o wybodaeth a ffydd oedd gan Mair y mae'n eithaf amlwg fod

yr wyt ti yn wylo? pwy yr wyt ti yn ei geisio? Hithau, yn
tybied mai y garddwr oedd efe, a ddywedodd wrtho, Syr,
os tydi a'i dygaist ef, dywed i mi pa le y dodaist ef, a myfi
a'i cymmeraf ef ymaith. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Mair. 16
Hithau a droes, ac a ddywedodd wrtho, Rabboni; yr hyn
yw dywedyd, Athraw. Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Na 17
chyffwrdd â mi; oblegid ni ddyrchefais i etto at fy Nhad:

---

llon'd ei henaid o gariad at yr Iesu. Tra yr adwaenir Ioan fel yr un yr oedd yr Iesu yn ei garu gellir ei hadwaen hithau fel yr un oedd yn caru yr Iesu. Dengys ei gwestiynau ei fod yn darllen ei theimladau. **Mai y garddwr.** Nid annaturiol ydoedd iddi feddwl am y gwr oedd yn gofalu am yr ardd. **Syr.** Cyfarcha ef yn barchus a charedig, gan deimlo, os yn ei feddiant ef yr oedd y corph, mai nid anhawdd fyddai dyfod o hyd iddo, a sicrhau meddiant o hono. Ei hunig atebiad hi i'r gair **Pwy** ydoedd y gair **Ef**, gan deimlo fod hyny yn ddigon. **Myfi a'i cymeraf.** Yn ei chariad at yr Iesu a'i hawydd i weini arno cyll yr olwg ar ei heiddilwch a'i hanallu ei hun, a theimla ei hunan yn atebol at wneyd unrhyw beth yn nglyn â'r Iesu.

**ADN 16.** Megis yr edrychasai draw oddiwrth yr angelion edrychodd draw oddiwrth yr Iesu ei hun pan y tybiodd mai y garddwr oedd. Ymddengys ddarfod i'r Iesu amlygu ei hun iddi yn ei ddefnyddiad o'r enw Mair. Datguddiodd ei hun i'r ddau ddysgybl trwy gyfrwng toriad y bara. **A ddywedodd wrtho, Rabboni.** Gwel i. 38. Y mae'n gwestiwn a ydoedd Mair hyd yma wedi ymgodi hyd at synied am dano fel Crist Duw a Cheidwad y byd. Gwir yw y sonia am dano fel Arglwydd, ond a feddyliai hi fwy wrth hyny nag a wnai pan y galwai Ef yn Athraw?

**ADN. 17.** Y mae hon yn un o adnodau dyrys yr Efengyl. **Na chyffwrdd a mi.** Ymddengys mai nid nodi a wneir yn y fan hon fod yr hyn ag oedd yn briodol o'r blaen, oblegid cyfnewidiad yn nghorph yr Iesu, wedi dod yn beth anmhriodol os nad anmhosibl. Fe ganiataodd yr Iesu i'r gwragedd eraill nid yn unig gyffwrdd âg Ef ond ymaflyd ynddo (Matt. xxviii. 9), ac archodd ar i'r dysgyblion wneyd yr un peth (adn. 27 a Luc xxiv. 39). Ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw. rhoddir y ddarlleniad "Nac ymafla ynof," a chydnabyddir mai y cyfieithiad llythyrenol o *mē haptou* ydyw *na pharha yn ymaflyd ynof.* Y mae'n eithaf tebyg ei bod yn ymaflyd ynddo pan y llefarai y geiriau, a bod y modd y gwnai hyny yn dangos mai un ydoedd o dan gamargraphiadau, ac mewn angen am addysg pellach. Y mae y geiriau dilynol drachefn yn dangos fod ganddo waith amgenach iddi ei gyflawni na pharhau i ymaflyd ynddo, fel pe yn benderfynol na chawsai ar ol hyn fyned allan o'i gafael. **Oblegid ni ddyrchefais i eto.** Tra yr ydoedd yr adeg iddi gymdeithasu âg Ef yn gorphorol wedi darfod nid ydoedd yr adeg iddi gymdeithasu âg Ef yn ysbrydol wedi dechreu, ac ni ddechreuai yn briodol hyd nes y byddai iddo lwyr esgyn i'r Ddeheulaw. Pan y deuai hyny hi gawsai barhau i ymaflyd ynddo, a chymdeithasu âg Ef. **At fy Nhad.** Y Cyf. Diw. yw *at y Tad*, ac felly yn cyfeirio at Dadoliaeth

eithr dos at fy mrodyr, a dywed wrthynt, Yr wyf yn
dyrchafu at fy Nhad i a'ch Tad chwithau, a'm Duw i a'ch
18 Duw chwithau. Mair Magdalen a ddaeth ac a fynegodd
i'r disgyblion, weled o honi hi yr Arglwydd, a dywedyd o
hono y pethau hyn iddi.
19 Yna, a hi yn hwyr y dydd cyntaf hwnnw o'r wythnos, a'r
drysau yn gauad lle yr oedd y disgyblion wedi ymgasglu

---

gyffredinol Duw. **At fy mrodyr.** Hwn yw yr unig dro iddo alw ei ddilynwyr yn frodyr. Sylwer ar y dadblygiad yn yr enwau a roddodd arnynt—dysgyblion—gweision—cyfeillion—brodyr. **Yr wyf yn dyrchafu.** Yr oedd anghen am i'r brodyr ddyfod i wybod hyn yn ddiymdroi, a dod i sylwi ar yr ymddyrchafiad ag oedd i ddiweddu yn yr Esgyniad. Dadleua Weiss yn gryf yn erbyn y golygiad fod yr Iesu yn ystod y deugain niwrnod mewn stad o drawsgyfnewidiad. Nid oes peth felly, meddai, yn bod cydrhwng y materol a'r ysbrydol; gagendor yn hytrach sydd rhyngddynt heb yr un llwybr yn arwain o'r naill i'r llall. Bid sicr, nid ydoedd y deugain niwrnod yn angenrheidiol i'r Iesu ei hun er dwyn oddiamgylch y cyfnewidiad yn ei gorph fel ag iddo ddod yn gorph ysbrydol; ond yr un mor sicr hefyd yr oeddynt yn angenrheidiol er mwyn ei ddilynwyr, ac y maent wedi bod o werth annrhaethadwy i Gristionogaeth yn gyffredinol. **Fy Nhad i a'ch Tad chwithau.** Yn nechreu yr adnod soniodd am Dduw fel Tad cyffredinol, yn y fan hon, fel hefyd yn xiv. 2, sonia am dano fel Tad iddo Ef mewn ystyr hollol neillduol. Yr un modd yr ydoedd mewn ystyr hollol neillduol yn Dduw iddo Ef (cyd. Rhuf. xv. 6, Eph. i. 3).

**ADN. 18.** Y darlleniad o'r adnod yn y Cyf. Diw. yw—**A Mair Magdalen a ddaeth ac a ddywedodd wrth y dysgyblion, Yr wyf fi wedi gweled yr Arglwydd, &c.** Os nad ydym yn yr adnod hon yn cael golwg ar Mair wedi dyfod i'r goleuni o barth i'r "Prynwr byw," y mae'n ddiau iddi yr adeg yma ddod, ac iddi o ddechreuad yr Eglwys fod yn un o'r saint disglaeriaf a mwyaf blaenllaw ynddi. Mawr fu ei chariad at yr Iesu, a'i ffyddlondeb iddo, a mawr hefyd a fu ei braint, oblegid iddi hi yr ymddangosodd yr Iesu gyntaf ar ol adgyfodi, a hi oedd y gyntaf i hysbysu eraill am y bedd gwag, a thrachefn am yr Iesu byw. Yn ngwyneb y cwbl nid yw yn syn fod math o gystadleuaeth yn y Dwyrain cydrhwng y sylw a roddir i'r Fair a fagodd yr Iesu, a'r Fair a weinyddodd arno yn ei ddiwedd.

YR YMDDANGOSIAD CYNTAF I'R DYSGYBLION. ADN. 19—23.

**ADN. 19.** Darllena y Cyf. Diw. fel hyn—**Pan oedd hi, gan hyny, yn hwyr ar y dydd hwnw, y dydd cyntaf o'r wythnos, a phan yr oedd y drysau yn gauad, &c.** Y mae'r "gan hyny" yn nodi cysylltiad rhwng y cynulliad hwn a'r genadwri a ddygwyd gan Mair. Oblegid ei thystiolaeth hi y mae dilynwyr yr Iesu yn trefnu i gyfarfod a'u gilydd ar y nos Sul bythgofiadwy hwnw. Cyfeirir ein sylw yma at un o'r cyfarfodydd mwyaf dyddorol a phwysig a fu yn y byd erioed, un digon pwysig i'w restru gyda'r cyfarfod enwog fu yn yr Oruwchystafell y

ynghyd rhag ofn yr Iuddewon, daeth yr Iesu, ac a safodd
yn y canol, ac a ddywedodd wrthynt, Tangnefedd i chwi.
Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd iddynt *ei* 20
ddwylaw a'i ystlys. Yna y disgyblion a lawenychasant pan
welsant yr Arglwydd. Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt 21
drachefn, Tangnefedd i chwi: megis y danfonodd y Tad fi,
yr wyf finnau yn eich danfon chwi. Ac wedi iddo ddywedyd 22
hyn, efe a anadlodd *arnynt*, ac a ddywedodd wrthynt,

---

nos Iau blaenorol. **Lle yr oedd.** Creda amryw mai yn yr Oruwchystafell y cynhaliwyd ef, mai yno y byddai yn naturiol iddynt i ymgynull, sef i'r fan y cynullasai yr Iesu hwynt, a sicr yw fod y cysylltiadau yn gwneyd y lle yn ddyddorol, yn bwysig a chysegredig. **Yn hwyr.** Y maent yn ymgynull tua therfyn y dydd cyntaf bythgofiadwy hwnw, ac y mae'r cyfarfod yn cael ei gario yn mlaen am oriau ar ol machludiad haul. Pwy oedd yn nghyd? Yr un-arddeg ac eraill gyda hwy (Luc xxiv. 33). Y mae Ioan yn nodi fod yr unfed-ar-ddeg, sef Thomas, yn absenol, ond y mae yn ei wneyd yn eithaf tebygol fod eraill yno. Pwy ydoedd y "sawl oedd gyda" y dysgyblion? Y mae'n lled debyg mai Mair Magdalen, a'r gwragedd eraill, ac ar ganol y cyfarfod, tua 8 o'r gloch y nos, meddai Westcott, y mae y ddau a fu yn swpera gyda'r Iesu yn Emmaus yn cyrhaedd. Dengys yr hanes mai pwngc y cyfarfod ydoedd Adgyfodiad yr Iesu. Derbyniwyd tystiolaethau Mair Magdalen, a'r gwragedd eraill, a Phetr, ac yna pan yr oeddynt yn argyhoeddedig o'r ffaith ac yn llawenychu o'i phlegid, y mae y ddau o Emmaus yn cyrhaedd, gan ychwanegu eu tystiolaeth hwythau (Luc xxiv. 34). **Y drysau yn gauad—rhag ofn.** Ofnent rhag i gynddaredd yr awdurdodau Iuddewig ddisgyn arnynt. Y mae gan Ioan, yn y fan hon fel yn adn. 26, reswm arall dros groniclo fod y drysau yn gauad, sef er nodi ffaith arall, ddarfod i'r Iesu ddyfod i'w plith mewn dull dyeithriol, ac fel un nad oedd mwy yn ddarostyngedig i ddeddfau cyffredin bywyd y ddaear. **Tangnefedd i chwi.** Yr oedd hyn yn y wlad yn ffurf gyffredin o gyfarchiad (Luc x. 5). Y mae felly yno yn awr yn mysg Iuddewon ac Arabiaid. Ond i deithiwr gyfarch y rhai a gyferfydd, gan ddefnyddio y geiriau hyn, gall ar unwaith deimlo ei hun yn gydmarol ddyogel a dedwydd yn eu mysg. Gwelir mai cyfarchiad effeithiol iawn er lleddfu teimladau cyffrous ac ofnus y rhai cynulledig ydoedd hwn. (Gweler ar xiv. 27).

**ADN. 20. A ddangosodd.** Y mae'n gwneyd hyn, yn nghyda'r pethau eraill a nodir yn Luc xxiv. 36—49, er cyfarfod yr anghrediniaeth oedd o hyd i raddau yn eu meddiannu. **Pan welsant.** Fel gyda Mair Magdalen, a chyda'r ddau ddysgybl, daethant o'r diwedd i weled mai yr Iesu mewn gwirionedd oedd ger eu bron, ac y mae llawenydd yn cymeryd lle y "meddyliau" anghrediniol a'r trallod.

**ADN. 21. Drachefn Tangnefedd.** Erbyn hyn y mae tangnefedd yn teyrnasu yn y cynulliad, a'r rhai cynulliedig yn hollol barod i dderbyn y commissiwn a roddir iddynt. Cyfeiriwyd eisoes at y commissiwn a'r anfoniad yn xvii. 18, ac yn yr oruwchystafell nodwyd yr amodau gofynol yn nglyn a'r ymddiriedaeth bwysig hon.

23 Derbyniwch yr Yspryd Glân. Pwy bynnag y maddeuoch
eu pechodau, maddeuir iddynt; *a*'r eiddo pwy bynnag a
attalioch, hwy a attaliwyd.
24 Eithr Thomas, un o'r deuddeg, yr hwn a elwir Didymus,
25 nid oedd gyd â hwynt pan ddaeth yr Iesu. Y disgyblion
eraill gan hynny a ddywedasant wrtho, Ni a welsom yr
Arglwydd. Yntau a ddywedodd wrthynt, Oni châf weled

---

**ADN. 22. Derbyniwch yr Ysbryd Glân.** Hyn yn unig oedd bellach yn eisiau er eu cymhwyso at y gwaith. **Anadlodd** Dyma'r unig fan yn y Test. Newydd lle y ceir y gair. Y mae iddo, yn ddiau, ystyr arwyddluniol, yr hyn a welir trwy ei gysylltu gyda'r gair Ysbryd. Arferwn sôn am yr Ysbryd fel anadl—"O anadl tyred," ac "anadla'n rymus ar y glyn." Y mae gwaith yr Iesu yn anadlu arnynt yn ddangosiad arwyddluniol o'i waith yn rhoddi'r Ysbryd, yn amlygiad pellach y byddai iddo gyflawni yr addewid a roddasai iddynt, xvi. 7, yr hon nas gellid ei chyflawni hyd nes y llwyr ogoneddid yntau (vii. 39).

**ADN. 23.** Hon ydyw yr adnod ag y mae yr Eglwysi Defodol yn ei defnyddio fel eu prif sail er cyfreithloni y gyffesgell, ac er profi y gallu a'r awdurdod a hònir gan eu swyddogion i faddeu pechodau. Ond nid ydyw yr adnod yn gwasanaethu er rhoddi y sail leiaf iddynt, fel y dengys yr ystyriaethau hyn. (1) Gwelir mai nid wrth yr apostolion y llefarodd yr Iesu y geiriau, ond wrth yr oll ag oedd yn bresenol. Pa allu neu awdurdod bynag a roddwyd fe'i rhoddwyd, nid i swyddogion Eglwysig, ond i'r Eglwys ei hun. (2) Nad oes dim son am yr apostolion yn rhinwedd eu swyddogaeth yn honi y gallu a'r hawl i faddeu; ac os na ddarfu iddynt hwy, wrth y rhai y llefarwyd y geiriau wneyd hyny, sut y gall neb o swyddogion Eglwysig a broffesant fod yn olynwyr iddynt wneyd? Ni a nodwn ddau neu dri o wahanol esboniadau ar y geiriau hyn. (1) Y byddai iddynt fel rhai anfonedig yr Iesu, o dan ddylanwad ei Ysbryd, allu cyfleu ger bron y byd amodau maddeuant, ac amodau condemniad, yn y cyfryw fodd, ag a fyddent yn unol â threfniadau y Nefoedd i faddeu neu i gondemnio. Nid eu gwaith hwy fyddai maddeu na chondemnio, ond byddai iddynt hwy yn gywir ddangos sut y byddai i rai gael y maddeuant Dwyfol, a sut y byddai i rai ddwyn condemniad arnynt eu hunain. (2) Dadleua Weiss ac eraill mai yr hyn a addewir iddynt ydyw gallu i wahaniaethu rhwng y pechodau ag y mae maddeuant am danynt, a'r pechodau anfaddeuol y rhai "sydd i farwolaeth." (3) Y Parch. W. James, Aberdar, a grêd mai "cyfranogiad o'r Ysbryd Glân sydd yn sicrhau cydweithrediad Duw yn y maddeu a'r atal," mai "nid gweithredu yn swyddogol dros Dduw ydyw y syniad, ond cydweithredu a chydymdeimlo â Duw; neu yn hytrach Duw yn cydfaddeu ac yn cydatal â dyn"; "Ysbryd Duw yn dysgu dyn i faddeu ac atal yn iawn, a Duw yn gwneyd yr un peth."

DWYN YR AMHEUWR I GREDU. ADN. 24—29.

**ADN. 25. Oni chaf . . . . . ni chredaf fi.** Y mae'n hawdd iawn gwneyd cam â'r Didymus yma, a choleddu syniadau gwaelach am dano

yn ei ddwylaw ef ôl yr hoelion, a dodi fy mys yn ôl yr
hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi.
Ac wedi wyth niwrnod drachefn yr oedd ei ddisgyblion 26
ef i mewn, a Thomas gyd â hwynt. Yna yr Iesu a ddaeth,
a'r drysau yn gauad, ac a safodd yn y canol, ac a ddywed-
odd, Tangnefedd i chwi. Wedi hynny y dywedodd efe 27
wrth Thomas, Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw; ac
estyn dy law, a dod yn fy ystlys: ac na fydd anghredadyn,

---

nag y mae ei hanes yn ein cyfreithloni. Pe byddai i ni ei farnu oddiwrth y cyfeiriadau blaenorol i hyn a wneir ato byddai yn naturiol i feddwl am dano fel un o feddwl ymchwilgar, ac am gael sicrwydd meddwl yn nghylch pethau o bwys, a chyda hyny fel un gwrol a phenderfynol. Y mae llawer i w ddyweyd dros olygu mai dyn cryf ydoedd yn mha gymeriad bynag yr ymddangosai—os amheuwr, amheuwr cryf; os credwr, credwr cryf; os cyffeswr, cyffeswr cryf. Fel amheuwr yr ydym yn ei gael yn ystod yr wythnos gyntaf ar ol yr Adgyfodiad. Yr oedd y Croeshoeliad wedi ei daflu ef, nid yn unig i stâd o bruddglwyfni, ond i stâd o anobaith. Gwelwn ef wedi myned i eithafion ystyfnigrwydd. Y mae'n debyg y rhaid dyweyd ei fod yn onest, ac os bu amheuwr gonest erioed mai Thomas oedd hwnw. Nid prawf o wendid yw fod un yn dod i wybod am amheuon; ar yr un pryd, y mae ildio i amheuon a'u cefnogi yn brawf diamheuol o wendid, ac y mae ymffrostio mewn amheuon drachefn yn beth dirmygedig. Cafodd Thomas, yn ddiau, achos i ofidio oblegid yr anghrediniaeth a barodd iddo esgeuluso cymdeithas y brodyr, a cholli y fath gyfarfod bendigedig.

**ADN. 26. Wedi wyth niwrnod.** Cynhaliwyd y cyfarfod cyntaf nos Sul yr Adgyfodiad, ac yn awr y mae Sul arall wedi dod, a chyfarfod arall yn cael ei gynal, y mae'n debyg, yn yr un lle. Tybia Godet fod yr hanes yn dangos mai oblegid absenoldeb Thomas o'r cyntaf y bu yr ail. Yn mha le y bu'r Iesu yn ystod yr wythnos? Diau i'r dysgyblion gyfarfod a'u gilydd yn aml, ond nid oes son am neb o honynt yn cyfarfod âg Ef. Dadleua Schleiermacher fod yr Iesu yn bresenol o hyd gyda'r dysgyblion ar ol ei adgyfodiad, megis ag yr oedd cyn ei adgyfodiad, ac nad yw y cyfnod hwn, sef rhwng yr Adgyfodiad a'r Esgyniad, yn gyfnod ar ei ben ei hun. Ond y mae ei hanes y cyfnod hwn yn dangos yn lled glir, fel y sylwa Dr. Plummer, mai anweladwy iddynt oedd ond ar adegau arbenig, pan yr ewyllysiai wneyd ei hun yn weladwy. Yr oedd y corph oedd ganddo yn awr, er yr un, eto yn wahanol i'r un oedd ganddo cyn ei adgyfodiad. Nid ydyw'r hanes am dano cyn ei adgyfodiad yn cerdded ar y môr, mwy na'r hanes am dano ar ol ei adgyfodiad yn bwyta, yn profi nad oedd y gwahaniaeth uchod yn bod. **Iesu a ddaeth.** Yr oedd dull ei ddyfodiad i'w plith, ai gyfarchiad iddynt fel y tro blaenorol.

**ADN. 27. Wrth Thomas.** Un amcan i'r ymweliad hwn o eiddo'r Iesu ydoedd eglurhau ei hun i Thomas. Yr oedd hwnw wedi bod trwy'r wythnos megis anghredadyn annedwydd. Gwyddai'r Iesu yn berffaith am ei waith yn ymrwystro, ac hyd yn nod am y geiriau a ddywedasai, ac y mae, yn awr, yn ei gyfarch gan ddefnyddio y geiriau hyny. **Na**

28 ond credadyn. A Thomas a attebodd ac a ddywedodd
29 wrtho, Fy Arglwydd, a'm Duw. Yr Iesu a ddywedodd
wrtho, Am i ti fy ngweled, Thomas, y credaist : bendigedig
*yw* y rhai ni welsant, ac a gredasant.

---

**fydd anghredadyn ond credadyn.** Y Cyf. Diw. yw *na fydd ddiffygiol mewn ffydd ond yn grediniol*, ac yn llythyrenol darllena y frawddeg—*na fydded iti ddyfod yn ddiffydd.* Nid dweyd y mae'r Iesu ei fod yn ddiffydd ac yn anghredadyn, ond ei fod ar y ffordd i ddyfod, ac mewn perygl o ddyfod. Gwelir mai ymddadblygu y mae pobl yn gredinwyr neu yn anghredinwyr, a sylwer hefyd ar y tynerwch a ddengys y bendigedig Iesu gydag amheuwr diffygiol mewn ffydd.

**ADN. 28.** Y mae dau beth yn dangos na ddarfu i Thomas ddodi ei fysedd yn nghnawd yr Iesu : (*a*) mai ateb yr Iesu mewn geiriau y mae yn hytrach na gweithredu yn ol ei wahoddiad ; (*b*) fod yr Iesu yn yr adnod ddilynol yn cysylltu y "credu" gyda'r gweled, ac nid gyda'r teimlo â'r llaw. **Fy Arglwydd a'm Duw.** Dyma gyffes y cyffesiadau. Saif ar ei phen ei hun, yn anghydmarol o ran y gwres a'r goleuni a gynwysa, ac o ran y brwdfrydedd a'r cadernid a ddangosa. Byddai'n dda cydmaru yr adnodau canlynol—

| i. | iv. | ix. | xvi. | xx. |
|---|---|---|---|---|
| 47, 48, | 16, 18, | 17, 25, 33, | 19, | 25, 27, |
| 49. | 19. | 36, 38. | 30. | 28. |

Y mae'r gair **Arglwydd**, meddai Cremer, yn darddiad o air yn golygu cadernid. Yr Arglwydd felly yw yr un cadarn—y cynhaliwr a'r llywodraethwr, ac felly tlws iawn yw y gair—"Twr cadarn yw enw yr Arglwydd." Yn y Test. Newydd defnyddir yr enw weithiau am Dduw, ond y rhan fynychaf am Grist. Sylwer ar ei ystyr yn xiii. 13, 14, a 1 Cor. viii. 6 ; hefyd yn iv. 1 ; vi. 23 ; xi. 2, ac yn y bened hon adn. 2, 18, 20, 28. Dyg yr enw yr Iesu ger ein bron yn ei berthynas â'r Greadigaeth, ac yn neillduol â'r Eglwys. Yr oedd yr Iesu yn nghyfrif Thomas yn Arglwydd cyn hyn, er nad yn gymaint o Arglwydd ag y daeth yn awr. Ond y mae, erbyn hyn, wedi dod i weled fod ei Arglwydd yn Dduw. Teimla yn sicr yn nghylch Duwdod ei Berson, ac edrycha arno fel gwrthrych addoliad yn gystal ag fel gwrthrych gwasanaeth.

**ADN. 29.** Y mae dau beth i sylwi arnynt yn atebiad yr Iesu, (1) Y peth amlycaf yw y gallasai ffydd Thomas fod yn rhagorach, ac yntau yn fwy gwynfydedig o'i phlegid. Dysgir fod credu heb weled yn golygu rhagorach ffydd na chredu ar ol gweled. Credodd Thomas yn yr Adgyfodiad oblegid iddo weled, a gwrthododd y cyfle a gafodd i gredu heb weled. Yn nglyn a hyn ni a gawn y cwmni yn ymddosbarthu yn ddwy ran. (*a*) Y mae Ioan ei hun (adn. 8), ac feallai eraill o honynt, yn credu yn yr Adgyfodiad cyn iddynt weled yr Iesu yn bersonol. (*b*) Y mae Thomas ac eraill, ag oeddynt fel yntau yn fwy neu lai o amheuwyr, (Matt. xxviii. 17 ; Luc xxiv. 37—41), yn rhai na ddaethant i gredu hyd nes y cawsant ei weled Ef. Gellir, wrth gwrs, roddi i wirionedd yr adnod hon y cymhwysiad cyffredinol o gredu yn y Crist anweledig, a dyweyd am y llu sydd wedi credu yn yr Iesu ar ol ei Esgyniad i'r Nef

A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu 30
y'ngŵydd ei ddisgyblion, y rhai nid ydynt ysgrifenedig yn
y llyfr hwn. Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y 31
credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw; a chan
gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef.

---

mai rhai yn perthyn i'r dosbarth blaenaf ydynt; ac uwchben y dosbarth hwn y mae'r Iesu yn cyhoeddi yr olaf o'i wynfydau. (2) Peth arall, heb fod mor amlwg yn ei atebiad i Thomas, ydyw y cydnabydda gywirdeb ei gyffes. Fel y sylwa Westcott, nid ydyw'r Iesu yn arfer llefaru am dano'i hun fel Duw (cyd. v. 18), ac eto dyben y datguddiad a roddai o hono'i hun ydoedd dwyn dynion i ganfod ei Dduwdod. Yn hyn llwyddodd yn ogoneddus gyda Thomas. Galluoga y gyffes hon i Ioan ddiweddu ei Efengyl gyda'r un peth ag y dechreuodd hi, sef gyda Duwdod yr Iesu (cyd. i. 1—14). Ystyrir fod yr Efengyl yn cyrhaedd ei phwynt uwchaf yn nghyffes Thomas, ac mai dyma yn rhinweddol ei phwynt terfynol hi.

NODIAD AM AMCAN YR EFENGYL. ADN. 30, 31.

Y mae'n amlwg fod Ioan gyda'r ddwy adnod hyn yn bwriadu dwyn ei Efengyl i derfyniad. Rhydd yma ddarnodiad byr o'r hyn a fu yn amcan ac yn gynllun ganddo wrth ysgrifenu. Y mae amryw ystyriaethau i'w cofio, megis (1) mai ysgrifenu ei Efengyl a ddarfu yn mhen tua 60 mlynedd ar ol y Croeshoeliad, a phan yr ydoedd Cristionogaeth wedi ymsefydlu mewn rhanau helaeth o'r byd. (2) Mai ysgrifenu a wnaethai yn arbenig, at Gristionogion Asia Leiaf, a bod ei olwg wrth ysgrifenu, nid yn unig ar y ddysgeidiaeth Gnosticaidd, ond yn neillduol ar y cyfeiliornadau oeddynt wedi ymddangos yn y rhan hono o'r byd, megis eiddo ei gyd-ddinesydd Cerinthus, ac eiddo y Docetiaid. Yn gyntaf oll dywed beth na fu yn amcan ganddo. Nid amcanodd at ddyweyd yr oll a wyddai am yr Iesu. Y mae'r gosodiad hwn, a gadarnheir yn mhellach yn xxi. 25, yn un o bwys yn nglyn a chysoni ei Efengyl gyda'r Efengylau eraill. Nid rhoddi bywgraphiad oedd yr amcan, ond rhoddi Efengyl; nid ysgrifenu fel hanesydd, ond ysgrifenu yr hanes fel Apostol. Yna noda ei fod yn edrych ar yr hyn a ysgrifenodd fel "arwyddion." Dengys y geiriau dilynol mai wrth **arwyddion** y meddyliai nid arwyddion o'r Adgyfodiad, ond y gwyrthiau a'r ddysgeidiaeth a gronicla. Yn y **llyfr hwn**, neu'r Efengyl hon, rhydd ddetholiad o'r gwyrthiau gyflawnwyd. Ychydig ydynt mewn nifer o'u cydmaru a'r hyn a rydd yr Efengylwyr eraill; ond y mae'r ychydig hyny yn llenwi y lle pwysicaf yn hanes yr Iesu. Cyfeiria Ioan at y gwyrthiau fel arwyddion oblegid y gwel ynddynt gymeriad arwyddluniol, fel ag i'w gwneyd yn gyfryngau addysgawl. Gwelir fod llawer iawn o'r gwirioneddau draddododd yr Iesu yn cael eu cysylltu gyda'r arwyddion a gyflawnodd. Yr oedd y rhai diweddaf yma yn addysgawl ynddynt eu hunain, ac yn gweithredu fel "cloch" i alw sylw at ddysgeidiaeth bellach. Gwelir oddiwrth y nodiad terfynol hwn ddarfod i Ioan trwy yr arwyddion hyn amcanu at brofi dau wirionedd mawr. (1) *Mai Iesu yw y Crist.* Ceir y gair Crist gymaint a 514 o weithiau yn y Test. Newydd, a golyga bob amser yr un peth a Messiah, sef "Yr Eneiniog." Yr oedd y lluaws gwrthddrychau eneiniedig a

chysegredig o dan yr Hen Oruchwyliaeth yn cyfeirio sylw y genedl at ddyfodiad yr Eneiniog mawr. Gwelodd Ioan, ac yn ei Efengyl amcanodd ddangos mai'r Iesu o Nazareth ydoedd yr Eneiniog hwnw "ag oedd yn dyfod i'r byd." (2) *Fod y Crist yma yn Fab Duw.* Sonir am yr Iesu yn Fab Duw mewn pedair ystyr, ac mewn dwy o'r ystyron hyny nis gall neb fod yn Fab Duw fel Efe,—yn Fab Duw fel Messiah, ac yn Fab Duw fel y mae yn wir Dduw. Nid ydoedd syniad cyffredin y genedl am y Messiah yn golygu y byddai yn Dduw; ond gwelodd Ioan mai nid un a ddaeth yn Ddwyfol trwy ddod yn Fessiah ydoedd yr Iesu, eithr, mwy o lawer, ei fod yn "unig-genedledig Fab" Duw, ac yn wir Dduw ei hunan. Rhoddodd i lawr ar ddechreu ei Efengyl fel ei argyhoeddiad fod y Gair yn Dduw, ac i Dduw ynddo ef ddyfod yn ddyn. Gan nad beth oedd yn nod gan yr Efengylwyr eraill cyflwyno y Person i'n sylw fel y Duwddyn ydoedd y nod gan Ioan. Darlunia y Person fel Duw yn ymddarostwng i'r natur ddynol, ac fel dyn yn ymdderchafu i'r Orsedd Ddwyfol, ac fel y gwir Dduw a'r gwir ddyn yn y cwbl. Rhydd rai profion o wir *ddyndod* y Person, megis yn iv. 6; xi. 33, 35; xii. 27; xviii. a xix, ac yn hyn y mae yn cyfarfod cyfeiliornad y Docetiaid (1 Ioan iv. 3); ond yr oedd yn amcan arbenig ganddo i roddi profion o Dduwdod y Person, a thrwy hyny wrthweithio dysgeidiaeth a dylanwad yr athronydd Cerinthus. Gwelir, er fod Ioan yn dechreu ei Efengyl trwy gyfeirio at Dduwdod yr Iesu fel ffaith, ei fod ef, fel yr Efengylwyr eraill, yn hollol glir yn ngwyneb cyhuddiad, a ddygir yn mlaen gan "ysgol" arbenig, fod yr Efengylwyr yn dechreu gyda Duwdod yr Iesu, ac yna yn llunio ac yn lliwio pobpeth yn yr hanes fel ag i fod yn gydweddol â'r syniad dechreuol hwn. Na, y mae'r hanes diamheuol gywir a roddant yn un llawn profion o Dduwdod y Person, fel mai nid peth ydyw ei Dduwdod ag y gofynir ini gredu ynddo heb fod seiliau digonol dros hyny, ond peth ydyw ag i'n gorfodi i gredu ynddo gan y seiliau sydd. Gwelir, eto, fod dau amcan pellach mewn golwg gan Ioan yn ei waith yn profi y ddau wirionedd uchod, sef, dwyn y bobl i *gredu*, a thrwy hyny eu dwyn i afael *bywyd*. Pa gredu ydyw hwn? Onid credu yr athrawiaeth am y Person? Ie, ac eto gwelir ei fod yn gredu cadwedigol—yn gredu i fywyd. Y mae credu cadwedigol, fel hyn, yn cynwys credu yr athrawiaeth, ond cynwysa fwy. Nid digon ydyw deall a chredu yr athrawiaeth, y mae'n rhaid pwyso ar Berson y Gwaredwr—ymddiried "yn ei enw Ef." Y mae'r Apostol trwy'r holl Efengyl wedi ei wneyd yn berffaith eglur nad oes bywyd i'w gael trwyddo Ef heb fod yna gredu *am dano* a chredu *yn ei enw.*

---

## PENOD XXI.

Penod ydyw hon, y mae'n amlwg, i'w hystyried fel math o attodiad i'r Efengyl. Y mae'r beirniaid, yn lled gyffredinol, yn cytuno mai Ioan a ysgrifenodd yr oll o honi oddigerth, feallai, y ddwy adnod olaf. Cydmarol amddifad ydyw o'r cyfoeth sydd i'w gael yn ysgrifeniadau Ioan, ac eto medda amryw o'i nodweddion cyfansoddiadol ef. Y mae yr apostol, ar ol iddo orphen yr Efengyl, yn cael fod ganddo ar ei feddwl rai pethau ag y carai eu hychwanegu, ac y mae yn gwneyd penod o

# PENNOD XXI.

GWEDI y pethau hyn, yr Iesu a ymddangosodd drachefn 1
i'w ddisgyblion wrth fôr Tiberias: ac fel hyn yr ym-
ddangosodd. Yr oedd ynghyd Simon Petr, a Thomas yr 2

---

honynt. Nid oes dim o gynwys y benod hon, nac o'r deg adnod ddiweddaf o'r benod flaenorol, i'w gael gan yr Efengylwyr eraill. Dygir ni yma o Jerusalem i Galilea, a chroniclir ymddangosiad yr Iesu i'w ddysgyblion yn Galilea. Y mae rhai o wrthwynebwyr Cristionogaeth wedi amcanu yn egniol at brofi na ddarfu i'r Iesu, ar ol adgyfodi, ddim ymddangos i'r dysgyblion yn Judea o gwbl. Nodant fod Matt. xxviii. 7 a Marc xvi. 7 yn dangos mai yn Galilea yr oedd yr ymddangosiadau i'w disgwyl, a haerant fod ymddangosiadau i'r dysgyblion yn Jerusalem a Judea yn beth anmhosibl, oblegid fod y rhan fwyaf o honynt wedi ffoi i Galilea yn syth o Gethsemane, a Phetr wedi eu dilyn mor fuan ag y cafodd ei hun, yn y llys, wedi gwadu ei Arglwydd. Anmhriodol hollol ydyw gosod y fath bwys ar Efengyl Matthew gan anwybyddu y ffaith fod Efengyl Ioan, ar yr hon y dibynwn yn benaf am y digwyddiadau yn Judea, yn cynwys yn yr 20fed benod yr ymddangosiadau a gymerasant le yno, a bod Efengyl Luc, yr hon nad yw yn sôn am ddim ymddangosiadau ond y rhai yn Judea, yn cadarnhau Efengyl Ioan. Teimlir rhyw gymaint o anhawsder i feddwl fod yr ymddangosiadau wedi cymeryd lle mewn dau gylch, can belled oddiwrth eu gilydd, yn ystod yr amser byr rhwng yr Adgyfodiad a'r Esgyniad. Ond eto yr ydoedd chwech wythnos yn ddigon i hyny fod, a phriodoldeb neillduol mewn bod yr ymddangosiadau yn cymeryd lle yn Jerusalem, lle y bu'r Iesu farw, ac yn Galilea, hen gylch ei fywyd gweinidogaethol.

CRIST YN YMDDANGOS I'R DYSGYBLION YN GALILEA, A'R HELFA BYSGOD. ADN. 1—14.

**ADN. 1. Wedi y pethau hyn**. Nid ydym yma, mwy nag yn vi. 1 a vii. 1, i edrych am gysylltiad agos. **A ymddangosodd.** Y Cyf. Diw. yw "a amlygodd ei hun." Y mae hwn yn un o hoff eiriau Ioan; gwel yn ii. 11, vii. 4, xvii. 6, ac yn aml yn ei epistolau. **Ac fel hyn.** Gwelir mai nid dangos ei hun ar ol adgyfodi a feddylir, ond amlygu rhyw wahaniaeth ag oedd ynddo oblegid hyny. Yr oedd yr ymddangosiad yn ddatguddiad.

**ADN. 2.** Y mae'n debyg mai pump o ddysgyblion neillduol yr Iesu oedd yn bresenol, ac mai dau o'r dysgyblion cyffredinol oedd y lleill. Sylwer ar Ioan, yn ol ei arfer, yn cyfeirio ato ei hun a'i frawd fel "meibion Zebedeus." Y mae'n deilwng o sylw nad oedd Thomas yn absenol o'r cynulliad hwn. Bu y golled a'r blinder a gafodd drwy yr esgeulusdra blaenorol yn wers effeithiol iddo. Yn hytrach ni a'i gwelwn ef y pryd hyn wedi dod yn fwy amlwg nag o'r blaen. Yn y gwahanol restrau a

hwn a elwir Didymus, a Nathanäel o Cana yn Galilea, a
3 *meibion* Zebedëus, a dau eraill o'i ddisgyblion ef. Dywed-
odd Simon Petr wrthynt, Yr wyf fi yn myned i bysgotta.
Dywedasant wrtho, Yr ydym ninnau hefyd yn dyfod gyd â
thi. A hwy a aethant allan, ac a ddringasant i long yn y
4 man: a'r nos honno ni ddaliasant ddim. A phan ddaeth y
bore weithian, safodd yr Iesu ar y làn: eithr y disgyblion
5 ni wyddent mai yr Iesu ydoedd. Yna yr Iesu a ddywedodd
wrthynt, *O* blant, a oes gennych ddim bwyd? Hwythau a
6 attebasant iddo, Nac oes. Yntau a ddywedodd wrthynt,

---

geir yn y Test. Newydd o'r dysgyblion arferir dodi Thomas tua chanol y rhestr, ond yn y fan hon dodir ef yn nesaf at Petr, yr hwn bob amser a enwir gyntaf.

**ADN. 3. I bysgota.** A ydym i ganfod yn ngwaith y dysgyblion yn myned i bysgota ryw gymaint o duedd i ail-gydio yn eu hen alwedigaeth? Byddai hyn, wrth gwrs, yn golygu diffyg ffydd yn yr Iesu a siomedigaeth yn nglyn âg ef. Daethai teimladau o'r fath i'r golwg mor ddiweddar yn eu hanes (cyd. Marc xvi. 14, &c.), fel nas gellir bod yn sicr a oeddynt, hyd yn nod erbyn hyn, wedi eu dwyn i lynu yn ddi-ildio a chadarn wrtho Ef ai achos er pobpeth. Ond a chaniatau eu bod, ar ol derbyn o honynt y commissiwn a'r cwbl, yn sylweddoli mai pysgotwyr dynion oeddynt hwy i fod tra y byddent byw, eto, eithaf naturiol ynddynt, ar ol y tywydd garw yr aethant trwyddo, a phan yn aros ar lan yr hen lŷn am ymddangosiad addawedig eu Harglwydd, ydoedd defnyddio ychydig o'r amser i dreio eu llaw gyda'r hen grefft. Y mae aml un a gafodd ei fagu ar fferm, ar ol bod am flynyddoedd meithion yn ddyeithr i waith fferm, wedi derbyn mwynhad mewn cydio am ychydig funudau yn yr aradr neu y bladur. **I long.** *I'r cwch* ydyw y Cyf. Diw., yr hyn a bâr i ni dybied mai cwch neillduol ag yr oedd ganddynt hawl ynddo ydoedd. Y mae tybiaeth yn bod i Petr barhau i ddal meddiant o un peth, sef cwch, ac mai y cwch hwnw fyddai gan yr Iesu a'i ddysgyblion pan ar Fôr Galilea. **Ni ddaliasant ddim.** Bendith yn ddiau ydoedd hyn—*a blessing in disguise.* Y mae'r gair "ddaliasant" yn digwydd yn aml yn yr Efengyl hon (vii. 30, 32, 44; viii. 20; x. 39; xi. 57).

**ADN. 4. Y bore.** Dengys y Cyf. Diw. pa mor foreu ydoedd—*pan yr oedd weithian yn tori.*

**ADN. 5. O blant.** Gwell ydyw heb yr "O." Y gair a ddefnyddir yw'r gair naturiol i'w ddefnyddio i gyfarch cyfeillion, neu gymdeithion, a gellir ei gyfieithu yn *fechgyn.* Nid yr un yw a'r gair yn xiii. 33. Gair ydyw hwnw yn gosod allan anwyldeb a thynerwch tuag at rai bach ac eiddil, ac yn yr ystyr hono y defnyddir ef gan Ioan yn y cyntaf o'i Epistolau; ond gair yn meddu ystyr hollol wahanol sydd yn y fan hon. **Bwyd.** Nid ydyw y gair hwn i'w gael yn unman arall. Ystyria Plummer mai yr hyn a olyga ydyw rhywbeth i'w fwyta gyda bara, ac os felly naturiol fyddai rhoddi fel ystyr i ofyniad yr Iesu—a ydych wedi cael pysgod?

Bwriwch y rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch.
Hwy a fwriasant gan hynny ; ac ni allent bellach ei thynnu,
gan y llïaws pysgod. Am hynny y disgybl hwnnw yr oedd 7
yr Iesu yn ei garu a ddywedodd wrth Petr, Yr Arglwydd
yw. Yna Simon Petr, pan glybu mai yr Arglwydd oedd,
a wregysodd *ei* amwisg, (canys noeth oedd efe,) ac a'i
bwriodd ei hun i'r môr. Eithr y disgyblion eraill a 8
ddaethant mewn llong (oblegid nid oeddynt bell oddi wrth
dir, ond megis dau càn cufydd,) dan lusgo y rhwyd â'r
pysgod. A chyn gynted ag y daethant i dir, hwy a welent 9
dân o farwor wedi ei osod, a physgod wedi eu dodi arno, a

---

**ADN. 6. I'r tu deheu.** Yr oedd y rhwyd ganddynt ar yr ochr chwith i'r cwch. Yn awr pa wahaniaeth, os oedd pysgod yn y lle, a wnaethai ei bwrw i ochr arall y cwch? Os nad oedd y cyfarwyddyd yn cydredeg gyda'u profiad hwy fel pysgotwyr bu yn foddion effeithiol i brofi eu ffydd. **Fwriasant gan hyny.** Nid ymddengys fod y "gan hyny" yn profi y deallent pwy oedd yn eu cyfarwyddo. Yn eu cyfyngder y maent yn barod i weithredu yn ol unrhyw gyfarwyddyd. **Ni allent ei thynu.** Ar gyfrif y pwysau o bysgod oedd yn y rhwyd. Dyma felly ddalfa wyrthiol, fel yr un yn Luc v. 4—6, a dyma adgynyrchu a chadarnhau yr argraphiadau a dderbyniwyd y pryd hyny.

**ADN. 7. Am hyny.** Nid cyn gweled o honynt y wyrth y daethant i adnabod y Gwr ag oedd draw ar y lan. Y cyntaf i'w adnabod ydoedd Ioan. Efe bob amser ydoedd y cyflymaf ei welediad ysbrydol. **Yna Simon Petr.** Os Ioan oedd y cyntaf i adnabod, Petr oedd y cyntaf i weithredu. Mor nodweddiadol ydyw hyn eto o'r ddau ddysgybl. Gwelir na fu i'r profiad gafodd Petr ar amgylchiad blaenorol (Matt. xiv. 28—31), ei rwystro i wneyd un cynyg arall i fyned drwy'r dwfr at yr Iesu. **Noeth oedd.** Yr hyn sydd i'w ddeall yw ei fod yn gydmarol noeth. Er mwyn gallu ymdrechu gyda'r pysgota yr oedd wedi dodi ei amwisg, neu ei fantell, y naill du, gan adael y dillad isaf am dano (cyd. 1 Sam. xviii. 4 a xix. 24).

**ADN. 8. Ddaethant mewn llong.** Gwell yn ddiau fel yn y Cyf. Diw., "ddaethant yn y cwch bach." Er mai nid yr un gair sydd yn y fan hon ag yn adn. 3 a 6, eto nis gallwn feddwl eu bod wedi newid y cwch oedd ganddynt am un llai. Yr un cwch oedd ganddynt o hyd, ond ei fod yn awr yn cael ei alw yn fach er dynodi ei fod yn rhy fach ar gyfer y ddalfa fawr. **Dau can cufydd.** Golyga hyn tua chan' llath, ac yr oedd mwy na hyny o bellder rhwng yr Iesu a hwy. **Dan lusgo y rhwyd** a'r **pysgod**. Gan nas gallent dynu y rhwyd i'r cwch, ac nad oedd digon o le yn y cwch i'r pysgod, nid oedd dim i'w wneyd ond rhwyfo tua'r lan "dan lusgo y rhwyd yn llawn o bysgod" ar eu holau.

**ADN. 9. Y daethant i dir.** Gwell ydyw "y daethant allan ar y tir." Yr oeddynt eisoes wedi sicrhau y rhwyd wrth y cwch, ac ar ol iddynt hefyd sicrhau y cwch wrth y lan, y maent yn ddiymdroi yn myned at yr Iesu. **Dân o farwor.** Er eu syndod yr oedd ger eu bron dân o olos-

10 bara. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Dygwch o'r pysgod
11 a ddaliasoch yr awrhon. Simon Petr a esgynodd, ac *a*
dynnodd y rhwyd i dir, yn llawn o bysgod mawrion, cant
a thri ar ddeg a deugain : ac er bod cymmaint, ni thorrodd
12 y rhwyd. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Deuwch,
ciniawwch. Eithr ni feiddiai neb o'r disgyblion ofyn iddo,
Pwy wyt ti? am eu bod yn gwybod mai yr Arglwydd oedd.

---

goed. (Gwel xviii. 18). **A physgod.** Yn ol ymyl y ddalen yn y Cyf. Diw., *pysgodyn* ac nid pysgod oedd wedi ei ddodi ar y tân, a *thorth* oedd wrth ymyl y tân, a hyny a fuasai cyfieithiad llythyrenol y geiriau. Nid oes genym esboniad ar y modd y daeth y tân, y pysgodyn, a'r dorth i'r fan—dim ond gofyn ai nid yn wyrthiol y daethant?

**ADN. 10. A ddaliasoch.** Yn garedig priodola yr Iesu y weithred iddynt hwy, y rhai eu hunain "ni ddaliasant ddim." Y mae addysgiadau gwerthfawr i'w derbyn oddi wrth waith yr Iesu yn ceisio gan ei ddysgyblion ddwyn yr eiddynt hwy at ei eiddo Ef, dwyn yr hyn a ddaliasant o dan ei gyfarwyddyd Ef at yr hyn a barotowyd ganddo Ef ei hun. Yr ydym yn hyn, o bosibl, i weled yr undeb, y cymundeb a'r cydgyfranogiad sydd i fodoli rhyngddo Ef a'i bobl.

**ADN. 11. Simon Petr.** Wele Petr eto yn blaenori. Diau fod eraill yn ei gynorthwyo i gario allan orchymyn yr Iesu. **A esgynodd.** Yr ydym i feddwl am y cwch yn awr mewn rhan ar y lan, a'r rhwyd lawn o bysgod y tu ol iddo yn y dwfr, ac felly er cael y rhwyd a'i chynwys i'r lan yr oedd yn rhaid esgyn i fyny i'r cwch, ac yna, o'r cwch, ei thynu i'r lan. Rhydd Ioan yr hanes gyda manylder llygad-dyst—yr oedd y rhwyd yn llawn, y pysgod yn fawrion, 153 o honynt, ac eto ni thorodd y rhwyd. Y mae llawer wedi ei ysgrifenu yn arbenig gan y tadau ar y nifer a nodir, gan dybied fod iddo ryw ystyr gyfriniol ac arwyddocaol. Naturiol ydyw cydmaru y ddalfa hon ar ddiwedd cysylltiad daearol yr Iesu â'i ddysgyblion gyda'r ddalfa gyffelyb ar ddechreu y cysylltiad hwnw (Luc v. 1—11).

**ADN. 12. Ciniawch.** Y Cyf. Diw. ydyw—*torwch ar eich ympryd.* (Cyd. y Saes. *break-fast*, tori ympryd). Yr ymborth boreuol sef yr *ariston*, a feddylir, ac nid yr un prydnawnol sef y *deipnon*, yr hwn a elwid yn giniaw. Y cyntaf, ac nid yr ail, sydd hefyd yn Matt. xxii. 4, lle y dynodir y breewest priodasol. Y mae sôn am giniaw yn y naill amgylchiad a'r llall yn gamarweiniol; am y boreufwyd yr ydym i feddwl yn y ddau le. Yn Luc xiv. 12, ceir y ddau air gyda'u gilydd—*ariston* a *deipnon*. **Ofyn.** Y mae y gair *exetasai* yn y fan hon yn golygu ffeindio allan trwy ofynion ac atebion, mewn gair, trwy groesholiad (*cross-examination*). **Pwy wyt ti.** Temtid hwy i ofyn cwestiynau iddo, nid am eu bod yn amheu ai eu Harglwydd ydoedd, ond am eu bod yn gweled cyfnewidiadau ynddo, ag oeddynt yn eu gwneyd yn gywrain-awyddus i gael esboniad arnynt; ac eto **ni feiddiai neb** ofyn, a hyny, yn ddiau, oblegid y gwyleidd-dra a'r ofn a'u meddiannent. Cawn yn y fan hon un o'r lluaws engreiphtiau o Ioan yn rhoddi mynegiant i deimladau mwyaf mewnol y dysgyblion (ii. 22; iv. 27; a xx. 20).

Yna y daeth yr Iesu, ac a gymmerth fara, ac a'*i* rhoddes 13
iddynt a'r pysgod yr un modd. Y drydedd waith hon yn 14
awr yr ymddangosodd yr Iesu i'w ddisgyblion, wedi iddo
gyfodi o feirw.
Yna gwedi iddynt giniawa, yr Iesu a ddywedodd wrth 15
Simon Petr, Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn

---

**ADN. 13.** Yn yr adnod hon cawn olwg ar y dysgyblion yn ymgadw yn ol oddiwrth yr Arglwydd a'r ymborth nes y mae Ef yn dwyn yr ymborth atynt hwy. Y mae'r fanod i fod o flaen *bara* ac o flaen *pysgod*, a thrwy hyny gwneir hwy i gyfeirio yn ol at adn. 9. **Rhoddes iddynt.** Daw yr Iesu yn mlaen, nid fel un yn cymeryd o'r ymborth ond fel un yn ei barotoi ac yn ei roddi i'w ddilynwyr.

**ADN. 14.** Y Cyf. Diw. o'r adnod ydyw—**Hon weithian yw y drydedd waith yr amlygwyd yr Iesu i'w ddisgyblion wedi iddo gyfodi oddiwrth y meirw.** Sut y dywedir y drydedd waith tra yr oedd chwech o ymddangosiadau wedi cymeryd lle, a thri o honynt wedi eu croniclo gan Ioan ei hun? Nid oes yma anhawsder, oblegid gofynir i ni gysylltu "drydedd waith" gydag "i'w ddysgyblion," ac fe welir mai hon oedd y drydedd waith iddo ymddangos iddynt hwy fel cwmni gyda'u gilydd. Sylwer ar y darlleniad "yr amlygwyd," a gweler y sylw ar adn. 1.

O gydmaru yr holl gyfeiriadau yn y Test. Newydd gwelir fod yr "ymddangosiadau" yn unarddeg mewn nifer. Cymerodd y pump cyntaf le yn ystod diwrnod yr Adgyfodiad, a chymerodd y chwechfed le yn mhen wythnos ar ol hyny. Y seithfed, sef yr un yn y fan hon, a'r wythfed, sef yr un yn 1 Cor. xv. 6 a Matt. xxviii. 16—20, ydoedd y rhai gymerasant le yn Galilea. Chwech o honynt y mae Paul yn eu croniclo, a thybia Dr. Sanday mai yr hyn sydd yn cyfrif am ei restr ydyw mai nodi y mae y rhai a dderbyniasant ymddangosiadau, ac a ddaethant mewn canlyniad i hyny i bregethu yr Adgyfodiad (Act. iv. 33); ac yn y goleuni yna yr ydym i ddeall na ddaeth Mair, na'r gwragedd eraill na'r ddau ddysgybl "i bregethu" yr adgyfodiad. Yn yr un goleuni felly y mae cyfrif am nad yw Paul yn rhoddi yr amrywiol ymddangosiadau i'r dysgyblion; ond a ellir fel hyn gyfrif am yr arbenigrwydd a rydd yr Apostol ar yr ymddangosiad i'r "pum cant brodyr ar unwaith"? Gellir rhoddi amryw atebion boddhaol i'r cwestiwn—"paham nad ymddangosodd yr Iesu i neb ond i'w ddysgyblion a'i ddilynwyr," megis nad ydoedd bellach yn barod i drafod dim materion newydd, ac nad oedd am gyffroi o'r newydd gynddaredd y gelynion, yr hyn a ddisgynasai ar ei ddilynwyr. Gellir hefyd ychwanegu atebiad Westcott (*Gospel of the Resurrection*) i'r cwestiwn—"Pe buasai yn ymddangos i anghredinwyr fel dyn ni buasent yn canfod y dyn gogoneddedig, a phe buasai yn ymddangos iddynt fel dyn gogoneddedig drachefn ni buasent yn canfod y dyn."

### YR IESU A PHETR. ADN. 15—19.

**ADN. 15. Yna wedi iddynt giniawa.** Ar ol iddynt *frecwesta* y mae'r Arglwydd mewn modd neillduol yn troi at Petr, ac yn ei ddodi dan fath o groesholiad. **Simon mab Jonah.** Yn ol y llawysgrifau goreu Simon

fwy na'r rhai hyn? Dywedodd yntau wrtho, Ydwyf, Arglwydd; ti a wyddost fy mod yn dy garu di. Dywedodd
16 yntau wrtho, Portha fy ŵyn. Efe a ddywedodd wrtho
drachefn yr ail waith, Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i? Dywedodd yntau wrtho, Ydwyf, Arglwydd; ti

---

mab Ioan ydoedd yr enw ddefnyddiodd yr Iesu yn ystod yr ymddiddan hwn. Felly y rhoddir ef yn y Cyf. Diw. Felly y dylai fod yn i. 42. Ond yn Matt. xvi. 17 yr enw ar y tad ydyw Jonah neu Jonas, ac nid Ioan, a'r ffurf Gymreig ar yr enw Simon-bar-Jonas a roddir arno yn yr adnod hono fyddai Simon-ap-Jonah. Y mae Dr. Chase yn Ngeiriadur Hastings o'r farn fod yr enw dwbl o Jonah-Ioan yn perthyn yn briodol i dad Simon, ac os felly gellid galw y mab gyda chyffelyb briodoldeb yn fab Jonah ac yn fab Ioan (gwel i. 42).

**Fy ngharu i.** Yn yr adnod hon a'r ddwy ddilynol y mae dau air gwahanol yn cael eu cyfieithu yn garu. Nid oes yn y Saesonaeg ddau air cyfatebol iddynt, ond y mae yn y Gymraeg. Gwnaiff caru a hoffi y tro i ddynodi y ddau air sydd yma, sef *agapaō* a *phileō,* ac fel hyn y defnyddir hwy yn y tri gofyniad a'r tri atebiad :—

1. A wyt ti yn fy ngharu i. ...... Ti a wyddost fy mod yn dy hoffi.
2. A wyt ti yn fy ngharu i. ... Ti a wyddost fy mod yn dy hoffi.
3. A wyt ti yn fy hoffi i. ...... Ti a wyddost fy mod yn dy hoffi.

Y ddau air yn cyfateb i *agapâo* a *phileō* yn y *Vulgate* ydyw *diligo* ac *amo* (*amo* a *diligo*, meddai Bengel). Y mae y diweddaf, sef yr hoffi, yn golygu y teimlad o anwyldeb a serchogrwydd naturiol, ond y mae y cyntaf, sef y caru (*agapaô*), yn golygu math uwch a phurach o gariad,—y cariad ag sydd, fel y dangosodd yr Iesu, yn ffynhonell ac yn hanfod y bywyd crefyddol (xiii. 34, xiv. 15, &c.). Hwn yw y cariad a ddesgrifir yn ei ffrwythau gan Paul yn 1 Cor. xiii., a hwn yw y cariad ag y dywed Archesgob Trench am dano—ei fod wedi ei eni yn mynwes y Grefydd Gristionogol, ac nad oes sôn am dano yn llenyddiaeth y byd y tu allan i gylch Cristionogaeth. Petrusai Petr ddefnyddio gair yr Iesu, ac o ganlyniad—"gan na allasai Efe gael Petr i fyny i'w lefel ei hun disgyna Efe i lefel Petr—defnyddia air Petr." **Yn fwy na'r rhai hyn**. Eglurhad poblogaidd ar y geiriau ydyw mai yn fwy na'r cwch a'r rhwydau a feddylir, ond nid yw hynyna yn olygiad naturiol pan nad oes lle i farnu fod Petr yn coleddu y duedd leiaf i lynu wrth y pethau hyn yn hytrach nag wrth yr Iesu. Yr ystyr, yn ddiau, yw *yn fwy nag y mae y rhai hyn yn fy ngharu.* Yr oedd Petr ar amgylchiadau blaenorol wedi dyweyd wrtho—"mi a roddaf fy einioes drosot," a "pe rhwystrid pawb o'th blegid di eto ni'm rhwystrir i byth." Cyn ei godwm yr oedd trwy ei broffes o ymlyniad digymar cystal ag wedi hòni ei fod yn caru'r Iesu yn fwy nag y gwnai yr un o'r lleill, ac y mae'r Iesu yn awyddus am gael mynegiad o'i deimlad presenol. Gwelir fod y geiriau hyn yn cael ei gadael allan o'r cwestiwn y ddau dro nesaf y gofynir ef. Yr oedd cyfeirio unwaith at y gorphenol poenus yn llawn digon i deimladau Petr, ac yn llawn digon gan yr Iesu ei wneyd.

**ADN. 16.** Y mae gofyniad yr Iesu, heb y frawddeg ddiweddaf, ac atebiad Petr yr un fath y tro hwn a'r tro blaenorol. Nid peth bach i

a wyddost fy mod yn dy garu di. Dywedodd yntau wrtho,
Bugeilia fy nefaid. Efe a ddywedodd y drydedd waith, 17

---

Petr ydoedd cael ei Arglwydd yn ail ofyn yr un cwestiwn iddo, ac yntau heb ond yr un atebiad i'w roddi yn ol. Gwelir gwahaniaeth, modd bynag, yn y cyfarwyddyd a rydd yr Iesu ar ol y ddau atebiad.

**ADN. 17.** Fel y sylwyd newidia yr Iesu ei gwestiwn y drydedd waith, a gofyna—A wyt ti yn fy hoffi? Y mae atebiad Petr yr un ag ar y ddau dro blaenorol. Y mae'r cyfarwyddyd a rydd yr Iesu y tro hwn eto yn un gwahanol. Ar ol atebiad cyntaf Petr dywed yr Iesu wrtho—Portha fy wyn; ar ol yr ail—Bugeilia fy nefaid; ac ar ol hwn—Portha fy nefaid. Y mae dau gwestiwn yn codi yn y fan hon. (1) A yw y gwrthrychau gyflwynir i ofal y dysgybl i'w gwahaniaethu? (2) A yw y dyledswyddau ofynir oddiwrtho i'w gwahaniaethu? Y mae'n ddiamheuol fod y gwrthrychau yn adn. 15 i'w gwahaniaethu oddiwrth y rhai yn adn. 16 a 17. Yr *wyn* sydd yn cael y sylw cyntaf. Y mae'n wir anhawdd penderfynu a yw y "defaid" yn adn. 16 i'w gwahaniaethu oddiwrth y defaid yn adn. 17. Yn gyntaf oll ni a gawn mai yr un gair, sef *probata* sydd yn y *Textus Receptus* yn y ddwy adnod. Ond y mae rhai o'r priflawysgrifau yn wahanol. Yn ol A B C *probatia* sydd i fod yn adn. 17, ac yn ol B C *probatia* sydd i fod yn adn. 16 hefyd. Y mae Tischendorf—darganfyddydd y Llawysgrif Sinaitaidd, yn dilyn B C mewn rhoddi *probatia* yn y ddwy adnod. Ceir hefyd mai'r duedd gydag amryw o'r prif feirniaid diweddaf ydyw rhoddi yr un gair yn y ddwy adnod, naill a'i *probata* neu *probatia*. Ond y mae eraill yn dewis yn hytrach ddefnyddio y ddau air. Tybia y drafodaeth, wrth gwrs, fod gwahaniaeth rhwng y ddau air, a'r gwahaniaeth a wneir yn gyffredin yw fod *probata* yn golygu defaid, a *probatia*, ddefaid bach. Y mae Meyer o'r farn mai am ddefaid y sonir yn adn. 16, ac am ddefaid bach yn adn. 17. Ar y llaw arall y mae Bellarmine yn cymeryd adn. 16 i gyfeirio at ddefaid bach neu ieuangc, ac adn. 17 i gyfeirio at ddefaid mawr, neu hen ddefaid. Gydag ef cytuna Stier. Y mae Bengel, drachefn, er nad yn darllen *probatia* yn adn. 16 yn cytuno a Bellarmine a Stier fod y tair adnod hyn yn dwyn ger ein bron fath o raddeb yn y gwrthrychau—graddeb oblegid gwahaniaeth oedran a chyrhaeddiadau. Yr un modd y golyga Ambrose yr hwn a rydd yn y tair adnod fel geiriau Lladin cyfatebol—*agnos—oviculas—oves*. Dyma y raddeb felly: ŵyn—defaid bach—defaid. Cyfeirir at raddeb gyfochrog â hon ag sydd i'w chael yn Ioan ii. 13: "rai bychain—wŷr ieuaingc—dadau." Yn gyffelyb y sylwai Dr. Cynddylan Jones yn y Cyngor, 1899: "Bernir mai y gair a ddefnyddiodd yr Iesu yma (adn. 16) yw y defaid bach (*probatia*)—defaid heb gyrhaedd eu llawn dŵf, ac felly yn gyfystyr ag ŵyn mawr. Portha fy ŵyn bach; bugeilia fy ŵyn mawr; portha fy nefaid—fy nefaid mawr."

Yn awr ni a sylwn ar yr ail ymholiad—y dyledswyddau a ofynid oddiwrtho tuag atynt. Gwelir fod y cyfieithiad Cymraeg arferol yn y fan hon yn rhagorach na'r un Saesonaeg, ac yn gwahaniaethu lle nad ydyw hwnw yn gwneyd. Yr un gair a ddefnyddir yn adn. 15 ac adn. 17 sef portha *(bosce)* ond gair gwahanol a ddefnyddir yn adn. 16, sef bugeilia *(poimaine)*. Ceir y gair diweddaf yn cael ei ddefnyddio am

Simon *mab* Jona, a wyt ti yn fy ngharu i? Petr a dristâodd
am iddo ddywedyd wrtho y drydedd waith, A wyt ti yn fy
ngharu i? Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, ti a
wyddost bob peth; ti a wyddost fy mod i yn dy garu di.
18 Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid. Yn wir,

---

fugeilio naturiol yn Luc xvii. 7 a 1 Cor. ix. 7, ac am fugeilio ysbrydol yn Matt. ii. 6; Act. xx. 28; 1 Petr v. 2. Fe allai ein bod i ddeall gyda Bengel mai rhan o'r bugeilio yw y porthi; ond pa fodd bynag y mae'r bugeilio a'r porthi i'w gwahaniaethu. Yr anghen arbenig yn nglŷn â'r defaid ieuaingc neu'r ŵyn mawr cryfion ydyw eu cadw rhag crwydro, eu harwain a'u llywodraethu. Nid hwnyna yw yr anghen neillduol yn nglŷn â'r ŵyn bach, ac yn nglŷn â'r hen ddefaid sydd wedi eu cyfarwyddo. Nis gall y rhai cyntaf grwydro, ac ni wna y rhai diweddaf. Yr hyn sydd eisieu ei wneyd gyda'r ddau ddosbarth yma yw eu porthi—y naill gyda "didwyll laeth y gair" a'r lleill gyda "bwyd cryf." Ni a ddifynwn eto o Araeth Dr. Jones—"Dyma waith Petr fel cynrychiolydd gweinidogion yr Eglwys wedi ei dori allan gan y Meistr: maethu yr ŵyn bach, edrych ar ol yr ŵyn mawr a phorthi yr hen ddefaid. Mŷn llawer mai wrth y dosbarth hwn yn yr Efengyl (fel yn yr Epistol) y golygir: rhai newydd eu dychwelyd at grefydd, rhai wedi cynyddu rhyw gymaint yn y bywyd newydd, a rhai wedi cyrhaedd addfedrwydd mewn profiad o, a dirnadaeth am, bethau ysbrydol. Nid ydym am gau allan yn hollol yr esboniad yna; eto teimlwn mai mwy rhesymol yw cymeryd y geiriau yn eu hystyr naturiol—maethu plant yr eglwys, gofalu am bobl ieuaingc yr eglwys, a phorthi y bobl mewn oed â gwybodaeth ac â deall." **Y drydedd waith.** Nis gellir meddwl fod y tyner a'r caredig Iesu yn gofyn deirgwaith heb fod gwir anghen am hyny. Naturiol iawn ydyw cysylltu y tair cyffes dynwyd oddiwrth Petr yn y fan hon gyda'r tri gwadiad dynwyd oddiwrtho yn y llys. Dywed Awstin "Y mae y gyffes driphlyg yn dilyn y gwadiad triphlyg, fel na byddai i'w dafod ymddangos yn llai parod yn gwasanaethu cariad nag a fu yn gwasanaethu ofn." Yr oedd anghen o fewn cylch yr Apostolion am y tri atebiad yma er mwyn dileu effeithiau y tri gwadiad, ac fel y byddai i Petr gymeryd ei le fel blaenor y cwmni, ac fel y byddai iddo, ar ol cael ei wir droi ei hun, gadarnhau y brodyr. **A dristaodd.** Paham? Nid yn unig oblegid y gofyn deirgwaith ynddo'i hun, ond oblegid i'r Iesu y tro hwn newid y gair *caru* am y gair *hoffi*. Onid caredigrwydd ynddo ydoedd cyfarfod Petr trwy ddefnyddio ei air ef? Ie, ac eto feallai iddo ef ei deimlo fel arall. **Ti a wyddost bob peth, ti a wyddost fy mod.** Nid ydyw y Cymraeg na'r Saesonaeg yn gwahaniaethu rhwng y ddau *wyddost* yn y fan hon. Y mae'r Cyf. Diw. yn gwneyd. Y mae dau air gwahanol yn cael eu defnyddio yma, ac y mae gwahaniaeth pwysig rhyngddynt—*oidas* a *ginoskeis*. Yn y frawddeg gyntaf—"ti a wyddost bob peth" defnyddia Petr y cyntaf o'r ddau air, a thrwy hyn cydnebydd fod yr Iesu yn meddu, ynddo'i hun, ac ar wahan i bob help oddiallan, wybodaeth oruwchnaturiol ag oedd yn y mater hwn, fel yn mhob peth arall, yn hollol gywir, ac yn berffaith gyflawn. Yr un gair a ddefnyddiodd hefyd yn adn. 15 a 16. Ond yn yr ail frawddeg—"ti a wyddost fy mod" defnyddia y gair arall, sef gair

yn wir, meddaf i ti, Pan oeddit ieuangc, ti a'th wregysaist
dy hun, ac a rodiaist lle y mynnaist: eithr pan elech yn
hen, ti a estyni dy ddwylaw, ac arall a'th wregysa, ac a'th
arwain lle ni fynnit. A hyn a ddywedodd efe, gan arwyddo 19

---

yn gosod allan wybodaeth wedi ei derbyn trwy hyfforddiant, sylwadaeth a phrofiad. Dewisa a defnyddia y gair hwn er mwyn gosod allan fod yr Iesu yn edrych trwyddo, ac yn ei ddarllen—*ti a ganfyddi fy mod, &c.* Yn y tri atebiad y mae Petr yn pwysleisio y gair *ti*, fel pe dywedai—os yw eraill yn amheu gwirioneddolrwydd fy ymlyniad wrthyt yr wyt *ti* yn gwybod yn amgen. A dyweyd y lleiaf y mae yn y fan hon beth tebyg iawn i apêl at hollwybodolrwydd yr Iesu. Gwelir nad ydyw Petr yn ei drydydd atebiad yn defnyddio y gair *Ydwyf*, a thybir y ceir golwg arno erbyn hyn yn y llwch, yn deimladwy iawn o'i waeledd a'i wendid, ac yn llawn hunan-ffieiddiad, gan drosglwyddo ei hunan i arweiniad a nodded yr Iesu.

**ADN. 18. Yn wir, yn wir.** Dyma'r tro diweddaf i'r Iesu ddefnyddio y gair neillduol hwn o'i eiddo. **Pan oeddit yn ieuanc.** Gwell yw *pan oeddit yn iau*—gwr canol oed ydoedd Petr ar y pryd, a chamgymeriad ydyw ei ddarlunio yn hen wr penwyn. **Ti a'th wregysaist.** Prin mai at adn. 7, fel y tybia Dr. Dods, y mae'r cyfeiriad. Cyfeirir yn hytrach at dymhor cynarach yn ei fywyd, ac at yr yni a'r annibyniaeth a'i nodweddai pan yn wr cydmarol ieuanc; a gwneir y cyfeiriad yma er ei gyferbynu gyda'r "arall a'th wregysa" sydd yn dilyn. **Ti a estyni dy ddwylaw.** Y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu er ddangos fod y geiriau hyn yn cynwys prophwydoliaeth am farwolaeth Petr trwy groeshoeliad, ac mai eu hystyr ydyw "ti a estyni dy ddwylaw ar y groes." Dengys yr adnod ddilynol ddarfod i'r Efengylwr ddeall geiriau'r Iesu fel prophwydoliaeth am farwolaeth Petr, a hono o leiaf yn ferthyrdod creulawn, ond a ddarfu iddo eu deall fel desgrifiad o groeshoeliad sydd beth arall. Os ydym i gymeryd "ti a estyni dy ddwylaw" fel desgrifiad o groeshoeliad Petr, ymddengys yn annaturiol hollol, ar ol hynyna, i ddyweyd "arall a'th wregysa, ac a'th arwain lle ni fynit." Mwy naturiol yw deall y geiriau fel yn dysgu y byddai i Petr, wedi iddo fyned yn oedranus a gwan, pan yn cael ei ddal gan ei elynion, estyn allan ei ddwylaw at rywun am gymorth, neu eu hestyn allan tra y byddai rhywun yn ei rwymo fel carcharor fel ag i'w arwain neu ei "gario" ymaith i'r dienyddle. Y mae tystiolaeth Tertullian ac eraill genym ddarfod i Petr gyfarfod â'i ferthyrdod yn Rhufain, ac y mae amryw bethau ynglyn â hyny yn cael eu dangos yn y ddinas hono yn awr. **Lle ni fynit.** Nid ydyw hyn yn golygu mwy na'r teimlad o ddychryn sydd yn naturiol pan wyneb yn wyneb âg angeu creulawn. Nis gellir meddwl am dano fel dangosiad y byddai yn Petr anmharodrwydd i roddi ei fywyd i lawr dros ei Arglwydd. Y mae'n wir fod traddodiad am dano yn petruso gwynebu yr angeu creulawn oedd o'i flaen hyd nes y darfu i'r Crist gogoneddedig ymddangos iddo, a dywedyd wrtho ei fod Ef yn myned i'r groes eilwaith; ond y mae sylw arall am dano, sef eiddo Origen,—ddarfod iddo pan yn cael ei groeshoelio ddeisyfu cael ei groeshoelio a'i ben i waered. Fel hyn fe welir ddarfod i eiriau cryfion **Petr yn xiii. 37 wedi'r cwbl ddod i ben.**

trwy ba fath angau y gogoneddai efe Dduw. Ac wedi iddo
ddywedyd hyn, efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi.
20 A Phetr a drodd, ac a welodd y disgybl yr oedd yr Iesu
yn ei garu, yn canlyn, (yr hwn hefyd a bwysasai ar ei
ddwyfron ef ar swpper, ac a ddywedasai, Pwy, Arglwydd,
21 yw yr hwn a'th fradycha di?) Pan welodd Petr hwn, efe
a ddywedodd wrth yr Iesu, Arglwydd, ond beth *a wna*
22 hwn? Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os mynnaf iddo aros

---

**ADN. 19. Trwy ba fath angeu y gogoneddai efe Dduw.** Pan ysgrifenai Ioan yr oedd marwolaeth Petr wedi cymeryd lle er's blynyddau. Hoff gan Ioan yw cyfeirio at yr Iesu yn gogoneddu Duw trwy ei ddyoddefiadau, a chyda hyny sôn am awr ei angeu fel awr ei Ogoneddiad. Yn y fan hon dengys fod yr un peth yn wir i raddau am ddilynwyr ffyddlawn yr Iesu (cyd. vii. 29, xii. 33). **Canlyn fi.** Dyma ganlyniad y croesholi. Cymeradwyir Petr yn gyhoeddus fel un oedd i'w ddilyn Ef, ac fel un i arwain eraill. Y mae'r geiriau i'w deall, yn gyntaf oll, yn llythyrenol: cerddodd yr Iesu ychydig ymaith gan beri i Petr ei ganlyn. Ond yn ol ystyr arferol y geiriau yn y Test. Newydd yr ydym i'w deall hefyd yn ffigyrol (gwel i. 43, Matt. viii. 22, ix. 9, xix. 21, Luc v. 11, xiv. 26). Erbyn ystyried yr oedd ystyron newydd i'r gair "canlyn fi" pan yn cael ei lefaru gan yr Iesu yn awr, ar ol ei adgyfodiad, rhagor oedd iddo pan y llefarai ef cyn ei farwolaeth; ond a oedd Petr yn gallu myned i mewn ar y pryd i lawn ystyr y gair?

Y DYSGYBL ANWYL A CHAMGYMERIAD YN EI GYLCH. ADN. 20—23.

**ADN. 20.** Gwel ar xiii. 23

**ADN. 21.** Darllena yr adnod hon yn y Cyf. Diw. fel hyn—"**Petr gan hyny, wrth ei weled ef a ddywedodd wrth yr Iesu, A pha beth a wna y dyn hwn,**" neu fel ar ymyl y ddalen "A'r dyn hwn pa beth?" Camgymeriad ydyw meddwl fod Ioan wrth ddilyn yr Iesu a Phetr heb gael ei wahodd yn euog o ymyriad anmhriodol; a chamgymeriad hefyd ydyw meddwl mai eiddigedd neu genfigen at Ioan a barodd i Petr ofyn y cwestiwn. Yr ydym yn hytrach i ganfod yn y ddau ddysgybl ddau gyfaill hollol ffyddlon i'w gilydd. Yr oedd gweled Petr yn myned gyda'r Iesu yn ddigon o reswm gan Ioan dros iddo yntau fyned, ac yr oedd yr olwg ar Ioan yn dilyn yn peri i Petr yn naturiol, ar ol clywed beth oedd yn ei aros ef ei hun, awyddu am wybod beth oedd yn aros ei gyfaill.

**ADN. 22.** Y mae'r cerydd sydd yn yr atebiad hwn o eiddo'r Iesu yn dangos anghymeradwyaeth o ymholiad cywrain y dysgybl. Rhoddir ar ddeall iddo fod ganddo ef ei hun ei ymddiriedaeth, beth bynag oedd i ddyfod o'i gyfaill. **Os mynaf.** Ceir yr un gair gan yr Iesu yn xvii. 24, Matt. viii. 3, xxiii. 37, xxvi. 39. **Aros hyd oni ddelwyf.** Y mae "aros" yn gyfieithiad o air hynod gyffredin gan Ioan. Gall yr "aros" y sonir am dano yn y fan hon feddu amryw ystyron megys (1) aros hyd nes y delai yr Iesu yn ninystr Jerusalem; ac fe ddarfu i Ioan oroesi y dyfodiad mawr hwnw. (2) Aros hyd yr hyn ag yr arfera y Test. Newydd ei alw

hyd oni ddelwyf, beth *yw hynny* i ti? canlyn di fyfi. Am 23
hynny yr aeth y gair yma allan ym mhlith y brodyr, na
fyddai y disgybl hwnnw farw: ac ni ddywedasai yr Iesu
wrtho na fyddai efe farw; ond, Os mynnaf iddo aros hyd
oni ddelwyf, beth *yw hynny* i ti? Hwn yw y disgybl sydd 24
yn tystiolaethu am y pethau hyn, ac a ysgrifenodd y pethau
hyn; ac ni a wyddom fod ei dystiolaeth ef yn wir. Ac y 25

---

yn "ddyfodiad" o eiddo'r Iesu ar ol ei esgyniad, sef "yr ail-ddyfodiad" (*parousia*), cyd. 1 Ioan ii. 28. (3) Aros hyd nes y delai yr Iesu yn y drefn arferol i'w gymeryd ymaith trwy farwolaeth naturiol; ac yn hyn bu Ioan yn eithriad i'r dysgyblion eraill. Y mae darlleniad mwy llythyrenol o'r frawddeg, sef "aros tra yr ydwyf yn dod"—yn symud y pwyslais oddiar y "dyfodiad," ac yn ei ddodi ar yr "aros" am dano. Er nad yw yr Iesu mewn un wedd yn ateb cwestiwn Petr trwy ddyweyd beth a wnaethai Ioan a beth a ddigwyddai iddo, y mae mewn ystyr hefyd yn ei ateb, oblegid dyna a fu i Ioan ei wneyd—*aros* yn un o "golofnau" yr Eglwys hyd nes y darfu iddo yn mhell oroesi pob un o'r cwmni, a bod yr olaf o honynt i adael y byd.

**ADN. 23. Am hyny.** Y maent yn tynu cam-gasgliad oddiwrth eiriau yr Iesu. Tybiasant hwy, o bosibl, y byddai Ioan fyw hyd yr "ail-ddyfodiad," ac y byddai yn un o'r rhai a symudid y pryd hyny heb brofi marwolaeth (1 Cor. xv. 51, 52). Cywira Ioan hwy, yn hyn, trwy yn gyntaf nodi yr hyn na ddywedasai yr Iesu, ac yn ail nodi yn fanwl yr hyn a ddywedodd. Yr oedd Ioan ei hun wedi sylwi ar yr "os" yn ngeiriau yr Iesu, a gwyddai nad oedd ganddo le i ddisgwyl cael diangc rhag angeu. Pe buasai yr Efengyl hon wedi ei hysgrifenu gan rywun heblaw Ioan, ac ar ryw adeg ar ol y ganrif gyntaf, buasid yn disgwyl cael yma grybwylliad am farwolaeth Ioan fel moddion i gywiro y camargraph. **Yn mhlith y brodyr.** Ceir y gair "brodyr" yn yr un ystyr ag yma yn gyffredin iawn yn Llyfr yr Actau, (ix. 30, xi. 1, 29, xv. 1, 3, 22, 23). Ceir y gair weithiau, er nad yn hollol olygu yr un peth, yn yr Efengylau (Matt. xxiii. 8, Luc xxii. 32, Ioan xx. 17).

NODIADAU TERFYNOL. ADN. 24, 25.

**ADN. 24.** Amlwg yw nas gellir seilio dim o barth i awduriaeth yr Efengyl ar y ddwy adnod yma, y rhai ydynt, heb amheuaeth, yn ychwanegiad neu ychwanegiadau at yr Efengyl. Y cwestiwn yn nglyn â hwy yw pwy a'i hychwanegodd—pa un ai Ioan ei hun ynte rhywun arall? Cawn fod beirniaid yn mawr amrywio yn eu cylch, rhai yn ystyried mai Ioan a ychwanegodd y ddwy, eraill mai efe a ychwanegodd y 24ain, ac eraill mai efe a ychwanegodd y 25ain. Pwy bynag a'u hychwanegodd nid ychwanegiad diweddar ydoedd; oblegid ceir adn. 24 yn mhob un o'r llawysgrifau henaf, ac adn. 25 yn mhob un oddigerth yr un Sinaitaidd. Y mae r ffaith yma yn nghyda chynwys yr adnodau yn ei wneyd yn hynod debygol iddynt gael eu hychwanegu at yr Efengyl, nid yn unig yn amser Ioan, ond gyda'i wybodaeth a'i gymeradwyaeth ef. Byddai yn eithaf naturiol i un ddyweyd mai Ioan a ysgrifenodd y 24ain,

mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth yr Iesu, y rhai ped ysgrifenid hwy bob yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynhwysai y byd y llyfrau a ysgrifenid. Amen.

---

ac mai efe ei hun yw yr *hwn* "sydd yn tystiolaethu," yr *un* "a ysgrifenodd, a'r "*ni* a wyddom." Yr oedd yn parhau i dystiolaethu wedi iddo orphen ysgrifenu yr Efengyl hyd at yr adnod hon, a thystiolaethodd hyd ddiwedd ei oes. Byddai hefyd yn eithaf cyson â gwyleidddra arferol Ioan iddo ddywedyd "ni a wyddom" (xix. 34, 1 Ioan i. 1). Ond fel y sylwyd ni byddai i'r un iot gael ei thynu oddiwrth werth yr Efengyl pe byddai i rhywun ddangos mai nid Ioan ydoedd awdwr yr adnod hon; ac y mae amryw esbonwyr, Westcott a Reynolds yn eu mysg, o'r farn mai ychwanegiad o eiddo rhyw gyfeillion i Ioan yn Eglwys Ephesus ydyw, y rhai a sicrhant mai y dysgybl anwyl, ag oedd yn parhau yn eu mysg hwy ac "yn tystiolaethu," oedd yr un a "ysgrifenodd" yr Efengyl o'r dechreu hyd at yr adnod hon.

**ADN. 25.** Darlleniad y Cyf. Diw. o'r adnod olaf yma ydyw—"**Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth yr Iesu, y rhai pèd ysgrifenwyd hwy bob un, yr wyf yn tybied na chynwysai hyd yn nod y byd ei hun y llyfrau a ysgrifenid.**" Nis gellir llai na chysylltu y terfyniad hwn gyda'r terfyniad o eiddo Ioan yn xx. 30, 31. Ond gan nad pwy a ychwanegodd yr adnod olaf hon, pa un ai Ioan ei hun, ynte rhywun arall, yr hwn a gafodd y fraint o wrando Ioan yn traethu llawer o bethau, y rhai nad ydynt wedi eu hysgrifenu yn yr Efengyl hon, ceir, erbyn hyn, fod geiriau yr adnod wedi eu llawn wirio; oblegid nis gall "y byd" ddim derbyn a defnyddio yn briodol y llyfrau ag y gellid eu hysgrifenu am Grist a Christionogaeth, gan mor aml a chynwysfawr ydynt. Y mae mwy o lyfrau ar y testyn hwn nag ar unrhyw destyn arall, a mwy o alw am danynt nag am ddim llyfrau eraill. Gwelodd rhywun yn briodol i roddi "Amen" o dan y fath Efengyl ardderchog, a chyda'n holl galon dywedwn ninau yr un peth—Amen.

---

## PRIF DDIGWYDDIADAU Y PASG DIWEDDAF, A'U HAMSERIAD.

| | | |
|---|---|---|
| Nisan 14eg. | Nos Iau ar ol | 6—Y Swper yn yr Oruwchystafell. |
| | ,, ,, tua | 11—Myned i'r Ardd, ac yna ing yr Ardd. |
| | Bore Gwener tua | 1—Dal yr Iesu. |
| | ,, ,, ,, | 2—Yr Iesu o flaen Annas. |
| | ,, ,, ,, | 2.30—Yr Iesu o flaen Caiaphas a rhai o'r Sanhedrin. |
| | ,, ,, ,, | 5—Y Sanhedrin yn ymgynghori. |
| | Bore Gwener o 6 hyd yn agos i | 12—Yr Iesu o flaen Pilat a Herod. |
| | Prydnawn Gwener tua | 12—Y Croeshoeliad. |
| | ,, ,, ,, | 3—Y Diwedd. |
| | ,, ,, ,, | 5—Y Claddedigaeth. |

| | | | |
|---|---|---|---|
| Nisan 15fed. | Nos Wener ar ol | 6 | —Swper y Pasg Iuddewig. |
| | Nos Wener a Dydd Sadwrn | | —Y Sabbath mawr Iuddewig. |
| Nisan 16eg. | Nos Sadwrn ar ol | 6 | —Y gwragedd yn prynu peraroglau. |
| | Bore Sul o | 4 i 5 | —Yr Adgfodiad. |
| | Bore Sul tua | 5 | —Y gwragedd yn myned at y bedd. |
| | ,, ,, | 6 | —Petr ac Ioan yn myned at y bedd. |
| | ,, ,, | 7 | —Yr Iesu yn ymddangos i'r gwragedd. |
| | Prydnawn Sul | | —Yr Iesu yn ymddangos i'r ddau ar y ffordd i Emmaus ac i Petr. |
| Nisan 17fed. | Nos Sul tua | 8 | —Yr Iesu yn ymddangos i'r dysgyblion ac eraill yn nghyd. |
| Nisan 24ain. | Dydd Sul | | —Yr Iesu yn ymddangos eilwaith iddynt. |

---

CONWY:

ARGRAPHWYD GAN R. E. JONES A'I FRODYR.

